# "YR ARWEINYDD;"

SEF

## CYLCHGRAWN CREFYDDOL A MOESOL:

YN CYNNWYS

MATERION A HANESION BUDDIOL A DYDDOROL,

YN NGHYDA

DARNAU BYRION O FARDDONIAETH.

**Dan olygiad y Parch. THOS. T. EVANS, Floyd.**
**Golygydd y Barddoniaeth, EOS GLAN TWRCH.**

"Y NEB A RODIO YN UNIAWN A RODIA YN DDIOGEL."—*Solomon.*

**CYFROL I.**

ROME, N. Y.
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN R. R. MEREDITH.
1858.

# MYNEGAI.

BARDDONIAETH.

# YR ARWEINYDD.

## YR ARWEINYDD.

"O'R holl blant a fagodd" y genedl Gymreig ar faes llenyddiaeth yn America, "nid oedd iddi ARWEINYDD." Ganwyd iddi y "Cyfaill" oddeutu ugain mlynedd yn ol; ac arddangosai arwyddion iachusrwydd, cryfder, a chwimythder, tra y bu ei dad yn gwir ofalu drosto. Eithr tua dwy flynedd yn ol arweiniwyd ei riant i diriogaeth lled bellenig oddiwrtho, ac yn ei absenoldeb dechreuodd cnawd y bachgen gurio, fel y tybid fod y darfodedigaeth wedi ymaflyd yn ei gyfansoddiad. Yr ydym yn credu, pa fodd bynag, os goroesa y drydedd-flwydd-ar-hugain—y cyfnod mwyaf peryglus cysylltiol â'r afiechyd hwnw—y bydd fyw yn hir, er dyddanwch i'w fam.

*Daeth* y "Cenhadwr" i fodolaeth oddeutu deunaw mlynedd yn ol; ac o dan arolygiaeth a gofal uniongyrchol ei dad, mae yn ymddangos yn blentyn hardd, prydferth a grymus.

Adlewyrchodd y "Seren Orllewinol" ar wynebpryd y genedl tua phedair blynedd ar ddeg yn ol. Gellir ystyried hon, yn ol Ffugchwedlaeth yr hen *Pheniciaid* a'r *Groegiaid*, yn ferch i Aquarius. Mewn ystyr gyfrinol merch y genedl Gymreig yn y Taleithau Unedig yw; ac er ei bod fel y seren a *arweiniodd* y doethion o'r dwyrain, at y "Bachgen a aned i ni," eto nid adwaenid hi wrth yr enw Arweinydd.

Yn y flwyddyn 1855, ganwyd gefeilliaid i'r genedl, a galwyd hwy y "Drych a'r Gwyliedydd." Haerid yn ddiweddar fod brychau duon ar wyneb y "Drych," a bod y "Gwyliedydd" yn hepian dan ddylanwad cwsg-gyffyr Amheuaeth o Ragluniaeth neillduol. Eithr credym fod mwy o genfigen na

gwirionedd yn yr haeriadau. Da genym weled y naill yn ymloywi, a'r llall yn cyffroi, fel y mae y meddygon yn dechreu cyhoeddi eu hiachusrwydd.

O fewn y tair blynedd diweddaf gwnaeth y "Cymro Americaidd" ei ymddangosiad yn maethdy y genedl; a phan ddechreuodd y mab hwn barablu, dangosodd, fel y cyffredin o blant y Cymry yn y wlad hon, ei fod yn hyddysg yn y ddwy iaith, Cymraeg a Saesonaeg. Ofnem unwaith mai bachgen cecrus ydoedd; ond arddengys yn ddiweddar dymher heddychol, er ei fod yn dra phenderfynol am ei ffordd a'i amcan.

Tua deng mis yn ol, ymddangosodd brawd i'r "Traethodydd" Prydeinig ar liniau y genedl. Derbyniodd yn y cyfamser fagwraeth rhagorach na'r un o'r plant eraill, a gobeithiwn y parha ei fam i'w gynnysgaethu a chyflawnder o laeth; canys y mae ei gryfder yn galw am hyny. Y mae hwn yn fachgen graenus, caled ei gnawd, a hardd iawn ei wisg. Canmola ei wedd fedrusrwydd a "gwir ofal calon" ei *nurse*. Edrych yn well o lawer na'i frawd yn Nghymru.

Ond "o'r holl blant a fagodd" y genedl, "nid oedd iddi Arweinydd," hyd y 10fed o Ionawr, 1858, pryd yr esgorodd ar yr wythfed plentyn hwn: a diau na ddaeth hwn i fodolaeth heb ddarpariaeth briodol gan Ragluniaeth Ddwyfol gogyfer a'i barhad. Cynnydda y plentyn hwn "mewn nerth a doethineb—a ffafr gyda Duw a dynion," ond iddo gael magwraeth ddigonol gan ei fam. Ei swyddogaeth fydd arwain y genedl, yn enwedig y dosbarth ieuangc o honi, o diriogaeth halogedig a dinystriol pechod, i faesydd prydferth a maethlon rhinwedd—o "synagog Satan," "i gysegr Duw"—o ardd Eden, lle y collasom ein hetifeddiaeth, i ardd Gethsemane, lle y pwrcaswyd hi yn ol—o ddinas dystryw, i Soar, lle y cyfyd Haul Cyfiawnder arnom, "a meddygiaeth yn ei esgyll"—o'r ffordd lydan sydd yn arwain i drueni tragywyddol, i'r ffordd gul sydd yn dybenu mewn gogoniant tragywyddol.

Mae yn ofynol mewn Arweinydd ei fod yn wybodus—yn wyliadwrus—yn ddoeth—yn galonog, a ffyddlon. Hyderwn y bydd i'r "Arweinydd" arddangos yr holl gymhwysderau hyn, fel y byddo mewn gwirionedd yn "Dywysydd ieuengctyd" y genedl Gymreig yn Myd y Gorllewin.

---

## NODIADAU DETHOLEDIG.

### YR YSGRYTHYRAU.

Y MAE duwinyddiaeth natur yn taflu goleuni grymus ar y bod o Dduw; ac hyd yn nod oddiwrth ei harddangosiad digynnorthwy hi, gallwn gyrhaedd cryn radd o debygolrwydd am ei briodoliaethau moesol a naturiol ef. Ond pan y mae yn anturio ar y testyn rhwng Duw a dyn, y mae yn ei gael yn annichonadwy. Dyma lle y mae prif analluogrwydd natur yn gorwedd. Fe'i dyrysir yn ei holl ymdrechion i egluro holl cyflwr a golygiadau dyn, wrth edrych arno yn y berthynas o ddeiliad troseddedig a phenadur digiedig. Mewn gair, ei phrif dywyllwch, a'r hwn y mae yn hollol analluog i'w wasgaru, yw hwnw ag sydd yn gorphwys ar obeithion a thynghedfen ein rhywogaeth. Y mae ynddi ddigon o amlygrwydd i ddeffro ofnau euogrwydd, ond nid digon drachefn i'w tawelu hwynt. Y mae yn bwrw allan, ac yn hyglyw fwrw allan, swn dychryn; ond yn ofer yr ymwrandawn am un gair dilys o gysur oddiwrth un o'i horaclau. Y mae yn alluog i ganfod y perygl, ond nid y waredigaeth. Gall gynhyrfu daroganau yr ysbryd dynol, ond nis gall eu darostwng hwynt—gan wybod digon i gyffroi y dyryswch, ond nid digon i'w dawelu ef. Gall nodi yr anhawsder, ond nis gall ei egluro ef—gan feddu cymaint o wybodaeth ag i fynegu y dwfn-destyn, ond nid cymaint ag a allai arwain i amlygiad o hono. Rhaid fod mesur o oleuni, nyni a addefwn; eithr, fel llewyrch ofnadwy

mynydd tanllyd, nid yw yn oleuni ag sydd yn arwain, ond yn dyrysu ac yn dychrynu. Y mae yn cynhyrfu y gofyniad, ond nis gall ffurfio na rhoddi yr atebiad. Gall duwinyddiaeth naturiol weled cymaint ag a dŷn allan yr ymholiad pryderus, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig?" Y mae yr atebiad i hyn yn dyfod o uwch duwinyddiaeth.—*Dr. Chalmers.*

Y MAE dwyfol ddadguddiad nid yn unig yn debygol ac yn ddymunol, ond hefyd yn anhebgorol angenrheidiol. Mewn gwirionedd, heb y fath ddadguddiad y mae hanesiaeth yr oesoedd a aethant heibio wedi dangos nas gall rheswm dynol yn unig gyrhaedd at unrhyw wybodaeth sicr am Dduw na'i ewyllys, am ddedwyddwch, nac am gyflwr i ddyfod. Edrychwch ar y cenedloedd henafol mwyaf harddfoesawg, a chwi a'u cewch hwynt wedi ymsuddo yn y tywyllwch a'r barbariaeth mwyaf ar y pynciau hyn. Er fod gweithredoedd natur yn rhoddi prawf digonol o'r Duwdod, eto gwnaeth y byd can lleied defnydd o'u rheswm fel nas gwelsant Dduw, lle yr oedd efe hyd yn nod trwy argraffiadau o hono ei hun yn hawdd ei ganfod. Y mae anwybodaeth a choelgrefydd wedi ymdaenu dros y byd. Yr oedd yr henafiaid yn deall fod rhanau anian yn cael eu bywiocau gan egwyddorion gwahanredol, ac wrth eu haddoli hwynt yn colli golwg ar y Bod Goruchaf.—*Parch. T. Hartwell Horne.*

NID yw eich cyfundraethau o rinwedd ond dychymygion athroniaeth ddynol; a'r gallu a orchymyn ufudd-dod sydd wir ddynol; fel nad yw y rheol na'r gallu yn ddiamheuol: ac o ganlyniad y mae y naill yn rhy anmherffaith i'n haddysgu yn llawn, a'r llall yn rhy wan i'n llywodraethu yn effeithiol. Ond y mae y ddau beth hyn wedi eu darparu yn helaeth trwy ddadguddiad oddiwrth Dduw. Yn mha le y mae yr athronydd yr hwn a all arddangos y gwir ddaioni mor eglur, fel ag i osod y dybiaeth tu hwnt i ddadl? A pha

allu dynol a ddichon gyrhaedd y gydwybod, a dwyn y dybiaeth i lawr i ymarferiad? Y mae dynol ddoethineb mor agored i gyfeiliornad, ag ydyw gallu dynol i ddirmyg.—*Tertullian.*

Os gellir profi fod prophwydoliaethau yr Ysgrythyrau yn gywir—os ydynt o'r fath natur na allai un rhagwelediad o eiddo dyn eu darogan—os cafodd y dygwyddiadau a ragddywedir ynddynt hwy eu desgrifio gannoedd o flynyddau cyn i'r dygwyddiadau hyny ddyfod yn rhanau o hanesiaeth dyn—ac os yw yr hanesiaeth ei hun yn cyfateb i'r rhagddywediad; yna y mae y dystiolaeth ag y mae y prophwydoliaethau yn ei chyfranu, yn arwydd ac yn rhyfeddod i bob oes. Nis gall tystiolaeth eglurach na sicrwydd mwy o'r gwirionedd gael eu rhoddi; ac os na fydd i ddynion wrandaw ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw.—*Parch. A. Keith.*

---

## DIOLCHGARWCH.

Y MAE y Gorphenol wedi myned ymaith am byth—y Presenol yn diangc yn gyflym o'n gafael—Y Dyfodol yn prysuro yn ddïoedi yn mlaen. A oes rhwymyn o undeb rhyngddynt oll? A oes rhyw gadwen auraidd yn cyssylltu yn nghyd bethau mor annhebyg i'w gilydd?

Pan yr ydym yn adgofio yr hyn a fu, yn meddwl am yr hyn sydd, yn ymdrechu i sylweddoli yr hyn a fydd, a oes rhyw ymarferiad cristionogol yn taflu ei belydrau dysglaer ar y cwbl? Oes, a hyny yw DIOLCHGARWCH.

A ydym i ddiolch i Dduw am y gorphenol? A ydym i anghofio ei ofidiau, ei dreialon, a'i bechodau? Nac ydym: eto yr ydym yn eich cymhell i ddiolch i Dduw. Diolchwch ei fod wedi madden eich pechodau—ei fod wedi esmwythau eich gofidiau—a'i fod wedi eich cynnal o dan eich treialon;

a chan edrych o'r tu hwnt i chwi eich hunain, meddyliwch am yr hyn a wnaeth i'w eglwys a'i bobl.

A ydym i ddiolch i Dduw am y presenol? Onid ydym yn deimladwy o'n mawr annheilyngdod, ein mawr wendid, ein mawr anghrediniaeth, ein mawr anhawsderau? Wel, gobeithiwn eich bod: ond diolchwch i Dduw am eich cyfleusderau. Diolchwch ei fod mor rasol a goddef i chwi lafurio drosto ef; a gweddiwch am brofi ei wasanaeth ef yn hyfrydwch.

A ydym i ddiolch i Dduw am y dyfodol? Onid yw y dyfodol yn mhell, yn dywyll, yn ansicr? Na, nid yw felly yn *hollawl.* Nid yw yn *mhell*; canys bydd y fory yn rhan o hono, a chwi a wyddoch pa waith a ddwg y fory gydag ef, oddyeithr i chwi gael eich trosglwyddo i dragywyddoldeb. Nid yw yn hollol *dywyll*, ond i'r rhai sydd a'u llygaid wedi ymsefydlu ar bethau daearol, neu eu llenwi gyda dagrau anghrediniaeth. Nid yw yn *ansicr* ar bob cyfrif; canys y mae addewidion Duw yn Nghrist yn Ië ac yn Amen; "a Duw yr heddwch a sych ymaith bob deigr oddiwrth eich llygaid."

Edrychwn yn *ol* ynte! Edrychwn oddiamgylch! Edrychwn yn mlaen! yn nerth y goleuni sydd yn adlewyrchu o'r ddinas Nefol, ac yn y cwbl diolchwn i Dduw; a thra yn diolch iddo cymerwn cysur, neu fel y dywedodd un o athrawon yr Ysgol Sabbothol pan yn trengu:—

"Glynwch wrth Grist, ac ewch yn mlaen a'r gwaith."

*New York.* W. R.

---

## DIRWEST.

Y MAE llawer wedi ei ddywedyd o bryd i bryd ar yr achos Dirwestol, fel y mae yn anhawdd cael dim newydd i'w ddywedyd; ond y mae egwyddorion y Gymdeithas hon hyd yn bresennol heb eu deall, eu credu na'u derbyn gan laweroedd.

Bwriadwyf alw eich sylw y tro hwn ar Ddirwest yn yr egwyddor, gan ddysgwyl adeg i sylwi yn mhellach ar yr achos daionus hwn mewn amser dyfodol.

DIRWEST YN YR EGWYDDOR.

1. *Y mae yn rhesymol.*

Egwyddor Dirwest ydyw, "Daioni mwyaf y nifer luosocaf" (*the greatest happiness of the greatest number*), h. y., gwneyd mwy o ddaioni yn mhob ystyr, ac i fwy o nifer, nac a wna o niweid. Ni bu diwygiad mawr erioed na wnai niweid i rywun. Byddai iechyd gwlad yn niweid i feddygon. Byddai gonestrwydd gwlad yn niweid i warchawdlu lladron; a byddai sobrwydd gwlad yn niweid i amgylchiadau a bywioliaeth masnachwyr mewn diodydd meddwol. Ond derbynia nifer fwy ddaioni nag a dderbynia niweid pe sobrid y wlad.

Y mae hyn yn egwyddor deg a rhesymol. Yr egwyddor wrthgyferbyniol iddi yw hunanolrwydd. Iaith hunanolrwydd ydyw, Gwnaed pawb a allo i gael cyfoeth trwy dlodi eraill—cysur yn adfyd eraill—llawenydd yn wylo eraill—a bywioliaeth fras ar draul colledigaeth eneidiau eraill. Pa waeth i mi pwy fyddo yn feddw, os byddaf fi yn sobr—pwy fyddo yn glaf, os byddaf fi yn iach—tŷ pwy fyddo ar dân, os bydd fy nhŷ i heb ei losgi—na phwy a aiff i uffern, ond i mi gael myned i'r nefoedd. Ond y mae Dirwest yn dysgu dyn i olygu, nid ei lesad ei hunan yn unig, ond llesad llaweroedd—nid gofalu am dano ei hun yn unig, ond am ei frawd hefyd—ac nid cael gwaredigaeth rhag marwolaeth ei hun, ond ymdrechu gwaredu hefyd y rhai a lusgir i angeu, &c. Onid ydyw hyn yn ddynol a rhesymol?

2. *Y mae yn Ysgrythyrol.*

Y mae yn hawdd profi fod egwyddorion Dirwest neu lwyrymattaliaeth, yn Ysgrythyrol.

Y mae eisiau arafwch a phwyll wrth sengyd ar y tir cysegredig hwn. Yr adnod a ddefnyddiaf sydd yn 1 Cor. x. 23: "*Pob peth sydd gyfreithlon i mi; eithr nid yw pob peth*

*yn llesau"* (*but all things are not expedient*), h. y., nid ydyw pob peth sydd yn gyfreithlon yn *weddus*, yn *briodol*, nac yn *llesol*, ar bob amgylchiad.

Dylem ymofyn beth sydd yn llesau (*expedient*) yn llawn mor fanwl a gofyn pa beth sydd *gyfreithlon;* oblegid nid pob peth sydd gyfreithlon sydd yn llesau. Mewn trefn i egluro y mater pwysig hwn, y mae yn angenrheidiol sylwi—

*Y mae llawer o bethau yn gyfreithlon o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd oeddent yn anghyfreithlon o dan yr oruchwyliaeth Iuddewig.* "Pob peth sydd gyfreithlon i mi." Ni allesid dywedyd hyn dan yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd rheolau bywyd cyffredin yn fanylach, megys pa bethau i'w bwyta, a pha bethau i'w gwisgo. Yr oedd gosodiadau addoliad yn wahanol: y fath fanyldra oedd gydag oen y pasc, yr aberthau, &c.; ond nid oes dim felly o dan yr oruchwyliaeth hon. Dywedodd Crist (Ioan x. 9), "*Myfi yw y drws; os a neb i mewn trwof fi, efe a fydd cadwedig; ac efe a â i mewn ac allan, ac a gaiff borfa.*" Ac yr oedd pethau yn cael eu gorchymyn y pryd hwnw sydd yn hollol waharddedig yn awr, megys bwrw ymaith wragedd anghrediniol a'u plant. Neh. ix. Byddai hyn yn bechod yn bresennol. "Canys beth a wyddost ti wr, a gedwi di dy wraig?"

*Y mae llawer o bethau i'w gochelyd o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, ar dir llesoldeb* (*expediency*) *ag y gellir dadleu drostynt ar dir cyfreithlondeb.* "*Eithr nid yw pob peth yn llesau.*"

Yr oedd Paul yn ymwrthod â llawer o bethau ar y tir hwn, ag y gallasai ddadleu drostynt ar dir cyfreithlondeb, megys, Bwyta y pethau a aberthwyd i eilunod—cymeryd gydag ef wraig a fyddai yn chwaer—a chael ei gynnal hefyd gan yr eglwysi. Ond yr oedd amgylchiadau y pryd hwnw yn galw arno ymwrthod â hwynt. "Eithr nid yw pob peth yn llesau."

Ar yr egwyddor hon y mae tri o bethau y dylai Cristion-

ogion ymgadw rhagddynt, ag y gellid dadleu dros eu cyfreithlondeb, sef—

1. *Pob peth sydd yn debyg i bechod.* Eithr "ymgedwch oddiwrth bob rhith drygioni."

Gallai dyn ddadleu dros ei ymddygiad a dywedyd, profwch chwi fod y peth yn ddrygioni, a mi a'i gochelaf ef, &c. Nid oes angen. Y mae rhith drygioni yn waharddedig.

2. *Pob peth a gyfrifir gan eraill yn bechod.* "Os dywed neb wrthyt, peth wedi ei aberthu i eilunod yw hwn, na fwyta ef," &c.

Gellid dadleu hyn hefyd, Nid ydwyf fi yn ei weled yn bechod—gwn nad ydyw yn bechod. Pa help sydd genyf fi fod eraill yn ei gyfrif yn bechod? &c. Ond, "A ddyfethir y brawd gwan?" &c. Dylid ymwrthod â'r hyn a gyfrifir yn bechod, os na bydd yn bechod i ymwrthod ag ef.

3. *Yr hyn a ddefnyddir yn gefnogaeth i bechod.* "Os gwel neb dydi yn eistedd yn nheml yr eilunod," &c.

Gellir dadleu dros hyn hefyd ar dir cyfreithlondeb; ond nid ydyw yn *expedient*, &c. Ni fyddai yn bechod i ddyn gario côt fawr ar ei fraich ar y dydd Sabboth; ond pechai, pe y gwna'i efe hi yn fwndel mewn cynfas, ar ei gefn, am y byddai felly yn cefnogi pechod, &c.

*Yn awr*, onid ydyw yr egwyddor Ddirwestol yn amlwg yn wyneb y sylwadau hyn? Yr ydym yn llwyrymwrthod â diodydd meddwol, (fel diod gyffredin) nid am y gallem wneyd hebddynt, gallem wneuthur heb lawer o bethau eraill, &c.—Nid oblegid eu drudaniaeth, yr ydym yn ymarfer â llawer o bethau drud a chostus—ac nid am eu bod yn bethau anghyfreithlon ynddynt eu hunain. Y camarferiad a'r gormodedd o honynt a waherddir yn y Llyfr. "Ac na feddwer chwi gan win." Pe buasai deddf Duw yn eu gwahardd, nis gallasent fod yn gyfreithlon i neb, un amser, ar un amgylchiad nac am byth. Ond yr ydym yn eu gwrthod am fod eu harfer yn debyg i bechod—yn cael ei gyfrif yn bech-

od gan eraill—ac hefyd, yn cael ei ddefnyddio yn gefnogaeth i bechod.

Neu mewn geiriau eraill, yr ydym yn ymwrthod â hwynt, ac yn cymhell eraill i wneuthur hyny—

1. *Am fod eu harfer yn cynnyrchu meddwdod.* Pa faint bynag o feddwdod sydd yn y byd, yr yfed sydd yn ei gynnyrchu; oblegid yfed, y mae y meddwyn yn gofidio. Nid oes modd meddwi heb yfed y peth sydd yn meddwi. Y mae y pechod o feddwdod yn wahanol i bob pechod arall. Y mae cybydd-dod—balchder—godineb, a mwrdrad, yn y galon, ond nid yw meddwdod felly. Llwyrymwrthodiad a lwyr feddyginiaetha feddwdod. Nid all neb feddwi yn ei galon heb yfed; ond y mae meddwdod yn sicr o gynnyrchu yn y galon ddrygau lawer.

2. *Am fod eu hyfed yn cefnogi meddwdod.* Y mae pob yfwr yn rhoi ei wyneb i'r arferiad. Peidio a rhoddi esiampl i fyned i mewn at y ddiod a arbeda y drafferth am esiampl i fyned allan.

3. *Am fod yr arferiad yn peryglu yr yfwr ei hun.* Y mae tuedd ddeniadol ynddynt. "Ymgedwch oddiwrth chwantau cnawdol," &c. Bu y meddwyn unwaith yn sobr—yn gymedrol; ond yn raddol llithiwyd ef i'r ffos. Gwatwarus yw gwin," &c. "Pwy bynag a siomir ynddi nid yw ddoeth."

*Utica.* DAVID PRICE.

---

## DIOGI YN BRIF DRUENI YR OES HON.

NID oes dim yn eglurach na bod dyn wedi ei ordeinio a'i gymhwyso i lafur a diwydrwydd; a phethau mawr a rhyfedd i gael eu gwneyd er gogoniant Duw a chysur dynion trwy lafur a diwydrwydd.

Tybiwyf nad oes un wlad dan haul yn arddangos mwy o

lafur ei phreswylwyr na Gogledd America yn yr hanner canrif a aeth heibio. Ond ofnwyf ein bod yn awr yn syrthio yn fyr o ateb i gymeriad ein tadau, a bod ein gwlad yn myned yn brif orsaf diogi o fewn y byd gwareiddiedig; canys o feithrinfan (*nursery*) diogi y ceir holl feddwon ein gwlad, a'r holl buteiniaid ac ysbeilwyr, trwy wahanol ddulliau a llwybrau, gan gynllwyn i dwyllo, ac ysbeilio yn mhob man ac yn mhob modd. Mae ein holl borthladdoedd a'n harfordiroedd, ein dinasoedd, ein safleoedd, ar hyd y cledrffyrdd, a'n cludai ar dir a dwfr, yn orlawn o'r creaduriaid peryglus hyn. Pwy ond y trueiniaid hyn sydd yn dwyn ein gwlad i gyflwr adfydus a dyrys, trwy iddynt gael gafael yn yr hyn a gynnilodd eu tadau trwy lafur a diwydrwydd; ac yn gwneyd addebau ar hyny dri chymaint ag ydynt o werth; a rhai gonest yn ymddiried iddynt (trwy fod y llywodraeth yn caniatau eu twyll), nes y mae haid o ddiogwyr lladradaidd yn gloddesta ddydd a nos ar lafur y werin sydd yn onest a diwyd: a bostiant yn fawreddog yn eu twyll a'u traha, eu *shawls* a'u sidanau; pryd y mae cannoedd o'r rhai a ysbeiliwyd ganddynt a'u byrddau a'u gwisgoedd yn llymion a theneuon.

Tybiwyf mai y prif achos o'r trueni hyn yw dwyn y plant i fyny heb roddi gwaith yn eu dwylaw yn ieuaingc. Ysgolion a gwaith sydd yn llesau: ysgolion heb waith sydd yn dyfetha. Dylai rhieni roddi eu plant at waith, hyd yn nod pe byddai heb ddwyn iddynt *cent* o elw mewn blwyddyn; a bod yn ofalus na wastraffant, pe na byddai y golled yn werth pin.

Un achos fod cymaint o'n ieuengctyd yn segura yw fod can lleied o law-weithfaoedd yn y wlad, am fod cymaint o anghydgordiad yn y pleidiau llywodraethol o barth toll ar nwyddau tramor. Anfonir ein harian i wledydd eraill i gadw eraill yn ddiwyd, iachus, gonest a chalonog; a'n plant ninau yn llwydaidd, berfain a digalon, yn llithro yn gannoedd i'r darfodedigaeth wrth eistedd yn eu plygion, a'u traed can

uched a'u penau, a sugno *cigars*, *candy*, &c., yn y gwestdai, y *stores* a'r *groceries*, fel pe byddai y nefoedd a'r ddaear dan rwymau i'w gwasanaethu heb na thal na diolch; ac efallai y bydd eu tadau a'u mamau (er yn nychlyd gorff a meddwl) yn llafurio yn galed; ac er hyny yn llithro yn ol yn herwydd eu gwastraff a'u diogi hwy, a hyny wedi ei ddwyn i'w rhan ar draul tynerwch anghymedrol a moethau gwenwynig; yr hyn sydd yn eu dwyn i dlodi anocheladwy, a drygau aneirif, yn nghydag angeu anamserol.

Gwelir yn amlwg fod y Cymry yn y perygl o lithro i'r pechod hwn fel eraill. A chan fod Gair Duw yn gwahardd ac yn condemnio diogi, fel pob pechod arall, carwn i'm cenedl droi at y dystiolaeth, i edrych beth a ddywed am y trueni hyn; ac er mwyn argymhell ieuengctyd yr Ysgol Sabbothol i chwilio yr Ysgrythyrau ar hyn, rhoddwn iddynt gynnygiad o holwyddoreg fechan ar y pwngc (os bydd yn dderbyniol ganddynt hwy a'u hathrawon), gan obeithio y bydd yn foddion prydlawn i ddwyn eu sylw at ein perygl cyn ein cwbl ddystrywio gan y pechod.

*Rome.* T. W.

Rhoddwn yr holwyddoreg yn ein rhifyn nesaf.

---

## ANERCHIAD DIAREBAWL I IEUENCTYD.

GWYLIWCH rhag cymeryd yn ysgafn y peth y mae Duw yn ei gymeryd yn bwysig.

Gwyliwch rhag gwneyd yn moreu eich oes y peth a fydd yn ofid i chwi ar hyd eich oes.

Cedwch ddiweirdeb fel eich bywyd, fel yn eich bywyd y caffoch lawenydd oddiwrth ddiweirdeb.

Cedwch y chwant hwnw mewn caethiwed, yr hwn ni fyn ymgadw o fewn terfynau cyfreithlondeb.

Na fydded i chwi weithredu yn anghyfreithlawn yr hyn mewn amser a ddaw yn gyfreithlawn.

Mae chwant anghyfreithlawn yn wŷn yn ei ymddangosiad, byr yn ei fwyniant, ac uffernol yn ei ddiweddiad.

Gochelwch gellwair â phechod, rhag i chwi wrth gellwair bechu.

Haws yw cadw chwant heb weithredu tra yn anwybodus o'r cyflawniad, nag ydyw wedi iddo ddyfod yn wybyddus o'r cyflawniad gael ei gadw rhag gweithredu.

Gochelwch wneyd peth mewn mynydyn, yr hyn y dymunech ei ddadwneyd yn mhen triugain mlynedd.

Ofnwch bechu yn wyneb goleuni, rhag wrth hyny i chwi bechu y goleuni ymaith.

Os myni gadw dy ddiweirdeb, cymdeithasa a'r rhai sydd yn ddiwair.

Colli diweirdeb yw colli perl yn ngwaelod mor.

Os cedwi ddiweirdeb heb ei lychwino, dy ddiweirdeb a'th geidw dithau heb ofidio.

Os bydd chwant yn dy ddallu, gweddia ar Dduw dy oleuo.

Os bydd chwant yn dy demtio i droseddu, cofia na wared mo honot rhag dy gosbi.

Pe buasai yn ddefod i wisgo galarwisgoedd ar ol diweirdeb, Och! gynnifer a welsid yn galaru!

Gwell yw marw rhwng y creigiau gyda diweirdeb, na marw ar wely plu hebddi.

Nid yw Duw yn cyfranu maddeuant pechod i neb i fyw mewn pechod.

Derbyn gras yn y byd hwn a'n gwna yn ddedwydd yn y byd a ddaw.

Cydnabod dyledswydd sydd dda, a chofio dyledswydd sydd well, ond gwneyd dyledswydd sydd oreu.

O ddynion! O blant! gofalwch am eich diweirdeb: er mwyn Duw, er mwyn Crist, er mwyn y Glan Ysbryd, er mwyn yr angelion, er mwyn eich hunain, er mwyn eich rhi-

eni, er mwyn y Beibl, er mwyn yr efengyl, er mwyn gogoniant Duw, er mwyn eich cysur a'ch hanrhydedd eich hunain a'ch gwlad: ïe, meddaf drachefn, cedwch eich diweirdeb; a a Duw a baro mai felly y byddo. Amen. J. J.

---

## CREFYDD RAD YN DDIWERTH.

CREFYDD nad yw yn *costio* dim, nid yw yn werth dim. Mae yn debyg i'r ffydd hono a ddesgrifir yn Iago ii. 17, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, *a hi* yn unig.

Dywedodd dyn unwaith wedi iddo gyfranu ychydig at ryw achos da, "Mi allaf roi hyn heb ei deimlo." "A fyddai ddim yn well i chwi, fy nghyfaill," ebe dyn arall wrtho, "fwyhau eich rhodd i'r fath raddau nes y teimloch hi?" Dylai dyn deimlo yr hyn y mae efe yn ei wneyd, a byddai hyny yn fwy tebyg o gael ei deimlo gan eraill; heb hyn ni wneir ond ychydig o ddaioni.

---

## GONESTRWYDD YN ARWAIN I DDERCHAFIAD.

Y MAE gonestrwydd yn gael ei ganmawl gan Dduw a dynion, ac fe ellir dywedyd am hwnw, efe a'th dwg di i anrhydedd os cofleidi di ef. Mi ddymunwn i fy nghyfeillion ieuainc gofleidio hwn; os ydych am fod yn gyfoethog yn y byd, dilynwch onestrwydd; ac os ydych am fod yn gymeradwy gan y byd, gwnewch onestrwydd; drwy hyny y deuwch i ffafr eich cyd-ddynion, oblegid y mae pawb yn ffieiddio yr anonest. Y mae genym hanes am lawer wedi cyrhaedd cyfoeth o dlodi dirfawr, drwy gerdded y llwybrau hyn; o'r amrywiol sydd i'w cael, mi gaf ddwyn yr hanes canlynol ger eich bron:—

"Flynyddau yn ol, daeth bachgen o'r enw William——, i fasnachdy mawr Mr. R.——, yn Nhref C——, i newid papyr

punt; yr oedd yn hwyr, cymerodd yr arian a chadwodd hwy yn ofalus; ac wedi myned adref, a'u cyfrifodd wrth oleu canwyll, i edrych a oeddent hwy yn gywir; ac er ei syndod cafodd gini yn eu plith hwynt yn lle swllt wedi ei roddi: rhedodd yn ol i'r masnachdy a'r arian yn ei law, a chan gyfarch y gwas, a'i rhoddodd iddo, a dywedodd, "Syr, nid oedd y newid yn ei le," atebodd y gwas yn fyrbwyll; "yr wyf yn siwr ei fod, tydi a gollaist ran o hono ar y ffordd." "Nage, (ebe William) pan aethum i'w gyfrif, gwelais—" "Na, (ebe y gwas) nis gwaeth beth a welaist ti, nid oes genym amser i wrandaw chwedlau." Clywodd meistr y masnachdy, a gofynodd i William a oedd ef wedi colli rhywbeth, "Nac wyf wedi colli dim, Syr, (ebe y bachgen) yr ydwyf yn dwyn y gini yn ol a roddwyd i mi mewn camgymeriad, os byddwch chwi cystal a'i derbyn, Syr, a rhoddi swllt i mi yn ei le." "Cewch (ebe y meistr) a diolch i chwi fy machgen am eich gonestrwydd, yr ydych yn ymddangos yn bur dlawd, a chan fod y gini wedi ei rhoddi i chwi mewn camgymeriad, a neb yn eich adwaen chwi, gallasech ei chadw heb i neb eich cael allan, yr oedd y demtasiwn yn gref—pa fodd y bu i chwi ei gwrthsefyll?" "Yr wyf wedi cael fy nysgu (ebe y bachgen) mai fy nyledswydd at fy nghymydog, ydyw gwneuthur iddo ef yr hyn a ddymunwn iddo ef wneuthur i minau; gwn pe buaswn i yn rhoddi ceiniog yn ormod y buaswn yn hoffi ei chael hi yn ol; felly mi a frysiais a'ch eiddo i chwi cyn i'r demtasiwn gael amser i effeithio arnaf." "Gwnaethoch yn gall, (ebe Mr. R.) a bydded i chwi gael gras i ddal ar yr un llwybr hyd eich angeu. Ond gan i chwi wneyd mor gyfiawn â mi, dywedwch pa beth feddyliech a ddylwn i wneyd a chwithau yn ol." "Nid wyf yn disgwyl dim genych, syr, ebe William, ond i feddwl mai bachgen gonest ydwyf fi." "Yr ydwyf yn meddwl hyny (ebe Mr. R.) a rhoddaf i chwi brawf o hyny. Y mae arnaf eisiau *prentis*, a chewch chwi lle yn rhad, yr wyf yn hoffi cywirdeb goruwch pob peth: felly ewch adref

at eich rhieni, ac os byddant hwy yn foddlawn, gellwch ddyfod ymo yn y boreu; ac felly y bu. Daeth y gwas yn gyfaill cymwynasgarwch iddo; yn ei oriau segur, dysgodd ef i ysgrifenu, a rhifo. Gwasnaethodd William ei feistr yn ffyddlawn am flynyddau yn ddiwyd a llwyddiannus: o'r diwedd dilynodd Mr. R. yn ei fasnachdy, a daeth yn un o'r gwyr mwyaf parchus a chefnog ei sefyllfa yn y dref. Yn yr adroddiad uchod ceir golwg hyfryd ar onestrwydd yn arwain yn mlaen i ddyrchafiad. Dywedyd yr wyf wrth ein darllenwyr ieuainc, Dos gwna dithau yr un modd.

## CYLCHGRYNEDD Y DDAEAR.

TRWY fod y ddaear yn gron fel pelen, ni ellir canfod gwrthddrychau agos ati, ond ychydig o bellder, hyd yn nod pe byddai yr arwyneb yn hollol lyfn, er y dichon ein llygaid ni ganfod pethau llawer pellach. Bernir nad ellir canfod gwrthrych modfedd o uchder, os bydd chwe' chant o latheni oddiwrthym; naw cant o latheni, dwy fodfedd; mil a phedwar cant o latheni, pum modfedd; un filldir, wyth modfedd; tair milldir, chwe' throedfedd; ac felly byddai dyn yn hollol anweledig mewn tair milldir o bellder oddiwrthym, ar arwyneb hollol lyfn. Wrth wastadhau arwynebedd, arferir yn gyffredin ganiatau y ddegfed ran o fodfedd am bob dau gant o latheni, neu wyth modfedd mewn milldir, at gylchgrynedd y ddaear.

## DYGWYDDIAD ANFYNYCH.

ANERCHWYD gweinidog dysgedig yn Vermont yn y dull canlynol, gan bregethwr annysgedig ag oedd yn diystyru dysgeidiaeth:—

"Syr, yr ydych chwi wedi bod yn y coleg, mae yn debyg?"

"Do, syr," oedd yr ateb.

"Wel, meddai y blaenaf, yr wyf yn diolch fod yr Arglwydd wedi agor fy ngenau i heb ddysgeidiaeth."

"Dygwyddodd amgylchiad cyffelyb yn amser Balaam," meddai yr olaf, "ond anfynych y mae y cyfryw bethau yn dygwydd yn ein dyddiau ni."

# NODIADAU DETHOLEDIG.

## YR YSGRYTHYRAU.

Y FATH fendith i fodau, gyda y fath alluoedd cyfyngedig a'r eiddom ni, ydyw cael Duw ei hun yn ddysgawdwr i ni yn mhob peth ag y perthyn i ni ei wybod! Y mae yn perthyn yn benaf i ni wybod—nid dechreuad y celfyddydau, na chudd ddyfnderau y gwybodaethau—nid hanesion amherodraethau cedyrn yn difrodi y byd trwy eu hamrysoniadau—nid manylrwydd rhesymeg, dirgelwch arddansoddiaeth, ardduniannau barddoniaeth, na dillynion beirniadaeth; ond—beth a ddaw o honom ar ol marw, ac a ydym ni i fyw drachefn. Y mae yn perthyn i ni wybod, a ydyw yn ddichonadwy i ni wneuthur unrhyw beth tra yr ydym yn byw yma, a all wneyd y bywyd dyfodol hwnw yn un dedwydd.—*Esgob Watson.*

O HOLL greaduriaid y ddaear, dyn yn ddigymhariaeth yw yr ardderchocaf. Y mae pa beth bynag gan hyny ag sydd yn perthyn i lesad dynolryw, yn ardderchocach peth nag a berthyn i'r greadigaeth ddifywyd na'r anifeilaidd. Os gwnaed dyn i gyflwr ar ol hwn o anfarwoldeb, rhaid fod pa beth bynag ag sydd yn perthyn i'r cyflwr anfarwol hwnw, neu a ddichon gyfranu tuag at ei barotoi ef gogyfer a'r meddiant o hono, yn dirfawr ragori ar yr hyn ag sydd yn perthyn i'r mwynhad darfodedig o'r bywyd presenol. Mor oruchel gan hyny yw y gwrthddrych ag y mae crefydd, a chrefydd yn unig, yn ei arddangos fel sail cyfryngiadau goruwchnaturiol! Y gwrthddrych hwn nid yw ddim amgen na lles dyn, goruchwyliwr rhesymol a moesol, yr unig fôd yn y byd isod hwn ag sydd yn dwyn yn ei enaid ddelw ei Wneuthurwr; nid lles dyn unigol, ond y rhywogaeth; nid am ysbaid terfynol, ond am dragywyddoldeb; gwrthddrych, o leiaf mewn un ystyr, cyfartal i fawredd Duw.—*Campbell.*

Yn ofer y bryd-dremia damcanwyr dynol ar y tebygolrwydd o gyflwr dyfodol. Y mae llen annhreiddiadwy yn gorphwys ar y bedd, ac yn gwneuthur yr oll tu hwnt iddi yn dywyll ac anamlygadwy nes i Dad Tragywyddoldeb daflu goleuni dadguddiad ar draws y caddug, a gwneuthur y byd anweledig yn ganfyddadwy i ddyn. Yna, trwy dystiolaeth ysbrydoliaeth, yr ydym yn cael allan y sicrwydd o farn i ddyfod, dedwyddwch perlewygawl y llawenydd nefol, a gorlawn drueni cosbedigaeth ddiddiwedd. Y mae y desgrifiadau mwyaf cysurus o'r pleserau Elysiaidd a gynnygiwyd erioed gan ysgrifenwyr paganaidd, yn syrthio yn anfeidrol islaw goruchel, ond syml, ddadleniadau dadguddiad. Y rhai blaenaf ydynt ddysglaer ddarluniadau dychymyg yn unig, y rhai olaf ydynt adroddiadau gwirionedd ysbrydoledig.—*Dr. J. Townley.*

Dywedir gan ein Harglwydd fod dynion ei ddydd ef yn "caru y tywyllwch yn fwy na'r goleuni, am fod eu gweithredoedd hwy yn ddrwg;" a cheir yn gyffredin mai mam gwrthffyddiaeth ydyw bywyd drygionus. Ond, o ba ffynonell bynag y dichon i wrthffyddiaeth godi, braidd y gellir amheu ei effeithiau ar foesau a gweddnodau dynion. Canys paham nad ymdroa y gwrthgredadyn yn mhob pleser ag y dichon i'w galon ei chwennych? Y mae efe wedi taflu gair Duw o'r neilldu; ac os cymer efe ofal i ymgadw o afaelion y deddfau dynol, pa beth sydd i'w attal ef? Y mae yn wir, mewn rhai o restrau cymdeithas, y bydd iddo ei chael yn angenrheidiol, os myn efe gadw parch y byd, fod iddo gynal ymddygiad allanol gweddaidd; a bydd iddo fe allai, mewn rhyw fesur, gael ei effeithio gan esiampl, gan ddygiad i fyny, ac am amser, gan hyd yn nod orchymynion y grefydd ag y darfu iddo mewn gwirionedd ei gwadu: ond wrth gymeryd ymaith yr Ysgrythyrau, yr ydych yn symud terfynau mawrion uniondeb a chamwedd; yr ydych yn dyfetha yr unig

awdurdodau a chymhelliadau ag ydynt alluog i amryson â nwydau a llygredigaeth y galon ddynol; a pha esiamplau unigol bynag o eithriaid a ddichon gyfodi, nid oes dim yn sicrach nag y bydd i ffyniant drygioni a throseddiadau fod yn gyfartal i ddylanwad gwrthffyddiaeth.—*Dr. Dealtry.*

Yn y cyffredin, nid diffyg o brawf, ond y diffyg o rinwedd, sydd yn gwneuthur dynion yn yn wthffyddwyr: boed iddynt beidio a bod yn ddrwg, a hwy yn fuan a beidiant a bod yn wrthgredinwyr. "A 'r galon," medd St. Paul, nid â'r pen "y credir i gyfiawnder." Diwygier y galon, a bydd i'r cwbl fyned yn iawn. Y mae y gwrthgredinwyr yn achwyn ar ddirgeledigaethau dadguddiad; ond y mae genym ni yr awdurdod mwyaf i ddywedyd, mai yr unig ddirgelwch ag sydd yn attal iddynt hwy ei dderbyn ef, yw dirgelwch anwiredd.—*Esgob Porteus.*

---

## TRAITHAWD

AR "Y MODDION GOREU I'W HARFERYD ER SICRHAU DEFNYDDIOLDEB IEUENCTYD CYMRY AMERICA I'W CENEDL EU HUNAIN."

GAN LLYWELYN SPRY.

Y MAE nerth, enwogrwydd a chynydd, cenedl, yn gynnwysedig yn amlder, yni, ac uchelgais ei gwyr ieuainc; hwynt-hwy ydynt ei breichiau rhag trais a gormes, hwynt-hwy ydynt ei llygaid i ganfod peryglon ac i wneyd darganfyddiadau newyddion er ei derchafu, a hwynt-hwy ydynt ei thraed, yn cychwyn mewn pob diwygiad ac i gyrhaedd pob gwelliantau; amddifader cenedl o'i gwyr ieuainc a bydd fel dinas adfeiliedig, neu weddw fethiantus yn cwynfan ar ol ei meibion ac wedi clafychu i farw; gan hyny y mae o'r pwys mwyaf i bob cenedl er sicrhau ei bodoliaeth, ei bri, ac ei

dylanwad yn mysg cenedloedd y ddaear, fagu, a meithrin, aidd, a thueddiad, cenedlgarol yn ei gwyr ieuainc. Ar yr ystyriaethau uchod priodol y galwodd Pwyllgor Eisteddfod Utica am Draithawd ar "*Y moddion goreu i'w harferyd er sicrhau Defnyddioldeb Ieuenctyd Cymry America i'w cenedl eu hunain.*"

Mewn trefn i gael golwg ar gynnwysiad ein testyn, dylid edrych mewn pa ystyriaethau y gall ieuenctyd cenedl ei gwasanaethu fel cenedl; gellir eu crynhoi i bump o brif gangengau, sef, yn Filwrol, yn Llywod-ddysgol, yn Gelfyddydol, yn Llênyddol ac yn Grefyddol. Gyda golwg ar y ddwy gangen gyntaf, nid oes gan genedl y Cymry yn America, nac yn un wlad arall, le i ofyn, na dysgwyl, gwasanaeth ei hieuenctyd; nid am nad oes digon o brofion o alluoedd yn yr olaf i'w gwasanaethu, ond am nad oes gan genedl y Cymry na gwlad na llywodraeth o'r eiddynt eu hunain; ond ysywaeth, y mae olyddion Caradog ac Owain Glyndwr heb wlad i'w hamddiffyn, a disgynyddion Hywel Dda heb gyfraith na llywodraeth o'r eiddynt. Yn debyg yr un fodd y gellir dywedyd gyda golwg ar gelfyddyd hefyd, yn nghymysgedd ein cenedl â chenedloedd eraill, drwy fod yn ddeiliaid llywodraeth arall, mae eu talentau mewn celfyddyd, neu bob cywreinrwydd, neu ddyfais, o'r eiddynt, yn cael ei golli o fod yn eiddo y genedl, fel defnyn i gelwrn y llywodraeth y maent yn ddeiliaid o honi; gall y Darganfyddydd dderbyn ei freinlen oddiwrth lywodraeth y wlad; ac yna y mae ei wasanaeth yn eiddo y genedl hono; canys ni fedd na gwlad na llywodraeth fel Cymro.

Dichon nad anfuddiol a fyddai sylwi yn y fan yma pa fodd yr aeth mor ddarostyngedig ac isel yn yr olwg hon. Bu y Cymry yn enwog fel cenedl yn eu medrusrwydd milwrol; ac yn haeddu eu rhesu yn uchel am gyfansoddi a gosod cyfreithiau. Ond collasant eu henwogrwydd, a'u bri, yn y gwyddoran uchod, tra y buont fel trefedigion i'r, a'u gwlad

dan nawdd, ac amddiffyn y Rhufeiniaid; y pryd hyny, yn eu hesmwythder a'u diofalwch, ymollyngasant i foethau a chyfeddach, nes esgeuluso i raddau pell, bob anturiaeth ac uchelgais cenedlaethol; trôdd y gwŷr ieuainc i ddysgu campau ofer yn lle y ddysgyblaeth filwrol; ac ymroisant i yfed, a chyfeddach, yn lle astudio lles eu gwlad, a'u cenedl, mewn gosod cyfreithiau, a sefydliadau daionus; a'r canlyniad a fu, cael eu gorchfygu gan y Saxoniaid, a cholli cael eu cyfrif yn genedl ymddibynol yn mysg cenedloedd eraill: ac felly pob pwys gwladwriaethol o'r eiddynt yn cael ei daflu yn eiddo cenedl arall, o herwydd nad oedd ganddynt sefydliadau eu hunain, i dderbyn na chefnogi gwasanaeth, a dewrder eu gwyr ieuainc, yn y cangenau uchod o wybodaeth.

Gallwn ninau, Cymry yr America, gymeryd gwers oddiwrth yr uchod; y mae ein sefyllfa ninau o dan gysgod ac amddiffyn y llywodraeth Americanaidd, rywfodd yn gyffelyb i'r Brythoniaid, o dan yr un Rufeinig; ac megys y collasant hwy eu gafael, o'r tair cangen gyntaf a soniasom, sef Milwriaeth, Llywod-ddysg, a Chelfyddyd, y mae perygl i ninau, ollwng ein gafael o'r ddwy arall, sef Llênyddiaeth a Chrefydd yn ein hiaith ein hunain, ac ymorphwys arnynt yn Saesonaeg, fel ag y maent yn cael eu hatfer, a'u cefnogi gan ein llywodraeth.

Y mae yn amlwg erbyn hyn, mai yr unig derfyn, sydd genym i'n cadw fel cenedl rhag ein llyngcu i ddifodaeth, ac i amddiffyn yr eiddom, rhag myned yn eiddo cenedloedd eraill, yw ein *hiaith*, gan hyny, rhaid i bob defnyddioldeb o'r eiddo ein hieuenctyd, cyn ag y gellir ei sicrhau i'r Cymry fel cenedl, fod o fewn ei thiriogaeth; ynddi hi y dylai fod maes eu llafur; o fewn ei therfynau y dylent hau hadau Gwybodaeth, Moesoldeb, a Rhinwedd, cyn y gall eu cenedl eu hunain fedi o'u cynnyrch; am hyny dysged ac arfered ieuenctyd eu cenedl iaith eu mamau, rhag llenwi yr estron a'u cyfoeth, ac i'w llafur meddyliol fod yn nhŷ y dyeithr. Na

feddylied neb ein bod wrth hyn, yn meddwl na ddylai neb ddysgu, nac arfer, yr un iaith ond y Gymraeg; nac ydym, mwy nag y dylai cenedl, neu wlad beidio a masnachu â chenedloedd, neu wledydd eraill; ond i'r gwrthwyneb, y gwledydd helaethaf eu trefnydiaeth â gwledydd eraill, yw y rhai cyfoethocaf, a chadarnaf; ac felly y gellir dywedyd, gyda golwg ar gyfoeth, a llwyddiant, cenedl, mewn gwybodaeth, a dysg; po helaethaf y byddo adnabyddiaeth ei llenorion, mewn ieithoedd eraill, mwyaf yw eu mantais i ddwyn trysorau dysg, i faethu a diwyllio, eu cenedl eu hunain mewn pob cangen o wybodaeth fuddiol; ond ein gosodiad yw, mai y Gymraeg a ddylai fod y cyfrwng iddynt i drosglwyddo y cyfryw wybodaeth, iddeu cenedl, a'r canlyniad naturiol fydd mai eu cenedl eu hunain a gaiff y lles oddiwrth yr unrhyw. Gan hyny, ofer i ni ddysgwyl mwynhau defnyddioldeb ieuenctyd ein cenedl ar un tir arall, ac y mae ein testyn yn dyfod i mewn yn naturiol, sef, "Y moddion goreu i'w harferyd" i'r dyben o ddiogelu y cyntaf.

Y peth cyntaf, ag sydd yn ymgynnyg i'n hystyriaethau ydyw, yr angenrheidrwydd i'r Cymry ddysgu eu plant i siarad eu hiaith eu hunain yn eu mabandod, er mwyn ffurfio eu peirianau ymadrodd, i yngan yr un yn naturiol, a chydag esmwythder, a rhwyddineb; ac fel hyn, y rhagflaenant y llediaith, a'r attalfa, a deimlir gan luaws o'n hieuenctyd, ar ol tyfu i oedran aeddfetach, o herwydd cael eu harferyd yn gyntaf i siarad y Saesonaeg, a thrwy hyn, eu gorfodi o angenrheidrwydd, i ddewis yr iaith hono fel cyfrwng traddodiad ffrwyth eu myfyrdodau, pryd ag y dymunent wneyd hyny yn iaith eu cenedl. Y mae yn ofidus a gwrthun, clywed llawer tad, a mam, yn siarad â'u plant yn eu teuluoedd yn Saesonaeg, a hwythau mewn gwirionedd, yn analluog i wneyd hyny, ond yn hynod anmherffaith a chlogyrnog; a phan y gofynir iddynt, paham na baent yn dysgu Cymraeg i'w plant, y mae y peth fel islaw eu sylw, a

dim gwell na chellwair yn eu golwg, a thaflant ef heibio gydag esgusion diwerth; megys, mai felly y maent wedi arfer, fod y plant yn arfer Saesonaeg efo plant y tŷ nesaf, ac wrth fyned i'r ysgol ddyddiol; nid ydynt yn ystyried y canlyniad niweidiol o'u hymddygiad; trwy hyn y mae y plant yn cael eu hamddifadu o wybodaeth o un iaith gynnwysfawr; a llawer un wedi dyfod i synwyr, a barn, yn arbenig os bydd o feddwl, ac athrylith, sydd yn teimlo ei golled gyda galar; ac na fyddai yn ormod ganddo dalu un gwerth yn ei feddiant, nag arbed un llafur, er adferu y golled a brofodd, trwy esgeulusdod ei rieni diofal; ac nid hyny yn unig, heblaw y golled o du y gwr ieuanc ei hun, colledir y genedl hefyd o'i wasanaeth, a'i ddefnyddioldeb yntau; canys y mae ei ddyeithrwch i'r iaith yn sefyll yn wrthglawdd rhyngddynt a hyny. Gan hyny, Gymry, diwygiwch, arferwch eich iaith gynwynol i ddifyru, dysgu, a rhybuddio, eich rhai bychain; ymddyddenwch yn eich teuluoedd, gyda eich gorchwylion yn y tŷ, efo eich galwedigaeth yn y maes, ac wrth ymdeithio hyd y ffyrdd, â'ch cenedl yn ol y cnawd yn eu hiaith eu hunain; ïe addolwch Dduw eich tadau yn yr un iaith ag y gwnaethant hwythau, ar eich aelwydydd; ac felly bydd eich ymlyniad diymwad chwi wrth eich iaith, a'ch cenedl, yn foddion effeithiol i gylymu yr ieuenctyd yr un fodd; ac yn gam tuag at sicrhau eu *Defnyddioldeb i'w cenedl eu hunain.*

[*I'w barhau.*]

---

## RHYWBETH WEDI EI ADAEL I FYW ERDDO.

YN ddiweddar, yr oedd bachgen amddifad, pedair blwydd oed, yn eistedd ar y llawr yn nghanol ei deganau. Ac wrth daflu ei olwg at ei fam, gwelai y dagrau mawrion yn treiglo dros ei gruddiau; yna neidiodd ar ei draed, dynesodd

at ochr ei fam, a chan edrych yn syn yn ei gwyneb, tra yr ymaflai yn ei llaw, dywedodd, "Yr wyf *fi* genych eto." Mor syml a dirodres oedd ei ddyddanwch. Weddwon! sychwch ymaith eich dagrau. Y mae rhywbeth wedi ei adael i chwi fyw erddo; mae genych ddyledswyddau i'w cyflawni nas gall eich calon drom ymwrthod â hwy. Mae genych "dalent" nad ydych i'w chuddio; mae genych oruchwyliaeth ag y bydd raid rhoddi cyfrif o hono i'ch Arglwydd; mae genych dalent i'w llenwi â'ch llaw o wirionedd dwyfol; mae genych blanhigyn tyner i'w ddiogelu rhag diflaniad a mallder; dyferyn na ddylai gael ei sychu i fyny gan haul bydolrwydd; angel i'r hwn y mae "gwisg wen" i gael ei gwneyd; cerub, yn llaw yr hwn rhaid rhoi "y delyn aur;" ac "oen bach" i gael ei borthi gan "y Bugail da."

"Yr wyf *fi*" genych eto! Na ddysgwch ef, trwy eich grwgnach ofer i feddwl nad yw "Ein Tad yn tosturio wrth ei blant." Dysgwch ef i garu Duw fel y mae i'w weled yn y ffurfafen ac yn y môr; yn y graig ac yn yr afon. Dysgwch ef i garu Duw yn y cwmwl yn gystal ac yn nhwyniad yr haul! Bydd genych eich oriau trymllyd a galarus—mae yna wagle nas gall y galon fach, dyner, gariadlawn ei lenwi; "ond y mae un ac heb ail iddo," yr hwn sydd yn dywedyd, "Yr wyf *fi* gyda chwi bob amser. "Efe" a gyflawna eich holl raid yn ol ei olud ei hun mewn gogoniant."

*New York.* W. R.

---

## TRUENI Y DIOG, A DIOGI YN BECHOD.

YN yr holwyddoreg ganlynol gadawaf i'r ieuenctyd y llafur o chwilio am yr adnodau, heb roddi ond eu cyfeiriad.

*Gofyniad.* A ydyw diogi yn bechod?

*Ateb.* Ydyw: yn 1. Mae Duw yn ei wahardd. Gal. vi. 6. 2. Y mae yn ei gondemnio. Mat. xxv. 26. Diar. vi. 9.

*G.* A yw y diogyn yn druenus?

*A.* Ydyw, o gyflwr a sefyllfa: mae yn felldith i wlad, yn warth i genedl, a baich iddo ei hun.

*G.* Pa felldith ydyw i wlad?

*A.* Pe byddai pawb fel ef, byddem mewn newyn a noethni. Diar. xx. 4; a xiii. 4; a xxiv. 30.

*G.* Pa warth ydyw i'w genedl?

*A.* Am y dylai pob cenedl arfer moddion ac awdurdod i gael pawb at lafur a diwydrwydd. 2 Thes. iii. 10.

*G.* Pa faich ydyw iddo ei hun?

*A.* Am fod yr hyn sydd yn hyfrydwch i eraill yn faich iddo ef. Diar. xxii. 13; a xxvi. 13—15.

*G.* Pa fath ffordd yw ffordd y diog?

*A.* Y mae fel cae (neu gwrych) drain, fel na all fyned at un gorchwyl na neges. Diar. xv. 19.

*G.* Pa fath yw ei faes?

*A.* Y mae yn wrthun a diffrwyth. Diar. xxiv. 30—32.

*G.* Pa fath yw ei wisg?

*A.* Budr a charpiog. Diar. xxiii. 21.

*G.* Pa fath yw arlwy ei fwrdd?

*A.* Prin, ac heb ddigon. Diar. xiii. 4, 25.

*G.* Pa fath yw sefyllfa gyson ei fywyd?

*A.* Y mae yn cael ei erlyn gan angen â'i arfau miniog. Diar. xxiv. 33; a xx. 4.

*G.* Pa fath negesydd mewn gwlad ac eglwys yw y diog?

*A.* Gwna y neb a ddysgwylia wrtho yn llawn ysfa a gofid. Diar. x, 26.

*G.* Pa fath annedd sydd gan y diog?

*A.* Un adfeiliedig, a llawn defni. Preg. x. 18.

*G.* Pa fath yw y diog yn ei olwg ei hun?

*A.* Doethach na seithwyr yn adrodd rheswm. Diar. xxvi. 16.

*G.* A ydyw efe yn ddoeth fel y mae yn tybied?

*A.* Nag ydyw, ond ynfytach ydyw na'r morgrugyn. Diar. vi. 6.

*G.* A ydyw y diog yn deisyf?

*A.* Ydyw; ond ni chaiff ei ddeisyfiad.

*G.* Pa beth a wna ei ddeisyfiad iddo?

*A.* "Deisyfiad y diog a'i lladd." Diar. xxi. 25.

*G.* Pa fodd y gwna ei ddeisyfiad ei ladd?

*A.* 1. Deisyf bendith, heb lafurio er ei chyrhaedd, sydd yn dwyn dynion i ladd eu hunain, am na allant gyrhaedd eu dymuniad.

2. Deisyf peth heb lafurio er ei gael, sydd yn nychu i angeu pruddglwyfus.

3. Deisyfiad heb lafur yw gwraidd llofruddiaethau y byd. "Yr hwn a dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau." Gen. ix. 6.

*G.* Pa un ai ar unwaith ai ynte yn raddol yr â un yn ddiog?

*A.* Yn raddol a chynnyddol, wrth ei feithrin. Diar. xxiv. 33.

*G.* Pa fodd y dechreuir ei fagu a'i feithrin?

*A.* 1. Trwy esgeuluso rhoddi y plant at waith priodol iddynt yn ieuaingc. Diar. xxii. 6.

2. Trwy eu llwytho â gormod o galedwaith, nes eu llethu i ddigalondid ac ystyfnigrwydd dibris. Ephes. vi. 4.

3. Trwy ollwng y plant i fysg segurwyr ac oferwyr. Exod. xxiii. 2.

4. Trwy i rieni fyned i dymherau drwg, a dwyn gwaith y plant a'i wneyd eu hunain mewn nwydau drwg. Iago i. 4.

*G.* Pa beth yw diogi?

*A.* 1. Yn naturiol, ymwrthodiad cyndyn o gydymffurfiad prydlawn â Rhagluniaeth, er dwyn oddiamgylch negeseuau bywyd, er gogoniant Duw a lles dyn. Preg. iii. 11—13.

2. Yn ysbrydol, esgeuluso cydymffurfio â threfn rasol Duw i achub dyn, trwy wrthod ymarfer â moddion iachawdwriaeth. Jer. viii. 20. Phil. ii. 12. Heb. ii. 3. Gal. vi. 9.

Terfynaf, rhag eich blino. Os caf ddeall y bydd hyn yn dderbyniol, ychwanegaf, ar y fendith o lafur a diwydrwydd.

*Rome.* T. W.

---

## PA BETH A WNAETH Y GWAHANIAETH?

RHAI blynyddau yn ol, yr oedd dau wr ieuainc yn cyd-deithio gyda eu gilydd ar ddiwrnod hyfryd yn y gwanwyn mewn cerbyd cyffredin; yr oeddent yn anadlu yr un awyr, yn canfod yr un golygfeydd dymunol, ac yn cael eu cludo yn yr un cerbyd cysurus; eto yr oedd gwahaniaeth mawr yn eu teimladau. Yr oedd un yn teimlo yn ddedwydd, a'r llall yn teimlo yn druenus. Yr oedd un yn myned adref i'w *Sweet Home* i dreulio amser oediad ei ysgol gyda

ei rieni a'i gyfeillion caredig. Yr oedd ei enaid yn nofio mewn llawenydd, yr oedd yn awyddus i gyrhaedd pen ei siwrnai. Ond, mor annhebyg oedd teimladau a gobeithion y llall! Yr oedd ef yn myned o'i gartref tua *State Prison* i dreulio blynyddoedd yno, yn gosbedigaeth am y troseddau yr oedd yn euog o honynt. Nid oedd ganddo ef ddysgwyliad am olygfeydd hyfryd ac oriau dedwydd. Yn mhen ei daith, yr oedd ef i'w osod yn mysg troseddwyr fel ef ei hun, mewn gwarth, caethiwed a dyoddefiadau. Pa beth a wnaeth eu sefyllfa yn wahanol i'w gilydd? Ah! yr oedd un yn ufudd, a'r llall yn anufudd i gyfreithiau Duw a dyn. Felly y mae hi mewn ystyr ëangach gyda theithwyr tua thragywyddoldeb. Y rhai sydd yn ufuddhau i orchymynion y nefoedd, ydynt yn gorfoleddu mewn gobaith o wynfyd tragywyddol —ydynt yn dysgwyl ar derfyniad eu bywyd, gyrhaedd eu cartref dedwydd—cartref eu Gwaredwr a'u cyfeilliou hoff, ac i fwynhau dedwyddwch am byth. Mae y rhai anufudd wedi eu damnio eisoes, ac nid oes iddynt hwy ar ddiwedd eu taith, ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd tân. Ddarllenydd, a wyt ti yn fab yn myned adref, neu yn droseddwr euog yn myned i garchar?

## Y BACHGEN BYCHAN.

YR oedd gwr tlawd, a chanddo deulu mawr, yn gorfod myned am gymhorth, trwy offerynoliaeth ei wraig i gymdeithas elusengar. Y wraig ar ol desgrifio y cyfyngderau yr oedd ei theulu ynddo, a ddywedodd, fod ganddynt un cysur yn nghanol yr holl dlodi. Gofynwyd pa beth oedd hyny, yr atebiad oedd, "Y mae genym fachgen nad yw ond naw mlwydd oed, a rhyw gyfnewidiad mawr ynddo." Gofynwyd iddi pa beth oedd wedi achosi y fath gyfnewidiad. Atebodd hithau, "Mai un o'r genethod bychain a aeth i gynnorth-

wyo gwraig dlawd i lanhau *shop* cigydd, ac nad oedd gan y wraig arian, ond a roddodd iddi lyfr bychan." Gofynwyd iddi pa lyfr oedd. Dywedodd hithau, mai "Hanes am fachgen du, tlawd, yr hwn a ladratawyd oddiar lan y mor; ac ar ol iddo ei ddarllen, nid oedd dim a'i boddlonai, oddyeithr iddo allu gweddio fel y bachgen du. Y fam a wnaeth ymdrech i'w addysgu gystal ag y medrai; ac oddiwrth ddifrifoldeb y bachgen, arweiniwyd hithau i weddio gydag ef; a dywedodd wrtho y gwna'i Duw ei hun ei gynnorthwyo, a'i addysgu ef.

Ar ol ychydig amser, erfyniodd y bachgen ar ei fam i ddywedyd yr un weddi drosodd drachefn. Dranoeth, pan oeddent yn bwyta yr ychydig oedd ganddynt i giniaw, y bachgen eto a siaradodd yn y fath ddull crefyddol, nes methodd ei dad a dal; yr oedd ei enaid yn llawn, ac efe a aeth allan.

Yn gymaint a fy mod wedi cael hyfrydwch mawr yn yr hanes hwn, anfonais am y bachgen bychan, gan ddywedyd, fod genyf lyfr iddo. Efe a ddaeth yn unol a'm deisyfiad; ac heb adael iddo wybod fy mod wedi clywed dim am dano, gofynais iddo amryw ofyniadau cyn rhoddi y llyfr iddo. Gofynais a fu efe erioed yn gweddio. Efe a atebodd gyda gwylder mawr, "Do, Syr." Gofynais iddo am ba beth y gweddiodd. Dywedodd yntau, "Am Ysbryd Sanctaidd Duw, ac am faddeuant o'm pechodau." Dywedais inau, "Yr wyt yn ieuanc iawn; a ddarfu i ti erioed bechu?" Gan ysgwyd ei ben, efe a atebodd mewn modd difrifol, "O do, Syr!" Gofynais iddo pa beth a wnaeth. "Cyn i mi ddarllen y llyfr a gafodd fy chwaer, byddwn arferol a chwareu gyda bachgen fy nghymydog, a byddai ef yn arfer tyngu." Yna gofynais iddo, "A ddarfu i ti dyngu?" Gan ogwyddo ei ben i lawr, efe a ddywedodd, "Do, Syr." "Pa fodd yr wyt ti yn meddwl y gwna Duw faddeu i ti?" "Oblegid fod Crist wedi marw dros bechaduriaid." Yna, gofynais

iddo, a allai efe ddywedyd wrthyf, pa beth a wnaeth y bachgen du yn ddedwydd. "Gallaf, Syr; efe a gludwyd yn mhell oddicartref i glywed am gariad Crist." "Wel," ebe finau, "pa mor aml y byddi yn gweddio? "Y boreu a'r hwyr, Syr, ac weithiau ganol dydd." "Pa sawl ystafell sydd gan eich teulu chwi i fyw ynddynt? "Un, Syr." "Pa fodd gan hyny y gelli weddio ganol dydd?" "Wel, Syr," ebe efe, gan droi ei ben i'r naill ochr, fel pe buasai arno gywilydd ateb, "byddaf weithiau yn gweddio yn yr ystafell ddillad, ac weithiau yn y lle y cedwir glo." Cefais fy moddloni yn fawr yn y bachgen; rhoddais iddo y llyfr, yn nghyda chynghor bychan, yna terfynwyd yr ymddyddan.

Clywais wedi hyny, ei fod yn myned i'r Ysgol Sabbothol; ac un Sabboth, dywedodd ei athraw wrthyf, ei fod y boreu hwnw wedi adrodd yr oll o'r bummed bennod ar hugain o Efengyl Matthew, pa un oedd wedi ddysgu yr wythnos flaenorol. Y traethawd pa un a ddarllenodd o'r blaen, oedd "Y Gwas Negroaidd; ac y mae pob rheswm i gredu, fod ei ddarlleniad wedi bod yn fendith dragywyddol i'w enaid.

---

## Y PARCH. VAVASOR POWEL.

YR oedd yn un o'r gweinidogion ymroddgar hyny, y rhai yn yr eilfed canrif ar bymtheg, a erlidid yn dost. Mewn hanes a ysgrifenodd am y profedigaethau a'i cyfarfu, a'r gwaredigaethau a gafodd, dywed wrthym, ddarfod i ddau o elynion crefydd ar un achlysur ei guro yn ffyrnig, ac un o honynt â chlamp o ddelbren a'i harchollodd yn arswydus, er hyny cafodd ei fywyd. Dro arall, pedwar o wyr arfog a gynllwynent iddo gyda bwriad i'w ladd, ond canfyddid hwynt yn annysgwyliadwy gan ddau ddyn dyeithr, a'u gwasgarent hwy. Un o'r erlidwyr hyny yr un diwrnod a argyhoeddid o'i bechod, tan bregethiad Mr. Powel, ac ymgadwai rhag erlid byth

mwyach. Bryd arall, dyn tlawd a gymmerai lw i'w ladd; ond gwedi llawer ymgais aneffeithiol i gwblhau ei fwriad, elai i wrandaw Mr. P. yn pregethu, pan y cyhoeddai efe Grist fel Iachawdwr y pechaduriaid gwaethaf gyda'r fath felyder, nes y toddai ei galon; ymbiliai ar Mr. P. weddio drosto, a daeth yn gyfaill iddo. Ar achlysur arall, dalid ef pan yn pregethu: ac ar y ffordd at yr Ynad Heddwch, pregethai yn y fath fodd nes peri i un o'i elynion penaf wylo; ac wedi cyrhaedd tŷ y swyddog, a chael ei fod oddi cartref, pregethai yno hefyd, a chaffai y fath effaith ar feddyliau ei ddwy ferch fel yr eiriolent trosto, ac y rhyddheid ef.—Pan yn pregethu mewn maes gerllaw Llacharn, yr Uchel-Sirydd a ddeuai gyda mintai o ddynion, ac a'i traddodai i garchar. Un yn unig o bymtheg neu chwaneg o hedd-geidwaid oedd yn ewyllysgar i roddi y warant mewn gweithrediad. Elai Mr. P. gyd a'r dyn hwn, a chan fod ei dŷ ar y ffordd, cafai genad i aros yno am y noswaith hòno. Tra yr ydoedd Mr. P. yn gweddio gyd a'i deulu yn yr hwyr, yr heddgeidwad a argyhoeddid mor ddwys, fel y tystiai nad âi gam yn mhellach gydag ef, pe costiai hyny ei fywyd iddo, gan ei fod yn credu mai un o weision Crist ydoedd. Gadawai Mr. P. yn ei dŷ ei hun, a ffoai yntau am enyd o'r wlad. Rhag y gwnelid niwed i'r dyn, Mr. P. a roddai ei hun i fyny; profid ef yn y brawdlys nesaf, a chafai ei ryddhau; ciniawai gyda a'i farnwyr, ac wedi iddo roddi diolch wrth y bwrdd ciniaw, un o honynt a wiriai "na chlywsai efe well gras bwyd yn ei holl fywyd," a chefnogai ei bregethiad.

---

## Y BEIBL.

MAE pedwar o resymau dros wirionedd y Beibl. Y cyntaf yw y gwyrthiau a gofnodir—yr ail yw y prophwydoliaethau—y trydydd yw daioni yr athrawiaeth—y pedwerydd ydyw cymeriad moesol yr ysgrifenwyr. Deilliodd y gwyrth-

iau oddiwrth allu Dwyfol; rhagoriaeth athrawiaeth, oddiwrth ddaioni Dwyfol; cymeriad moesol yr ysgrifenwyr, oddiwrth burdeb Dwyfol. Gan hyny mae Cristionogaeth wedi ei hadeiladu ar y pedair colofn ansymudol hyn, gallu, dealltwriaeth, daioni, a phurdeb Dwyfol. Mae yn rhaid fod y Beibl, yn ddyfais dynion da, neu angelion da, neu yn ddyfais dynion drwg, neu angelion drwg; neu ynte yn ddatguddiad oddiwrth Dduw. Ond nis gall fod o ddyfais dynion da, nac angelion da, oblegid nis gallasent hwy wneyd llyfr, a dywedyd, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," pan y gwyddent ei fod o'u dyfais hwy eu hunain. Nis gall fod o ddyfais dynion nac angelion drwg, oblegid nis gallasent hwy wneyd llyfr ag sydd yn gorchymyn pob dyledswydd, ac yn gwahardd pob pechod, ac yn eu condemnio i dragywyddoldeb.

Mae y casgliad yn anorchfygol—mae yn rhaid fod y Beibl wedi ei roddi trwy Ddwyfol ysbrydoliaeth.—*Esgob Simpson.*

---

## YR IUDDEWON.

DYWEDIR, nad oes nemawr o deulu o Iuddewon yn Germany, nad oes rhyw aelod o hono wedi ei ddychwelyd at Gristionogaeth. Mae yno awydd mawr i chwilio i mewn i wirioneddau y Gyfrol Sanctaidd, ac yn enwedig yn mhlith yr ieuenctyd.

Mae yr Iuddewon yn ninas New York, yn diwygio o'u hen arferion. Maent yn mabwysiadu dull y cenedloedd wrth ganu yn eu synagogau, trwy ddefnyddio yr organ gyda'u corau, yn lle yr hen ddull Hebreaidd o ganu. Mae y Parch. Dr. Raphael yn cefnogi cadwraeth y Sabboth ar ddydd Sul yn lle dydd Sadwrn. Yn ol y dull presennol maent yn gorfod colli dau ddiwrnod oddiwrth eu gorchwylion bydol; ac y mae eu colled yn eu gwasgu i wneyd sylw o'r dydd a gedwir gan eraill, fel y gallont fwynhau eu cyfran o elw y dydd Sadwrn gyda'r cenedloedd, y dydd goreu am fasnach yn yr wythnos.

### Y PERERIN.

Wyf wan, ond troi i fynu—sy' oreu,
Mor siriol mae Iesu,
I ister y dyfnder du,
O'i ogoniant yn gwenu.

Er fy mod mewn tylodi—yn isel,
Mae'n Iesu dosturi;
Oes fôr—os anghenus fi,
Fath ddigon sy' i'm cyfoethogi!

Ef a roes ar Galfari—iawn aberth
Wynebai'm holl fryntni;
O ras! o'i fodd yn rhoddi
Ei fywyd i lawr drosof fi!

Yn ei aberth ymnerthaf—drwy'i rinwedd
Draw o'r anial ciliaf;
Os E'n borth neu gymhorth gaf,
Isod mwy nid arosaf.

Ar y llawr—nid dyma'r lle—'r wy'n aros,
Pererin i rywle
Yn ei daith wyf, onide—
Fenaid, edrych fyn'd adre.

Gwylia ro'i i'r byd dy galon—yn wir
Nid neb ond ynfydion
A'i rhydd ar y ddaear hon—
Anwesu *llety noson!*

Nid y byd, fy enaid bach—ydyw'r man
I dramwyo'n holliach;
Y nef, lle mae pawb yn iach,
Yw y Ganaan amgenach.

Yno mae pur lawenydd—a gwênau
Teg wyneb Duw beunydd;
Y nef wiw! yno ni fydd—na chrwydryn,
Na thlawd adyn—O'i theulu dedwydd!

*Wisconsin.* HIRAETHLAWN.

---

### CYFARCHIADAU I'R "ARWEINYDD."

"ARWEINYDD" y dydd sy'n dod— ag 'wyllys
I'n gwella yn barod;
Daioni i ni yw ei nôd—
Hawdd erfyn llwydd i'w arfod.

*Rome.* O. JONES.

LLANWYD fi â llawenydd—am ddyfod
I'm ddifeth "Arweinydd;"
Gwin yw, a ffon i'r gwan ei ffydd,
Ac anfad gadnaw cenfydd.

*Rome.* W. N. JONES.

# NODIADAU DETHOLEDIG.

## YR YSGRYTHYRAU.

Y MAE yn wir y gall y gwrthffyddiwr fod yn dra hynaws yn nghyweithas bywyd; ond ar ol y cwbl, pa ymddibyniad a ellir ei osod ar yr hynawsedd hwnw o'i eiddo, yr hwn sydd yn tori bara i'r newynog, ac yn dilladu y noeth, ac eto a aberthai i eilunod llëenyddol, neu i rywbeth gwaeth, pa beth bynag a ddichon gynal mewn profedigaeth a chysuro yn angeu? Efe a all gydymdeimlo â mi yn fy nghyfyngder, a son wrthyf am anfarwoldeb; ond y mae ei ddychymygion wedi taenu trueni dros fy nghalon, yr hwn nas gall un iaith o'i eiddo ei wasgaru, a'r hwn sydd yn gwneuthur i'w eiriau tyneraf swnio yn fy nghlustiau fel geiriau gwatwargerdd a dirmyg. Y mae efe wedi fy nyfetha, ac nis gall fy nyddanu, nis gall fy nghysuro. Ar ei gais ef mi a wadais y Gwaredwr hwnw yn yr hwn yr oeddwn unwaith yn ymddiried, ac yn ddedwydd; a gyrais ymaith y Dyddanydd hwnw, yr hwn unwaith a drigai gyda mi, ac a drigasai gyda mi fel Dyddanydd am byth. Ac y mae ef yn awr yn tosturio wrthyf!—fel pe gallai ei leisiau tosturiol swyno ymaith ing fy mynwes, a gwneyd i mi anghofio mai efe ei hun a'i planodd yno, ac a'i planodd mor ddwfn, ac a'i maethodd mor dda, fel nad oes dim ond gallu y Duw hwnw ag y gwadais ei allu, yn abl i'w ddwyn ef allan! Ië, ar ol iddo ddystrywio fy nghrediniaeth yn Rhagluniaeth arolygawl Duw—ar ol iddo ddysgu i mi nad yw yr olwg ar gyflwr ar ol hwn ond adeilad ddi-sail gweledigaeth—ar ol iddo fagu a meithrin ynof ddirmyg ar y gyfrol sanctaidd, yr hon yn unig sydd yn taflu goleuni ar y byd tywyll hwn—ar ol iddo fy nadlu i allan o'm ffydd trwy ei dwyll-resymau, neu fy chwerthin i allan o honi trwy ei wawdiaith—ar ol iddo fel hyn wasgu o'm henaid bob dyferyn o gysur, a sychu i fyny fy ysbryd ynof—ïe, ar ol iddo

gyflawni hyn yn nhymor fy iechyd a'm llwyddiant, efe a fynai ddyfod ataf tra yr wyf yn galaru, a'm trin fel hurtyn ynfyd yr hwn y gall gellwair ag ef, am iddo fy nyfetha; ac wrth yr hwn, yn helaethrwydd ei dosturi rhy ddiweddar a rhy ddifudd, y gall son am wirioneddau, y rhai nad yw efe ei hun yn eu credu, a'r rhai ag y bu efe yn hir yn fy nghynghori, ac o'r diwedd a'm darbwyllodd, i'w taflu ymaith fel breuddwydion a hudoliaethau dynol ynfydrwydd! Rhag y fath gysurwyr, boed i'r Nef fy nghadw! "Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt! fy ngogoniant, na fydd un â'u cynnulleidfa hwynt!"—*Dr. A. Thompson.*

Y MAE y casgliad o draethodau, y rhai yr ydym ni yn eu galw, oddiwrth eu rhagorolrwydd, yn Ysgrythyrau, yn cynnwys, yn annibynol ar ddwyfol wreiddyn, fwy o wir ardduniant, berffeithiach prydferthwch, burach moesoldeb, bwysicach hanesiaeth, a rhagorach rhediadau o farddoniaeth a ffraethineb, nag a ellid eu casglu, o fewn yr un cylch, oddiwrth yr holl lyfrau eraill a gyfansoddwyd erioed mewn unrhyw oes nac mewn unrhyw genedl. Y mae y ddwy ran, o'r rhai y mae yr Ysgrythyrau yn gynnwysedig, wedi eu cysylltu trwy newidiad cyfansoddiadau nad ydynt yn dwyn un tebygolrwydd, mewn ffurf na dull, i ddim a ellir ei ddwyn o drysorau dysgeidiaeth Groeg, yr Eidal, Persia, nac hyd yn nod Arabia. Nid oes neb yn amheu henafiaeth y cyfansoddiadau hyny; ac y mae y cymhwysiad anattaliedig o honynt at ddygwyddiadau yn hir ar ol eu cyhoeddiad hwynt, yn sail gadarn i gredu eu bod yn wir ragddywediadau, ac o ganlyniad yn ysbrydoledig.—*Syr William Jones.*

YR wyf yn deall nas gallaf wybod ond ychydig am hyd yn nod y byd o'm blaen, ac nis gallaf yn annibynol roddi un cam ynddo yn ddiogel; pa beth ynte a allaf ei wneuthur gyda golwg ar y byd nesaf heb fy Meibl? Yr wyf yn cael fy hun yn wir yn nghanol cyfundraith o ddwfn afreoleidd-

iwch moesol a chyfnewidiadau parhaus. Os gwrandawaf ar yr athronyddion, clywaf hwynt yn trawsgymhell deng mil o dybiau, y rhai ydynt yn tueddu yn unig i brofi y naill y llall yn ynfyd. Heblaw hyn, nid oes un o honynt yn cynnyg dim ag sydd yn cyfarfod â'm hachos i, a llawer llai yn ei esmwythâu ef. Un goleuni siriol yn unig sydd yn llewyrchu i'n tywyllwch moesol hwn. Y mae yn dangos i mi y gyfraith sanctaidd ag y dylwn ufuddhau iddi, ac yn mynegu fy ngwir weddnod fel troseddwr o'r bru. Yr wyf yn teimlo y dirywiad a'r gwendid hwnw yn fy natur ag y mae yn ei ddarlunio. Myfi a aethym ar gyfeiliorn fel dafad ar gyfrgoll, ac nid wyf yn teimlo iechyd ynof. Yn y fath gyflwr, a feiddiaf fi anturio fy enaid ar ddychymygion a thebygolrwydd? Unwaith, yn wir, gyrwyd fi i ymaflyd yn yr unig obaith a osodwyd o'm blaen yn yr efengyl, o angenrheidrwydd arglwyddaidd; ond wedi hyny yr wyf yn teimlo fy hun yn cael fy nwyn i'w gofleidio ef oblegid ei ragoroldeb. Os yw anfeidrol ddoethineb, sancteiddrwydd, gallu, a chariad, yn denu wrth benodi fy mhridwerth yn unig trwy Waredwr ar ei groes, na ato Duw i mi ymffrostio ond yn hono yn unig. Yno yr wyf yn gweled perffeithderau Duw yn cael eu cysoni, ei gyfraith yn cael ei mawrhau, a drwg pechod ei osgoi; yr wyf yn gweled gwerth yr enaid, gwagedd y byd, a rhadlonrwydd ac ardderchogrwydd yr efengyl.—*John Bacon.*

---

## CYNLLUN O BREGETH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. RICHARD LLOYD, BEAUMARIS.

**Iago iii. 6. "A'r tafod tân ydyw, byd o anghyfiawnder. Felly y mae y tafod wedi ei osod yn mhlith ein haelodau ni, fel y mae yn halogi yr holl gorff, ac yn gosod troell naturiaeth yn fflam; ac wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern."**

I. DARLUNIAD O DDRWG Y TAFOD MEWN AMRYW BETHAU.

1. Tafod *mud*;—mud am bethau crefyddol.

2. Tafod *daearol*, am y ddaear a'i phethau yr ymddiddana yn wastadol.

3. Tafod *prysur*, yn llawn ffrwst ac anmhwyllder, fel Dafydd, pan ddywedai yn ei ffrwst, &c.

4. Tafod *a fo yn barnu*. Mae hwn yn eistedd yn nghadair balchder, ac yn barnu eraill heb ei brofi ei hun.

5. Tafod *cableddus*;—Nid ddïanc duwioldeb rhag hwn. Ië bwriai hwn ei lysnafedd ffiaidd ar Grist ei hunan; y difeius a'r diniwed. Mae tafod y cablwr fel cleddyf dau finiog, yn archolli dau ar unwaith.

6. Tafod *aflan*. Oddiwrth y tafod y mae adnabod afiechyd dyn; felly y mae ymadroddion dynion yn dangos ansawdd eu calonau.

7. Tafod *celwyddog*. Mae y dyn celwyddog yn gâr agos i Satan, tad y celwydd; ac y mae yn fwy niweidiol na lleidr i gymdeithas o ddynion.

8. Tafod *gwenieithus*; megys Joab, yr hwn tra yn llefaru yn deg wrth Amasa, gan ei alw yn frawd, a'i tarawodd â'r cleddyf fel y bu efe farw.

II. Rheolau i wellau y tafod drwg.

1. Y ffordd i gael gwell tafod yw cael gwell calon.

2. Ail gofio drygau y tafod, fel llywydd y llong wedi taro ar graig a chael yn rhydd, yn cofio y fan y bu mewn perygl a'i ochel byth mwyach.

3. Gwylio yn ofalus ar y tafod; o ddiffyg hyn y mae llawer un yn dyweyd peth yn aml ag y mae yn cael gofid dwys o'i herwydd drachefn.

4. Gweddio ar Dduw am ffrwyno y tafod.

III. Rhesymau at wellau drwg y tafod.

1. Os bydd dy dafod yn cael ei ddrwg arfer, fe fydd dy grefydd yn ofer.

2. Ni chydsaif ymollyngiad y tafod â gwir ras; felly y mae tafod aflywodraethus yn arwydd lled sicr o galon wâg o wir ras.

3. Mae pechod y tafod yn halogi yn fawr; y mae tafod drwg yn rhoddi gwenwyn yn nghlust arall.

4. Rhaid rhoddi cyfrif i Dduw am eiriau fel am weithredoedd-iadau; ac am eiriau digyfrif y bydd cyfrif mawr.

"O Arglwydd gosod, rhag gair ffraeth,
Gadwraeth ar fy ngenau;
Rhag im' gam dd'wedyd cadw ddor
Ar gyfor fy ngwefusau."

---

## TRAITHAWD

### AR "Y MODDION GOREU I'W HARFERYD ER SICRHAU DEFNYDDIOLDEB IEUENCTYD CYMRY AMERICA I'W CENEDL EU HUNAIN."

[*Parhad o du dalen* 31.]

MODDION eraill, tebyg i gyrhaedd yr amcan dan sylw ydyw, sefydlu ysgolion cenedlaethol, i gyfranu addysg i'r genedl ieuangc yn eu hiaith. Y mae yr amddifadrwydd o honynt yn tueddu i greu rhagfarn yn y cyfrai at iaith eu mamau, trwy gael eu gorfodi i chwilio am wybodaeth trwy gyfrwng iaith arall; mae hyny yn eu dyeithrio i'w hiaith a'u cenedl eu hunain, ac yn peri iddynt feddwl nad oes fodd dyfod i adnabyddiaeth o'r celfyddydau a'r gwyddorau drwy, na bod drws i ddysgu ieithoedd eraill o'r Gymraeg; pryd mewn gwirionedd, y mae mor doraethog o ran ei defnyddiau, i ddiwallu yr efrydydd aiddgar, ag un iaith adnabyddus; ac yn llawer mwy naturiol i Gymro i gyrhaedd drychfeddwl deallus am natur y gangen o wybodaeth ag y byddo yn ymwneyd â hi. Tra y mae yn ddigon dofn a threiddgar i'r Daearegydd i chwilio crombil y ddaear, y mae hefyd ddigon uchel, a hedegog, i'r Seryddwr i esgyn hyd Gaergwydion, i dremio ar, a mesur y bydoedd wybrenol; a thra y mae yn ddigon naturiol, esmwyth, a hawdd i'r plentyn ei dysgu, y mae wed'yn yn ddigon cynwysfawr, darluniadol, a melys, i'r duwinydd, yr

athronydd, a'r bardd, i osod allan ffrwyth eu myfyrdodau, yn oleu, a deniadol, ac heb gymylu, na llyfetheirio, eu hathrylith. Gan hyny, ysgydwer y Cymry fel cenedl, i godi o blaid addysg, trwy sefydlu, a chyfranu at godi, athrofau, i roddi addysg i'r ieuenctyd yn rhad, y rhai hyny ag y sydd yn awyddus i'w chyrhaeddyd, ac yn analluog i wneyd hyny o ddiffyg moddion, nes y byddo gwybodaeth, a diwylliad y meddwl wedi myned yn werthfawr ac yn uchel yn ngolwg y werin; ac fel nad edrycher ar yr efrydydd llafurus, ac ymroddgar, fel hurtyn segur, fel ag y gwneir yn aml gan lawer un anwybodus, a chybyddlyd; ac fel hyn, ni a gawn râff deircainc, wedi ei phlethu, i rwymo ein hieuenctyd wrth eu cenedl: 1. Byddant wedi cyrhaedd eu dysg, a'u gwybodaeth, yn eu hiaith eu hunain, ac o ganlyniad bydd yr iaith hono yn fwy dewisol, a deheuig iddynt i'w llefaru, ac i addysgu eraill, nag yr un iaith arall. 2. Byddant yn ddyledus i'w cenedl eu hunain, am fanteision, a chyfryngau gwybodaeth. 3 Bydd maes llafur wedi ei agor o'u blaenau, a phris ar eu gwasanaeth, trwy fod syched wedi ei godi am wybodaeth yn y cyffredin, a galwad am rai i'w gwasanaethu, addysg wedi dyfod yn werth ei brynu, nes y mae sefyllfaoedd enillgar yn barod iddynt gartref yn mysg eu cenedl eu hunain.

Y moddion a enwn ydyw, Sefydlu llyfrgelloedd i'r genedl, mewn ardaloedd, yn cynwys cyfrolau buddiol ar wahanol gangenau gwybodaeth, yn eu hiaith, fel na fyddo ein hieuenctyd yn rhwym i fyned i ddiwallu eu hawydd darllenyddol at genedl ac iaith arall. Deffroer, a darbwyller, ein cenedl o'r angen am y sefydliadau uchod, yma a thraw yn gysylltiedig ag eglwysydd, ac ysgolion fel ffynonau iachusol, a gloewon, i'r ymofynydd sychedig am wybodaeth i yfed yn hamddenol o honynt. Paham na byddai darllen Newton, Bacon, a Kant, o fewn i gyrhaedd ein hieuenctyd? fel na fyddo raid iddynt dreulio haner eu hoes, a gwario gwaddol da, i gael mynedfa i'r cangenau hyn o wybodaeth, o ddiffyg eu cael yn

yr iaith a ddeallont; pe amgen, gallasent fod yn mwynhau y wybodaeth, tra y buont yn digaregu y ffordd ati. A byddai y llyfrgelloedd yn foddion gwerthfawr, i agoryd meddwl a deall y dosbarth ieuanc, ac i osod eu traed ar ben y ffordd i foes, a rhinwedd; a buan y gwelid y dylanwad, wedi disgyn oddiwrth gymdeithasoedd i deuluoedd; pan unwaith y profid y bydd, a'r hyfrydwch, a ddeilliai o'r fath sefydliadau, ni foddlonai y gwybodus, a'r ymofyngar, heb lyfrgell yn ei dŷ; ac ni welid teiau y Cymry mwy, fel ag y maent yn fynych heb werth pum *dolar* o lyfrau buddiol, i wella moesau, a diwyllio y galon, o'u mewn, tra y mae digonedd o bethau wedi eu darparu ar gyfer angenrheidiau y corff, ac er myned ag amgylchiadau bydol yn y blaen. O! fel y derchafid y genedl i fri ac enwogrwydd, fe fyddai gwerth ar addysg, a rhinwedd, a byddai cyfryngau gwybodaeth gymaint yn ein mysg ag un genedl arall, ac nis gallai y Cymro adael ei iaith, a'i genedl, ond ar ei golled; a'r canlyniad a fyddai, *sicrhau ei ddefnyddioldeb i'w genedl ei hun.*

Peth arall, ag y dymunem alw sylw ein cenedl ato, yw, ymdrechu cael diwygiad cyffredinol yn ein mysg, mewn ymarferiadau, dulliau, a moesau; rhaid cyfaddef fod cenedl y Cymry, fel llawer o genedloedd Ewrop, yn mhell iawn yn ol i'r Americaniaid yn y pethau a enwyd, ac nis gallwn roddi gwell cyfrif am hyny, na yr amddifadrwydd yn eu mysg o'r manteision a soniwyd, sef, diffyg ysgolion, a llyfrau buddiol, yn eu hiaith i gychwyn yr ieuenctyd, ar ffyrdd moesoldeb, a rhinwedd, i ddiwyllio y meddwl, ac yn gyfryngau gwybodaeth iddynt wedi cyrhaedd oedran aeddfed. Y mae amrai o bethau a ellir enwi, ag y mae ein cenedl yn dra diffygiol ynddynt, ac yr ydym yn teimlo wrth eu henwi, mai pethau a ddylid eu dysgu i blant ydynt, ond gan nad ydyw y peth wedi bod ddigon pwysig, ar feddyliau y Cymry yn gyffredin, a bod y ddyledswydd wedi cael ei hesgeuluso i'r fath raddau yn ei hamser, gan y genedl, nid yw eto yn rhŷ hwyr i ddiwygio;

crybwyllwn rai o'r pethau ag y byddai yn dda ein bod hebddynt: 1. Ystumiau corfforol anweddus; y mae agwedd swrth llawer gwraig, yn eistedd yn ei chadair, yn ddigon weithiau, i beri i un droi ei olygon ymaith; ac y mae dull llawer gwr, yn dyfod o'i ystafell wely, i fysg y teulu, ar droion yn ddigon gwneyd i arall ostwng ei ben, gan ei ddull aflêr ar haner ymddilladu. Er mor chwithig yr ymddengys yr ymddygiad i eraill, wedi agor eu llygaid yn lletach mewn cymdeithas, y maent hwy wedi cyd-dyfu â'r arferiad, nes y mae y tueddiad wedi myned mor gryf, na welant ei wrthuni onid rhinwedd. 2. Geiriau anweddus, a thaeogaidd, sydd mewn arferiad, nid ydym yn meddwl yr ymddyddanion, anniwair, ac aflan, ag sydd gan y dosbarth iselaf mewn cymdeithas; ond y mae llawer dyn o gymeriad da a rhinweddol yn aml yn dygwydd gwneyd sylw mor fasaidd, mewn cynnulliad o ddynion, nes taflu diflasdod dros yr holl gyfeillach, i'r diwylledig a'r mwy gwybodus, a llawer gair yn dyferu o enau gwraig yn ei theulu, ac wrth fwrdd ciniaw, a wnai i un fwy coethedig ei chwaeth wridio. 3. Wrth ymresymu ar unrhyw fater, dangosir yr anfoesgarwch mwyaf, a'r anwybodaeth truenusaf; pan fyddo peth o bwys ar y bwrdd yn cael ei drin, ceir glywed un yn siarad ar draws y llall, fel pe na fyddai sylw y cyntaf yn werth sylw neb arall, neu fel pe byddai y gwyddfodolion, yn alluog i wrando y ddau ar unwaith; a phan fyddo sylw yn cael ei gyfeirio at un yn bersonol, yn ofynol, neu hysbysol, ceir clywed hwnw yn ateb, cyn y byddo y cyntaf wedi haner egluro ei bwnc, ac afreidiol dywedyd, y bydd yr atebiad yn hollol anmherthynasol; bryd arall, pan byddo un ond dechreu adrodd unrhyw hanesyn, dyna y llall a'i ofyniad; a phe buasai yr olaf ond aros ychydig, i'r cyntaf orphen ei sylw, buasai ei ofyniad wedi ei ateb; ac o ganlyniad yn afreidiol; a phan y byddo y rhai hyn, yn ymgymeryd ag ymresymu eu hunain, neidiant o un peth i'r llall, gyda dechreu un chwedl, byddant yn nghanol un peth arall; ac fel

hyn, y cadwant y gyfeillach yn un Babel gymysgedig, ac anorphenol, nes bydd y pwyllog, meddylgar, a boneddigaidd, yn gorfod ymneillduo mewn anhyfrydwch siomedig.

Yn awr, meddylier am ein gwyr ieuainc wedi dychwelyd o'r ysgolion, a derbyn addysg gymwys, i droi yn nghylch uchaf, a mwyaf diwylledig cymdeithas a meddwl ymgymysgu eilwaith a'r arferion a'r dulliau uchod, oni raid eu bod yn hollol wrthwynebol iddynt, ac yn anogaeth gref iddynt fwrw eu coelbrenau yn mysg cenedl a fyddo yn fwy unol a'r hyn sydd foneddigaidd a rhinweddol. Gan hyny prysured y Cymry i ymlanhau oddiwrth y brychau a soniwyd, a llawer o'r fath nes dyfod yn genedl foneddigaidd, hawddgar, a da, ac yn gydradd os nad uwch (fel ag y caniata ei manteision crefyddol iddi) ar un o genedloedd y ddaear, mewn dull, arwedd, a moes, ac felly yn uchaf yn meddyliau a serchiadau ei hieuenctyd, ac felly y sicrha eu *defnyddioldeb* iddi ei hun.

Mae peth arall, na ddylid ei ollwng yn ddisylw, ag sydd yn gadael y Cymry yn is fel cenedl na eu cymydogion; sef yr esgeulusdod, a ddangosir yn nygiad i fyny y rhyw fenywaidd; gellid meddwl fod rhyw ddyferyn o waed Indiaidd yn eu gwythienau yn y peth hwn, sef go sod y baich ar gefn y wraig, tra y mae y dyn yn ymddifyru efo ei fwa saeth. Dywedir fod trigolion presenol yr Aipht, y rhai yn ol eu crefydd a gredant nad oes eneidiau gan eu gwragedd, yn eu cadw mewn math o unigedd trwy eu bywyd; ac i raddau, y gellir dywedyd, y mae yn ein mysg ninau, o barth dysg, a gwybodaeth; beth yw yr achos fod cynnifer o'n merched bron yn anllythyrenol? onid y meddwl crebachlyd, sydd yn ein mysg nad oes angen dysg ar ein genethod, os gallant ddarllen yn weddol, ac ysgrifenu eu henwau, bydd yn llawn ddigon i ferch. Byddai dysgu Rhifyddiaeth, neu Ramadeg iddynt yn ddylni o'r mwyaf yn ngholwg llawer. Os oedd angen am y gwrol, a'r gwladgarol, *Ieuan Gwynedd*, yn Nghymru, i ddwyn Gwen o ddigaregu y maes, i ddysgu yn fanylach or-

chwylion y tŷ; ac i alw Hannah oddiwrth y fforch o'r domen, at y nodwydd ddur i'r ystafell, y mae hefyd ar y Cymry yn America angen am rai o gyffelyb ysbryd, i sefyll dros ein rhianod, am fwy o fanteision gwybodaeth gyffredinol, yn ymarferiad y llaw a diwylliant y meddwl, yn hanesion gwareiddiol, diwylliad, a gwybodaeth, trigolion pob gwlad. Gesyd yr ysgrifenwyr, yn mha safon y bydd y gwragedd yn cael eu cydnabod, fel y peth blaenaf o blaid, neu yn erbyn y cyfrai. Edliwiai Napoleon Buonaparte, i un Mrs. Abel, boneddiges o Loegr, tra yn garcharor yn St. Helena, ragoriaeth gwragedd Ffrainc ar yr eiddo Lloegr. Ac o herwydd fod y rhyw fenywaidd, yn ein mysg ninau, ar ol, ac eraill wedi eu cyflawni yn fwy mewn dysg, a'u rhadloni yn fwy mewn moesau, ac arweddau; ffurfir yn aml, gan ein gwyr ieuainc, gysylltiadau priodasol, a rhai o genedl arall; ac felly eu colli o fysg eu cenedl eu hunain. Am hyny, yr ydym yn gosod, mwy o sylw am fanteision dysgedigaeth i'n rhianod, i lawr fel *moddion i sicrhau defnyddioldeb ein gwyr ieuainc i'w cenedl eu hunain.*

[*I'w barhau.*]

---

## YSBRYD GWEDDI YR ARGLWYDD.

MAE ffurf y deisyfiad yn anadlu'r
*Ysbryd mabaidd*—"Tad."
*Ysbryd cyffredinol*—"Ein Tad."
*Ysbryd parchus*—"Sancteiddier dy enw."
*Ysbryd cenadol*—"Deued y deyrnas."
*Ysbryd gostyngedig*—"Bydded dy ewyllys ar y ddaear."
*Ysbryd ymddibynol*—"Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol."
*Ysbryd maddeuol*—"Maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninau i'n dyledwyr."
*Ysbryd gochelgar*—"Nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg."
*Ysbryd ymddiriedawl a pharchus*—"Canys eiddot ti yw y deyrnas, a'r gallu, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. Amen."

## AM GANU MAWL.

GOFYNIAD. A ydyw canu mawl i Dduw yn addoliad eglwysig?

ATEBIAD. Ydyw; canys yn 1. Yr oedd y duwiolion yn mhrif oesoedd y byd yn dadgan eu diolchgarwch mewn caniadau duwiol. Exod. xv. Barn. v.

2. Yr oedd canu mawl i Dduw yn rhan o'r addoliad dan yr hen oruchwyliaeth. 2 Cron. xxiii. 28. 1 Cron. xxv. 7. Salm c. 2.

3. Mae yn eglur fod canu mawl yr un modd yn cael ei arferyd yn yr eglwys dan y Testament Newydd. 1 Cor. xiv. 15.

G. Pwy a ddylai fod gwrthddrych, a pha beth a ddylai fod cynnwysiad caniadau eglwysig?

A. Duw; a hyny yn 1. O herwydd ei briodoliaethau gogoneddus. 2 Cron. xx. 21. Salm xxi. 13; a cxxxvi. 6.

2. Ei farnedigaethau ar ei elynion. Exod. xv. 21. Salm ci. 1.

3. O herwydd ei waredigaethau i'w bobl, yn nghyda phob bendithion tymhorol. Salm cxxxvi. 23, 24; a cxvi. 2; a ciii. 4.

4. Yn benaf oblegid ei iachawdwriaeth yn Nghrist. Salm ciii. 2, 3. Dat. i. 5, 6.

G. Pwy a ddylai ganu mawl i Dduw?

A. Pawb. Salm lxviii. 32; a c. 1.

G. A ddylai fod mawl yn yr eglwys bob amser?

A Dylai. Salm lxviii, 1. Mat. xxvi. 30.

G. Pa fodd y dylid canu mawl?

A. 1. Yn ddeallus, â'r Ysbryd, ac â'r holl galon. Cor. xiv. 15. Salm ci. 1.

2. Mewn trefn. 1 Cor. xv. 40.

G. A ydyw yn bechadurus ac yn warthus peidio moliannu Duw?

A. Ydyw yn ddiamheu. Yn 1. Mae yn annuwiol, oblegid mae y duwiolion yn mhob oes yn nodedig am foli Duw. Salm lxix. 30. Act. xvi. 25.

2. Mae yn gwadu y rhwymau sydd arnom, fel creaduriaid, i Dduw, a'n hymddibyniad arno am bob peth. Diar. iii. 6. Salm lxvii. 5, 6.

3. Mae yn dangos nad yr Arglwydd yw Duw y cyfryw, oblegid pawb a folant eu duwiau. Dan. v. 4. Barn. xvi. 28. Mica iv. 5.

4. Mae yn anmharch ar rhan hono o ddwyfol addoliad, yn mha un y gall pawb roddi arwydd gweledig o'u hyfrydwch yn ngwasanaeth Duw. 2 Sam. vi. 16, 23. Salm cxxii. 1; a l. 23.

5. Mae yn ddirmyg ar un o brif bethau iachawdwrlaeth, sef, ei *gorfoledd*. Salm li. 18. Rhuf. v. 2.

6. Mae yn ddiystyrwch ar y peth hyny yn ngwasanaeth yr eglwys ar y ddaear, ag sydd yn debygaf i addoliad y nefoedd. Dat. xiv. 3; a xv. 3. R. E. *Idloes*.

## CARIAD AT GARTREF.

LLEFARWYD Y BRAWDDEGAU ARDDERCHOG A GANLYN GAN DANIEL WEBSTER.

NID oes ond y meddwl bâs, ffuantus yn unig a wna unrhyw ragoriaeth henafol, neu darddiadol yn deilyngdod personol; neu ynte darddiad isel ac anhynod yn fater o waradwydd personol. Y dyn nad oes achos iddo gywilyddio o'i herwydd ei hun, nid rhaid iddo gywilyddio o'i sefyllfa foreuol. Dygwyddodd i mi gael fy ngeni mewn caban cyffion (*log cabin*), a godwyd yn mhlith lluwchfeydd eira New Hampshire, mewn cyfnod boreuol; fel pan dderchafodd y mwg cyntaf o'i simnai drosgl, ac y dolenodd dros y bryniau rhewedig; pryd nad oedd tystiolaeth gyffelyb o breswylfod y dyn gwyn rhyngddo a'r sefydliad ar lanau afonydd Canada. Y mae yn aros eto mewn bod. Byddaf yn gwneuthur ymweliad blynyddol âg ef. Byddaf yn cario fy mhlant yno, ac yn eu dysgu hwy pa fath lafur a chaledi yr aeth y genedlaeth oedd o'u blaen hwy trwyddynt. Byddaf yn caru ymaros ar y coffadwriaethau tyner, y rhwymau perthynasol, y serch boreuol, a'r hanes a'r damweiniau yn gymysg, a'r oll ag a wn am y drigfan deuluaidd gyntefig hon. Byddaf yn wylo wrth feddwl nad oes neb o'r rhai a'i preswylient, yn bresenol yn mhlith y byw; ac os byth y pallaf mewn serch ac anrhydedd iddo ef yr hwn a'i cyfododd, ac a'i hamddiffynodd rhag trais a dinystr anwariaid, ac a feithrinodd bob cysuron teuluaidd o dan ei gronglwyd, trwy dân a gwaed saith mlynedd o ryfel chwyldroawl, ac ni ildiodd oddiwrth unrhyw lafur nac aberth i wasanaethu ei wlad, ac i gyfodi ei blant i sefyllfa well na'r eiddo ei hun; yna bydded i'm henw i ac enw fy hiliogaeth gael eu dileu o fod mewn coffadwriaeth gan ddynolryw.

*Cyf. gan* Ap Nicolas.

## MYNYDAU SEGUR.

DAETH bachgen bychan, tenau a chwithig yr olwg arno, un boreu at ddrws penaeth ysgol glodfawr, ac yn ymofyn am ei weled. Y forwyn yn canfod ei ddillad bratiog, ac yn meddwl ei fod yn edrych yn fwy tebyg i gardotyn na dim arall a ddywedodd wrtho am fyned i ddrws y gegin. Y bachgen a wnaeth yr hyn a orchymynwyd iddo, ac yn fuan a ymddangosodd wrth ddrws y cefn.

"Mi garwn weled Mr. ———," meddai.

"Mae arnoch eisiau eich boreufwyd yn fwy tebyg genyf," atebai y forwyn, "ac mi allaf ei roddi i chwi heb roddi un trafferth iddo ef."

"Diolch i chwi," meddai y bachgen, "nid oes genyf un gwyrthwynebiad i damaid o fara; ond fe garwn weled Mr. ———, os gall ef fy ngweled i.

"Rhyw hen ddillad yr ydych yn geisio hwyrach," meddai y forwyn eto, gan edrych ar ei lodrau clytiog, "yr wyf yn meddwl nas gall hebgor dim; y mae yn rhoddi cymanit i ffordd." Ac er y cwbl, hi a aeth ymaith at ei gwaith heb roddi dim gwellâd ar ddymuniad y bachgen.

"A allaf fi weled Mr. ———," eto gofynai y bachgen, ar ol bwyta ei fara ac ymenyn.

"Wel, y mae ef yn ei lyfrgell: os oes raid ei aflonyddu, mae yn rhaid; ond, y mae yn caru bod wrtho ei hun rai gweithiau," meddai y ferch mewn iaith tra digofus, gan feddwl fod caniatâu i'r fath un mor ddrwg yr olwg a hwnw i fyned i bresenoldeb ei meistr, yn ffolineb o'r mwyaf. Er hyny, hi a sychodd ei dwylaw ac a orchymynodd iddo ei chanlyn, hi a agorodd ddrws y llyfrgell, ac a ddywedodd, "Dyma ryw un, Syr, yr hwn sydd yn bryderus echryslon am eich gweled; mi a'i gollyngais i mewn."

Nid wyf yn gwybod pa fodd y darfu iddo dryddwyn (*introduce*) ei hun, neu pa fodd y darfu iddo agor ei achos; ond wedi iddo siarad am enyd, y penaeth a daflodd o'r neilldu y gyfrol oedd ganddo yn ei fyfyrio, ac a gymerodd ato ryw lyfrau Groeg, ac a ddechreuodd holi yr ymwclyddd dyeithr. Fe barhaodd y profi am hir amser; phob gofyniad a ofynai y penaeth, y bachgen a'i hatebai mor fuan ag oedd yn ddichonadwy. "Ar fy ngair i," dywedai y penaeth, "yr ydych yn gwneyd yn dda," gan edrych dros ei wydrau ar y bach-

gen o'i ben i'w draed. "Beth! fy machgen yn *mha le* y darfu i chwi bigo can gymaint?"

"*Yn fy mynydau segur*," oedd yr ateb. Dyma lle yr oedd yn dlawd, ac yn gweithio yn galed, heb ond ychydig o gyfleusderau i gael ysgol, ac eto bron yn addas i'r Coleg, wrth yn unig wneyd defnydd o'i *fynydau segur*. Gwir, onid yw ein mynydau segur yn "lwch aur o'r amser?" Pa mor werthfawr y dylent fod! Ac eto, pa fodd yr ydym yn dueddol o'u treulio? Pa gyfrif a ellwch roddi o'ch mynydau segur? Beth a ellwch ddangos am danynt? Edrychwch. Fe allasai y bachgen hwn ddyweyd wrthych pa faint, ïe, pa gymaint a ellir drysori, wrth ei ddefnyddio yn gall, ac y mae llawer, ïe *llawer* o fechgyn, yr ydwyf yn ofni, yn y carchar, yn nhŷ cosbedigaeth (*house of correction*), yn mhen blaenaf y môrfil-long, yn nhŷ yr hap-chwareu, neu yn nhŷ y ddioden, pa rai pe gallech gael cyfle i ofyn iddynt, pa bryd y darfu iddynt ddechreu eu gyrfa bechadurus, y gallent ateb, "Yn fy *mynydau segur*." "Yn fy mynydau segur y darfu i mi hap-chwareu am *farbles* gyntaf." "Yn fy mynydau segur y dechreuais fygu ac yfed." "Yn fy mynydau segur y dechreuais ladrata cnau oddiar *stand* yr hen wraig." "Ac yn fy mynydau segur y dechreuais gadw cymdeithas ddrwg."

Oh! byddwch ofalus pa fodd yr ydych yn treulio eich mynydau segur! Mae y demtasiwn bob amser yn eich gwylied ar adegau fel hyn, pan na fyddoch yn brysur; y mae yn myned i'ch calonau, os gall, yn y cyfryw adegau. Dyma lle y bydd yn cuddio ei hun i dori allan bob math o ddrygioni. Byddwch ofalus o'ch mynydau segur.

*Pottsville, Ion.* 21, 1858. *Cyf. gan* J. L.

---

## YR EILUN JUGGERNAUT.

PWY na chlywodd am yr anghenfil hwn? ychydig beth bynag, a glywodd am ei ddull tywysogaiddd o fyw. Mae y "sefydliad" sydd yn gysylltiedig â theml fawr Juggernaut yn yr India, yn fawreddog iawn. Mae yn cynnwys 36 o wahanol swyddau, a rhai o'r rhai hyny wedi eu dadranu i amryw yn ychwaneg.

Mae tua 640 o bersonau yn ofynol i lenwi y trefniadau *perthynol iddo*, ac ychydig o'r cyfryw ydynt a ganlyn: yr un

ag sydd yn rhoi Juggernaut yn y gwely, yr un ag sydd yn ei ddeffro, yr un ag sydd yn rhoi iddo ddwfr a daint-lanhawr, y paentiwr ag sydd yn paentio ei lygaid, a swyddog i roi *rice* iddo, ac un arall i roi *pan* iddo, un i olchi ei lieiniau, un i gyfrif ei wisgoedd, un i gario ei wlawlen (*umbrella*), ac un i ddyweyd wrtho, eiriau yr addewid. Heblaw y rhai hyn, mae ganddo 4,000 o gogesau, a 120 o ferched i ddawnsio, ac 8,000 o offeiriaid, a llawer o'r rhai hyn yn gyfoethog iawn. Mae hyn oll yn cael ei wneyd i foncyff o bren dideimlad, yr hwn a addefir gan baganiaid tlodion fel eu duw.

## PREN HYNOD.

MAE pren rhyfedd yn tyfu yn nghoedwigoedd Brazil. Am amryw fisoedd yn y flwyddyn, pan nad oes dim gwlaw yn disgyn, a phan y mae ei gangenau yn feirw, ac wedi sychu i fynu, os tyllir ei fonyn, ffrydia math o laeth melys ac iachusol allan o hono. Mae y ffrydiad yn fwy helaeth, pan y mae yr haul yn codi, *nac un amser arall.* Pryd hyny y bydd y brodorion yn ymgasglu o amgylch, i'w dderbyn ef yn eu padellau, a bydd rhai yn yfed yn helaeth o hono o dan y pren, ac eraill yn ei gario adref i'w plant. Y mae yn rhagorol mewn te a choffi. Fel hyn, mewn ffyrdd nad ydym ni yn meddwl am danynt y mae Duw yn gweinyddu o'i haelioni i ddynion.

## Y FFORDD I DDYSGU PLENTYN.

MAE cariad yn well nac ofn, arafwch na churo, i ddwyn plentyn i fyny yn iawn mewn dysg. Yr wyf yn sicrhau i chwi, nad oes y fath hogfaen i awchlymu synwyr da, a chefnogi ewyllys i ddysgu, ag ydyw canmoliaeth.

ROGER ASCHAM.

## Y GORPHENOL A'R PRESENOL.

NA fesurwch amser wrth obeithion a mwyniant y byd hwn, ond wrth y darpariadau a wneir tuag at y nesaf; edrychwch yn mlaen at yr hyn a fyddwch, yn hytrach nac yn ol at yr hyn a fuoch.

## Y BEIBL.

At ddyn i'w ddwfn drueni caed
Ewyllys Duw o lys y nef;
Y Dwyfol rôl mewn argraff waed,
I'r byd i gyd agorwyd ef.

Mae'n hwn ryddhad i'r euog caeth,
A theyrnas ëang i'r tylawd:
I'w prynu'n rhodd Mab Duw a ddaeth
I fyw a marw yn y cnawd.

Y newydd taened Seion wiw,
Nes cyraedd conglau pella'r llawr,
A dyfod dynion o bob lliw,
I feddiant o'u gwaddoliaeth fawr.

Holl donau'r môr, awelon nef,
Agerddol dân, a daear fras,
Cydunant yn gymdeithas gref
I dd'weyd i bawb am olud gras.

Eos Glan Twrch.

---

## BEDDARGRAFF

EDWARD R., MABAN RICHARD R. A CHATHERINE ROBERTS, FLOYD, C. N.

Ei Brynwr byw, ryw enyd,
Daw hwn; nid oeda o hyd,
A'i blentyn a fyn Efe,
A'i bereiddlais o'i briddle,
I fydd engyl, i'w ddangos—
Am ddydd hir newidir nos.

Eos Glan Twrch.

---

## YR "ARWEINYDD."

"Arweinydd" newydd i ni—a gafwyd,
Mae'n gyfiawn ei berchi;
A doniol i'w rëoli
Mae'r addas Barch. Thomas T.

*Floyd.* Ap Morydd.

# NODIADAU DETHOLEDIG.

## YR YSGRYTHYRAU.

YR wyf yn defnyddio yr ysgrythyrau, nid fel arfdy, i droi yno yn unig am arfau ac offerynau i amddiffyn y blaid hon neu y llall, neu i orchfygu ei elynion; ond fel teml ddigymhar, lle yr wyf yn ymhyfrydu bod, i fyfyrio ar bryd-ferthwch, cymesuredd, a mawrfrydigrwydd yr adeilad, ac i gynyddu fy ofn duwiol, ac i gyffroi fy nyhewyd i'r Duwdod a bregethir ac a fawrygir yno!—*Anrhyd. Robert Boyle.*

Y BEIBL yw y nef wedi ei hadysgrifenu, cynllun têg o ogoniant wedi ei dynu i fywyd dynol, tragywyddoldeb wedi ei dalfyru, Jehofa wedi ei gyfyngu, anfeidroldeb wedi ei fyrhau i rychwant, anweledigrwydd wedi ei amlygu, fel y gallwyf fi ddarllen dwyfol berffeithrwydd. Mawryger Cyfranwr y rhodd ddirfawr hon! Yr wybren serenog a'r byd anhydrin hwn a suddant yn un adfail cymysglyd a chyffredinol; ond hwn a saif yn dragywydd yr un; efe a saif yn ogyfoed a gorsedd a blynyddoedd Jehofa.—*Dr. Hunter.*

GALLWN trwy yr ysgrythyrau ddeall yn ddiogel pa beth oedd tragywyddol fwriad Duw gyda golwg ar y ffordd i adferyd dyn trwy farwolaeth ei Fab. Gallwn yno weled a deall mawr ddoethineb Duw, nid yn unig yn nghynlluniad a threfniad y byd, ond yn y graddol ddatguddiadau o hono ei hun i'w bobl; trwy ba gamrau y dygodd efe ei eglwys i fyny hyd oni ddaeth cyflawnder yr amser; pa beth oedd ei amcan wrth roddi y fath lwyth o seremonïau ar ei bobl yr Iuddewon; trwy ba gamrau a graddau y gwnaeth efe ffordd i'r llawn ddatguddiad o'i ewyllys i'r byd trwy lefaru yn y dyddiau diweddaf hyn wrthym ni trwy ei Fab, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt wrth y tadau trwy y prophwydi.

Yn yr ysgrythyrau nyni a ddarllenwn am y dadleniadau mwyaf cyfoethog a rhyfeddol o ddwyfol ddaioni, ac am yr holl ffyrdd a'r drefn a arferir ganddo i ddenu pechaduriaid ato ei hun; gyda pha fawredd y mae yn gorchymyn, gyda pha ymostyngiad y mae yn deisyf, gyda pha daerineb y mae yn atolygu ar i eneidiau dynion ddyfod i gymod âg ef; gyda pha hoffedd y mae yn cofleidio; gyda pha dynerwch y mae yn ceryddu; gyda pha fath ymysgaroedd y mae yn tosturio wrth y rhai a'i dewisasant ef i fod yn Dduw iddynt; gyda pha allu y mae yn cynal, gyda pha ddoethineb y mae yn cyfarwyddo, gyda pha gordial y mae yn adloni eneidiau y rhai a drallodir dan y teimlad o'i anfoddlonrwydd ef, ac eto ydynt â'u cariad yn gywir tuag ato! Dyma yr unig lyfrgell, pa un yw y wir wybodaeth, yr hon sydd yn iachâu yr enaid o'i holl ddoluriau a'i anhwylderau. Y mae gwybodaeth arall yn gwneuthur meddyliau dynion yn ansefydlog ac ofer; y mae hon yn eu sicrhau a'u tawelu hwynt. Y mae gwybodaeth arall yn dueddol i chwyddo dynion i dybiau a meddyliau uchel am danynt eu hunain; y mae hon yn eu dwyn hwynt i'r olwg gywiraf arnynt eu hunain; a thrwy hyny i ostyngeiddrwydd a sobrwydd. Y mae gwybodaeth arall yn gadael calonau dynion fel y mae yn eu cael hwynt; y mae hon yn eu cyfnewid ac yn eu gwneuthur yn well. Y mae ardderchogrwydd mor fawr yn y wybodaeth o Grist croeshoeliedig, uwchlaw y dychymygion mwyaf arddunawl yn y byd: ac onid yw hon yn fantais anmhrisiadwy ag yr ydym yn ei mwynhau trwy yr ysgrythyrau, ein bod ynddynt yn darllen ac yn ymddyddan â'r holl amlygiadau hyn o gariad a daioni Duw, a hyny yn ei iaith ef ei hun? A fydd i ni ryfeddu a chlodfori yr hyn ag yr ydym yn cyfarfod âg ef yn yr athronyddion paganaidd, yr hyn sydd hael a phrydferth? ac a beidiwn ni â mawrygu anfeidrol gyflawnder yr ysgrythyrau, y rhai ydynt yn rhedeg drosodd âg ymadroddion parhaus o'r fath ac o uwch natur? Y fath ynfydrwydd yw mawr-

ygu y gwartheg culion, tybiau yr athronyddion, a dibrisio y rhai tewion, helaethrwydd a chyflawnder yr ysgrythyrau? Os nad oes dadleniadau llawer mwy gwerthfawr a rhagorol o'r natur a'r perffeithderau dwyfol; os nad oes cyfarwyddiadau a rheolau ymarferiad llawer rhagorach yn yr ysgrythyrau sanctaidd, nag sydd yn y mwyaf arddunawl o'r holl athronyddion, yna boed i ni adael ein tywysenau llawnion, ac ymborthi ar y rhai teneuon.—*Esgob Stillingfleet.*

Y MAE blodau yr ardd a llysiau y maes yn meddu eu diofrydwyr diflino, yn croesi y cefnfor, yn ymdaith yn yr anialwch, ac yn gwneuthur pererindod dyhewydus i bob ardal o eiddo natur, am offrymau i'w noddawl dduw. Y creigiau, o'u trigfanau yn mysg y cymylau, hyd eu gorphwysfeydd dyfnion yn nhywyllion ymysgaroedd y ddaear, ydynt yn meddu offeiriaid tra ëofn ac anturiol; y rhai ydynt yn gweled yn eu gwynebau geirwon a challestrawl hwy ddelw fwy hyfrydlon i'w haddoli nag yn natguddiedig wynebpryd Duw!—*Parch. Edward Irving.*

---

## BRYN CALFARIA.

NID oes un lle dan dywyniad haul a chymaint o son am dano a'r bryn hwnw, am mai arno y gwnaed pethau ag y pregethir am danynt gyda hyfrydwch byth. Dywedir mai yma y claddwyd Adda ein tad ni oll; ond nid mor sicr hyn a bod yr ail Adda, yr Arglwydd o'r nef, wedi marw a'i gladdu yno, ac adgyfodi, a llyngcu angeu mewn buddugoliaeth, er mwyn i filoedd o ddynion marwol gael bywyd tragywyddol trwy ei angeu ef.

Er 1538 yn ol, gwnaeth ein cydwladyddes enwog (Ellen, merch Coel Godebog, brenin Prydain, gwraig Cystenyn, a mam Cystenyn Fawr, yr amherawdwr Cristionogol cyntaf) eglwys ardderchog, megys am ben y bryn rhyfedd hwn; yn 500

troedfedd o hyd, a 360 o led; yn cynnwys o'i mewn y lle y croesoeliwyd, ac y claddwyd Arglwydd y Bywyd. Gelwir hi "Eglwys y Bedd Sanctaidd." Y mae o'i mewn lawer o luniau heirdd (mewn brithfeini), o'r prophwydi a'r apostolion, Cystenyn ac Ellen, &c. Mae y bedd yn fath o gapel hardd; ond y man y gorweddodd yr Arglwydd heb newid dim arno. Mae yn yr eglwys ddeuddeg o fanau cysegredig, ac allor yn mhob un o honynt: sef, un lle gwawdiodd y milwyr ef, un lle rhanasant ei ddillad, un lle y cadwasant ef pan yn tori y twll i roddi y groes, un lle yr hoeliasant ef arni, un lle y cyfodwyd hi, un lle yr oedd y milwyr yn sefyll pan wânwyd ef, un lle yr eneiniwyd ei gorff cyn ei gladdu, un lle y gorweddodd, un lle yr ymddangosodd yr angel i'r gwragedd, ac un lle yr ymddangosodd i Mair Magdalen; a'r rhai hyn oll o fewn yr eglwys fawrwych a adeiladodd Ellen o gariad at ei Gwaredwr. A wyddoch chwi blant, y bydd yno gymanfa yn fuan na fu erioed ei bath; pan y bydd crwydriaid Israel yn dychwel adref o bedwar gwynt y nefoedd, a phlant y dorf fu'n llefain, "Ymaith ag ef, croeshoelier ef," yn bloeddio, "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni," &c., a'r weddi a ddaeth o enau y Cyfiawn cyn marw, "O Dad, maddeu iddynt," yn tywallt ei chynnwys i'w calonau, nes eu berwi o sêl am gyhoeddi ei enw yn Waredwr addas i'r penaf o bechaduriaid; a than ddylanwad ysbryd cenadaeth, a chariad Crist yn eu cymhell i'w bregethu, yn gryfach nag oedd gelyniaeth eu tadau i fynu ei groeshoelio.

Ar ddiwedd y gymanfa, gwelaf fwy nag ugain a chant yn eistedd yn gynnadledd, yn llanerch y croeshoelio. Clywaf y cadeirydd, yr hwn oedd hen Rabbi, ac archoffeiriad sêlog, wedi hir ddirmygu Iesu o Nazareth, ar ol iddo ymuniawni, a'i wallt gwynllaes yn ymdorchi ar ei ysgwyddau, a'i ddagrau gloewon yn treiglo ei ruddiau trwy ddylanwad ffydd, yn edrych ar y Gwr a wânwyd ar y bryn hwnw, er 1860 o flynyddau (neu ychydig yn ychwaneg), yn anerch y dorf â llais

treiddgar, toredig, "Pwy a â drosom, a phwy a anfonwn," i fynegi am rinweddau y Gwr a drengodd yn y man yma, a gladdwyd yn y fan acw, a gyfododd y trydydd dydd i gyfiawnhau Iuddewon a Chenedloedd, a glywant am dano, ac a gredant ynddo? Ar hyn clywid ugeiniau yn gwaeddi, "Wele fi, anfon fi." Amen, meddai yr holl dref, nes oedd eglwys fawr y bedd sanctaidd yn *sernial* drwyddi. Dybena y cwrdd trwy drefnu cwrdd am wythnos i ordeinio cenadau cymhwys at bob iaith; am y bydd yno wahanol ieithoedd cenedloedd y ddaear gan yr Iuddewon, wedi eu dysgu pan ar grwydr. Deuaf gyda chwi i'r cwrdd hwnw y tro nesaf gyda yr Arweinydd, a chanwn hyd hyny—

"Pen Calfaria,
Nag aed hwnw byth o'm côf."

*Rome.* T. W.

---

## TRAITHAWD

AR "Y MODDION GOREU I'W HARFERYD ER SICRHAU DEFNYDDIOLDEB IEUENCTYD CYMRY AMERICA I'W CENEDL EU HUNAIN."

[*Parhad o du dalen* 50.]

DIWYGIAD arall, ag y dymunem ei weled yn cymeryd lle, yn mysg ein cenedl; ac a fyddai yn debyg o ateb dyben daionus, er sicrhau defnyddioldeb ei hieuenctyd iddi, yw ymestyn at fwy o brydferthwch trefniadol, yn eu hymarferiadau crefyddol. Y mae y Cymry yn cael eu cydnabod yn genedl grefyddol er yn foreu; a chyda llawenydd, a gwylder, yr ydym yn gostyngedig gredu, fod cymaint o ysbryd gwir addoli yn ein cynnulliadau, ag un genedl arall; ond, y mae genym lawer o le i fanylu gyda ein ffurfiadau allanol, cyn dyfod i fyny a'n cyd-ddinasyddion Americanaidd. Y mae yn amheus genym, a ydyw tlodi y Cymry, yn ddigon

i'w cyfiawnhau dros ymddangosiad gwael, a salw eu haddoldai. Ofni yr ydym fod gan ddifaterwch, a chybydd-dod hefyd, eu rhan yn y peth. Ond nid â hyny y mae a wnelom yn awr, ond âg ymddygiadau annhrefnus ein cynnulleidfaoedd yn eu haddoldai. Mae y gwamalu, y llygad-rythu, y cellwair, a'r sisial yn mysg yr ieuenctyd yn warthus; mae agwedd ymollyngar y dynion, fel pe byddent yn herio cwsg, nes dyfod y gormesydd arnynt, a'u llwyr orchfygu yn eithaf anaddas. Mae trwst y plant yn cerdded, ac yn bwyta afalau, &c., yn afreidiol; ac y mae arfer y gwragedd o ddynoethi eu mynwesau, i roddi sugn i'w babanod, yn anweddus i'r lle. Byddai dda i'r Cymry fyned at y Pabyddion, i gael gwers ar y pen hwn. Ond, y mae ganddynt Air eu Duw, a chyngor syml yr Apostol. "Cedwch fy Sabbathau, a pherchwch fy nghysegr." "Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn." Byddwn yn rhyfeddu yn aml, na fyddai sêl y tŷ, yn ysu y gweinidog yn fwy wrth weled tŷ gweddi yn cael ei droi yn ogof annhrefn. Diau y gofynir hyn ar eu dwylaw hwy, a phenau teuluoedd; a meddwl yr ydym, fod llawer o'r achos, am na fyddai lle i deuluoedd efo eu gilydd ar wahân, yn yr addoliad; mae yr arfer ag y sydd, yn dangos yn chwithig. Pan fyddo teulu lluosog yn cyd-fyned i'r addoliad, wrth ddrws y tŷ y maent yn ymranu, ac fel yr afon hono yn Eden, yn myned yn bedwar pen: bydd y gwr yn un man, fe allai, a'i Amen, a'i ochenaid; a'r bachgen mewn man arall, a'i bwyntel, neu ei gyllell, yn llunio rhywbeth ar y meinciau. Dichon y bydd y wraig yn colli dagrau yn agos i'r areithfa; a'r eneth, yn chwerthin, ac yn min-gamu, yn mhen arall y tŷ. Oni fyddai yn well i Gymry America, efelychu yr eglwysi Cristionogol yn gyffredin, yn y manau y mae yr achos yn cael ei gynnal yn deilwng i'r efengyl; sef, rhentu yr eisteddleoedd i deuluoedd, ac eraill? Atebai hyn ddau ddyben daionus; dygai well trefn i'n haddoldai, a byddai yn gymhorth i godi y weinidogaeth i fwy o edmyg-

edd, ac urddas. Y mae dull y Cymry, yn y pethau uchod, yn sicr yn oeri yr ieuenctyd rhinweddol, achrefyddol, atynt, ac yn eu gyru i eglwysi lle y mae mwy a ddyfri allanol yn cael ei arferyd. Côf genym unwaith dderbyn llythyr oddiwrth ddyn ieuanc, wedi treulio ysbaid o amser yn Lloegr, a symud i dref ar odre Cymru, yn sylwi, mai at y Bedyddwyr Cymreig, y carai efe fyned i wrandaw y Sabbothau; ond, nad oedd un gynnulleidfa Gymreig yn y lle, fel y caffai dawelwch yn eu mysg i fwynhau yr addoliad; o ganlyniad, cymerodd eisteddle mewn addoliad Seisnig. Ni fu Cymro erioed yn fwy gwladgarol a chenedlgarol nag ef. Y mae ei enw heddyw yn uchel fel bardd, llenor, a phregethwr. Bellach, prysured ein cenedl i wellau yn y pethau a soniwyd, ac weithian, ei hieuenctyd a'i câr, ac a lynant wrthi, ac felly hi a sicrha eu *defnyddioldeb* iddi ei hun.

Y moddion olaf, a enwn, ond a ystyriwn yn flaenaf, ac yn fwyaf eu heffeithioldeb, i ddwyn yr amcan oddiamgylch, yw, magu a maethu yr ieuenctyd mewn crefydd a duwioldeb. Mae yn natur crefydd greu cariad ynddynt at eu rhieui, eu perthynasau, a'u cenedl, fel y mae yn natur pechod wylltio, a gwasgaru, felly y mae yn natur crefydd dawelu, ac ymlonyddu. Mae pleserau pechod yn gadael draen ac euogrwydd yn y gydwybod; ond y mae crefydd yn dwyn esmwythder, ac yn ei chanmol ei hun wrth bob cydwybod dyn. Mae pechod yn dwyn gwastraff, a gwastraff yn dwyn tlodi, amryson a gwarth; ond y mae crefydd yn dysgu diwydrwydd, a diwydrwydd yn dwyn llawnder, cysur, ac anrhydedd. Y fath felldith y mae pechod yn ei wneyd mewn teulu; o herwydd afradlonrwydd y bachgen, dymunai ei rieni yn fynych fod môr yn derfyn rhygnddynt ag ef; ond edrycher i'r teulu, lle y mae *crefydd* yn dylanwadu, y mae yn hollol wahanol; yr amser tywyllaf a welodd y teulu erioed oedd y diwrnod y gorfodwyd y bachgen hynaf gan amser ac amgylchiadau, wneyd ei sypyn i fyned i ddechreu

ei fywioliaeth oddicartref. Bydd dagrau cariad yn treiglo dros bob grudd; a pha le bynag y bydd llinyn yr ymadawedig yn disgyn, pa deced bynag fyddo ei etifeddiaeth, nid anghofia byth, gynghorion ei fam, na gweddiau ei dad. O pa faint o nifer o ieuenctyd ein cenedl, a ymlidiwyd ar grwydr gan ryw bechodau; un gan falchder oddiar dlodi; yr ail o herwydd cywilydd am ryw droseddau; a'r trydydd o euogrwydd o flaen yr awdurdodau gwladol; a'r pethau a enwyd fel cymylau tywyllion, a arosant rhyngddynt a'u cenedl. O'r ochr arall, gymaint y mae crefydd wedi wneyd i gylymu yr ieuenctyd wrth eu cenedl, a'u hiaith. Dyma eu Bethel, lle yr eneiniasant y golofn gyntaf, wrth ymgyflwyno i Dduw a'i bobl. Dyma lle y rhodiasant ffyrdd hyfrydwch, a llwybrau heddwch. Y maent fel plant Juda, yn Babilon, yn derchafu eu cenedl, eu crefydd, a chaniadau Seion yn eu hiaith, goruwch eu llawenydd penaf. Dywedir fod yr enwog Barch. T. Charles, wedi dychwelyd o'r ysgol, o Rydychain, yn hoffi myned hyd y caeau, ac efo y cloddiau, lle y bu yn myfyrio, ac yn ymdrechu â Duw, mewn gweddi, yn nechreu ei grefydd. Gan hyny, Gymry, os ydych am gymdeithas, a defnyddioldeb eich ieuenctyd; gwnewch eich goraf i'w hennill at grefydd Mab Duw; ac felly y rhwymwch hwynt â rhaffau cariad wrth eu cenedl eu hunain. Ychwanegwn, mai eu *crefydd* a gyfyd (yn benaf, os nad yn unig) y Cymry i enwogrwydd a dylanwad. Gan hyny, bydded i'w goleuni lewyrchu yn eu holl gylchoedd personol, a'u gwaed redeg, a dylanwadu, yn eu holl gysylltiadau cymdeithasol. Bydded y Cymry yn mlaenaf yn cychwyn mewn pob symudiad daionus, ac yn fwyaf ymdrechgar a phenderfynol i wrthsefyll pob pechod ac arferion llygredig. Os lledaenu yr Ysgrythyrau, os anfon cenadon i efengyleiddio y byd; bydded y Cymry y rhai mwyaf egniol yn ol eu rhif a'u gallu. Os attal meddwdod, a sobreiddio y byd; teimler eu pwys, a'u dylanwad. Os arfer eu hawliau fel dinasyddion; bydded

eu crefydd yn eu dysgu i bleidleisio o du rhyddid a chyfiawnder, ac yn erbyn trais a gormes caethiwed yn ei holl orthrwm a'i ysgelerder. Yn eu cyfarfodydd addysgiadol, a'u Heisteddfodau, bydded llygad eu llawforwyn, *Llenyddiaeth*, bob amser ar law ei meistres, *Crefydd.*

Terfynwn, gan ddymuno llwyddiant y genedl Gymreig yn America, i fyned rhagddi at bob rhinwedd, a gweithred dda; bydded iddi enau yn deall cam-flas, fel y gwrthodo y drwg, ac yr etholo y da. "Cyfiawnder a dderchafa genedl; ond cywilydd pobloedd yw eu pechod." Fel hyn y daw yn genedl hawddgar, a'i phobl yn bobl wynfydedig. A chredwn yn ddiysgog mai dyna "*Y moddion goreu i'w harferyd er sicrhau Defnyddioldeb Ieuenctyd Cymry America i'w cenedl eu hunain.*

J. Edwards (Eos Glan Twrch).

---

## YMDDYDDANION YR AELWYD.

### NOSON I.

TAD. Wrth glywed y gwynt yn rhuo ac yn lluwchio yr eira, allan yna heno, dylem deimlo yn ddiolchgar iawn i'r Arglwydd am gael bod yn y tŷ yma, wedi ein digoni â swper cysurus, ac heb arnom eisiau dim. John, dyro y ddau bren mwyaf yna ar y tân, a dowch i gyd, blant, eisteddwch o gylch y *stove* yma, gael i ni gael ychydig ymddyddan.

Y Fam. (*yn eistedd ac yn dechreu gwau hosan.*) Mi ewyllysiwn i heno gael siarad ychydig am y peth a ofynodd Robert i mi ddoe pan ddaeth o'r ysgol ganol dydd. Gad i ni glywed, Robert, beth oeddit yn geisio ofyn i mi ddoe.

Robert. Wel, wedi bod yn darllen adnod yn y Testament yr oeddwn i, sydd yn dyweyd—"Ni welodd neb Dduw erioed;" a meddwl gofyn yr oeddwn i, os na welodd neb Dduw erioed, sut y mae neb yn gwybod fod Duw?

TAD. Y mae gofyniad Robert yn un pwysig iawn, ac mi hoffwn yn fawr allu ei ateb a'i egluro fel y dealloch i gyd. A welwch chwi y darlun yna sydd ar y pared?

HENRY. Gwelwn; dacw lun Washington, a dacw lun llong, a llun eglwys.

TAD. A welsoch chwi rywun yn tynu y darlun yna?

WILLIAM. Naddo; yr oedd wedi ei wneyd cyn i ni erioed ei weled. Ryw hên ddyn tlawd oedd yn gwerthu rhai, a mam a brynodd hwna gan yr hên ddyn, wrth y drws yna yr wythnos ddiweddaf.

TAD. Wel, efallai mai mewn ystafell y gwnaed y darlun yna, ac nad oedd neb yn yr ystafell pan dynodd y dyn a'i gwnaeth y cynllun cyntaf o hono, heblaw y dyn ei hun; ond er na welsoch chwi y dyn yn ei wneyd, gwyddoch fod yn rhaid i rywun wneyd y darlun. Ni allasai y darlun wneyd ei hunan. Wel, wrth i ddynion edrych ar yr haul, a'r llöer, a'r sêr a'r ddaear, a'r môr, maent yn teimlo yn sicr y rhaid fod rhywun wedi gwneyd y cwbl, er na welsant hwynt yn cael eu gwneyd, mwy nag y gwelsoch chwithau y dyn yn gwneyd y darlun yna—ac felly maent yn sicr mai Duw a'i gwnaeth, canys ni allai neb arall eu gwneyd. Fe ŵyr pawb o honoch na allasai Carlo, y ci yma, byth wneyd *stove* fel hon. Ac y mae pawb o honom yr un mor sicr mai rhywun mwy nag a welodd neb a wnaeth y byd.

ROBERT. Mae yn dda iawn genyf fy mod wedi dygwydd gofyn hyna: ac mi hoffwn gael gofyn un peth arall.

MARY. Yr wyt ti wedi cael gofyn un peth heno, Robert, gad i ninau ofyn rhywbeth.

Y FAM. Wel Mary, beth sydd genyt ti i'w ofyn?

MARY. Yr oedd ein *class* ni yn yr ysgol heddyw yn darllen am Syr Isaac Newton, ei fod wedi dyfod i ddechreu myfyrio ar "*Law of gravitation*," wrth sylwi ar afal addfed yn cwympo ar y ddaear oddiar goeden. Nid oeddwn i yn deall dim beth ydi y "*Law of gravitation*" hwnw, ac nid oeddwn

yn gweled dim yn rhyfedd mewn cwympiad afal oddiar y goeden. Nhad; a welwch chwi yn dda egluro hyny i ni?

TAD. Ni ddylech chwi ddim cael eich gosod i ddarllen pethau felly, heb i'r athraw eu hegluro i chwi; ac fe ddylech chwithau ofyn fel yna am eglurhad ar bob peth a ddarllenoch, os byddwch yn methu ei ddeall.

Mae yn anhawdd, yn union, i chwi ddeall beth yw y "*Law*" yna; ond sylwch—mae rhyw duedd yn mhob peth i dynu pethau eraill atynt—a po mwyaf fyddo unrhyw beth, mwyaf oll fydd ei rym i dynu pethau llai ato; a dyna y *Law of Gravitation*, sêf y duedd yna sydd mewn pob peth i dynu pethau eraill atynt.

WILLIAM. Beth ydi "*law of gravitation*" yn Gymraeg?

TAD. Gelli edrych yn y Geirlyfr Saesoneg a Chymraeg. Ond ni fyddi di fawr nes er hyny i wybod beth mae hyny yn ei feddwl. Mae y gair yn rhy ddyeithr i blant fel chwi ei ddeall, heb i chwi gael esboniad arno.

ELLEN. Yr oeddech chwi yn dyweyd, nhad, fod tuedd mewn pob peth i dynu pethau llai atynt; pa fodd, os felly, na bai y 'sgubor yn tynu ati y mwdwl gwair sydd lai na hi? A paham na bai tai mawr yn y dref yn tynu atynt dai bychain sydd yn agos atynt?

Y FAM. Go'lew, Ellen! Yn wir mi rowch ddigon o waith i'ch tad gyda rhyw ofyniadau fel yna.

TAD. Mae y ddaear yma ei hun yn fwy na phob peth sydd arni, ac felly mae hi yn tynu yn gryfach yn y mwdwl gwair nag y dichon i'r ysgubor dynu. Ac oni bai fod y ddaear yn tynu pob peth ati felly, âi yr ysgubor a'r tai a phob peth i fyny i'r awyr. Dyma fel yr oedd Syr Isaac Newton yn myfyrio, pan sylwodd ar yr afal yn cwympo ar y ddaear—gofynai yn ei feddwl paham na buasai yr afal yn myned i fyny yn lle disgyn i lawr. Ac wrth fyfyrio ar y paham hwnw, y daeth i ddeall am y ddeddf yna a elwir yn Saesoneg yn *Law of gravitation.*

Y mae rhyw *achos* yn peri pob peth ; ac yr oedd Newton yn tybied fod rhyw achos yn peri i'r afal ddisgyn i lawr yn lle myned i fyny. Ac y mae hyn yn ein harwain yn ol at ofyniad Robert heno yn nghylch y modd y gwyddom fod Duw. Hyny yw, mae rhyw achos yn peri fod y byd yma wedi ei wneyd fel y mae, a'r achos mawr hwnw yw Duw. Ac y mae Duw wedi gosod deddf neu rëol i bob peth, a phob peth yn cadw ei rëol, ond dyn pechadurus. Mae rhyw achos yn peri fod tân yn cynesu a dwfr yn rhewi—mae rhyw achos neu ddeddf yn peri fod mŵg yn esgyn i fyny, a'r gwlaw yn disgyn i lawr. Mae rhyw achos yn peri fod coed afalau yn dwyn afalau yn lle dwyn cnau; a bod tatws yn tyfu *yn* y pridd, ac afalau yn tyfu *allan* o'r pridd. Ond mae hi yn rhy hwyr heno i siarad ychwaneg ar hyn; os cawn fyw hyd nos y fory, dywedaf i chwi freuddwyd rhyfedd, a ddarllenais er's blynyddau yn ol, i egluro i chwi yn nghylch fod Duw wedi rhoi rhëol neu ddeddf i bob peth, ac mor werthfawr yw hyny.

Felly terfnwyd yr ymdyddan y noson cyntaf, darllenwyd a gweddiwyd, ac aeth y plant i'w gwelyau.

*Utica.* R. L. HERBERT.

---

## Y CARDOTYN A'R DUWINYDD.

PAN yr oedd duwinydd yn rhoi tro yn y boreu, dygwyddodd iddo gyfarfod â chardotyn, pan y cymerodd yr ymddyddan canlynol le rhyngddynt:—

D. "Duw a roddo i ti foreu da."

C. "Ni chefais foreu drwg erioed."

D. "Duw a'th fendithio, ac a'th wnelo yn llwyddianus a dedwydd."

C. "Nid wyf yn aflwyddianus, nac yn annedwydd."

D. "O ba le y daethost ti, ac i ba le yr wyt yn myned?"

C. "Daethym oddiwrth Dduw, a dychwelaf ato."

D. "Pwy wyt ti?"

C. "Brenin wyf fi."

D. "Ond pa le mae dy deyrnas?"

C. "Mae teyrnas nefoedd o'm mewn, fel y mae fy ewyllys

a'm dymuniadau yn ddarostyngedig i ewyllys Duw, yn gymaint *felly* fel pa beth bynnag y mae efe yn ei ewyllysio, yr wyf finau hefyd yn ei ewyllysio, gan hyny ni chefais foreu drwg erioed, ac nid wyf yn aflwyddianus nac yn annedwydd."

Effeithiodd yr ymddyddan hwn yn dda ar y duwinydd.

## GWAREDIGAETH HYNOD JOHN WESLEY.

YR oedd tad John Wesley yn offeiriadu yn Epwarth, swydd Lincoln, Lloegr. Yr oedd ei blwyfolion yn ddynion penrydd ac anfucheddol; ac o herwydd ei sêl yntau yn nghyflawniad ei ddyledswyddau, cynhyrfwyd hwynt yn ei erbyn, fel y rhoisant ei dŷ ar dân. Pan oedd ei dŷ yn llosgi rhoddwyd bloedd o'r heol, cyfododd yntau, a gwnaeth bob ymdrech i achub ei deulu o afael yr elfen danllyd; a thybiodd ei fod wedi eu cael oll allan o'r perygl. Ond, clywsant floedd o un o'r ystafelloedd, pryd hyny y deallwyd fod John ar ol, yr hwn oedd yn fachgen bychan, chwe' mlwydd oed. Ymdrechodd ei dad i fyned ato; ond methodd gan y tân. Yn ei anobaith am ei waredigaeth, syrthiodd ar ei liniau, a chyflwynodd ef mewn gweddi i Dduw. Ond, dringodd John i ben cist oedd yn ymyl y ffenestr, a gwelwyd ef o'r buarth, a chan nad oedd amser i gyrchu ysgol, codwyd un dyn i fyny ar ysgwyddau dyn arall, a gwaredwyd ef allan, a chyda hyny, syrthiodd pen y tŷ i mewn iddo; ond yr oedd John bach yn ddiangol. Cafodd y waredigaeth hon argraff ddwys a daionus ar ei feddwl am ei oes, ac nis gallasai ei choffau heb deimlad o ddiolchgarwch. A phan y tyfodd i fyny yn ddyn, tynwyd llun tŷ yn myned ar dân, o dan un o'i ddarluniau, gyda'r arwyddair hwn, "Onid plentyn yw hwn wedi ei achub o'r tân?"

## NID AROSAI YN FARW.

DYWED y *Lyons Republican* fod dygwyddiad lled ddigrifol wedi bod yn y swydd hono ychydig ddyddiau yn ol. Yr oedd cigydd wedi cytuno a ffermwr i ladd eidion iddo, a chymeryd cyfran o'r cig yn dâl am ei waith. Dranoeth aeth y ffermwr i ymofyn ei gyfran o'r eidion, ac yr oedd yn synu ei fod mor fychan. Dywedai ei fod yn sicr y pwysai yr Hen Bright fwy; na welodd ef yr un eidion erioed wedi darfod cymaint wrth ei ladd. Dywedai y cigydd fod pob

peth yn iawn, fod pobl yn cael eu siomi yn aml mewn pethau fel hyny, hyd oni welant hwy yn y clorian. Aeth y ffermwr ymaith gyda'r cig, heb ddyweyd ychwaneg. Wrth fyned at ei ysgubor boreu dranoeth, clywai swn adnabyddus iddo; ac wrth droi ei olwg at y fan, gwelai yr Hen Bright yn ei gorffolaeth, mor fyw ag erioed, yn ceisio myned i'r buarth.

Diangodd y gath allan o'r sach, a daeth twyll y cigydd yn amlwg. Cymerodd y ffermwr yr eidion ac arweiniodd ef yn dawel i'r ysgubor; ac ni chafodd ond yn brin gau y drws pan ddaeth y cigydd (a'i geffyl yn mygu gan chwys) yn ymofyn a ddaeth yr un eidion dyeithr y ffordd hono. Dywedai y ffermwr nad oedd ond un eidion ar ei dir ef, a'i fod ef yn berchenog ar hwnw er ys dwy flynedd; a chan edrych yn gellweirgar ar y cigydd, dywedai, "*Chwi a wyddoch i chwi ladd yr Hen Bright eich hun.*"

Gorfodwyd y cigydd i dewi, ac ymadael; a dywedir ei fod yn edrych yn lled amheus ar eidion *arall* y ffermwr, bryd bynag y cyfarfyddai ag ef, fel pe byddai yn lled dybio fod yr Hen Bright *wedi dyfod yn fyw drachefn.*

---

## WEDI EI DDAL YN EI FAGL EI HUN.

GENETH ieuanc brydweddol a hardd, a aeth at un o gyfreithwyr Paris yn ddiweddar, gan ei anerch yn y dull canlynol:—

"Meistr, daethym i ymgynghori â chwi ar achos pwysig. Mae arnaf eisiau gorfodi dyn ag wyf yn ei garu i briodi â mi er ei waethaf."

Y cyfreithiwr heb ystyried fod neb arall yn ei glywed, a ddywedai, "Wel, Miss, yn ol ein cyfraith ni gellwch yn hawdd wneyd ffordd i'w orfodi i'ch priodi. Rhaid i chwi aros yn ei gyfeillach ef yn unig ar dri o wahanol droion, a chael tystion yn barod i gymeryd eu llw iddynt eich gweled o leiaf chwarter awr yn ei gyfeillach; yna gellwch gymeryd eich llw mai efe yw eich cariad."

"Da iawn," meddai hithau, "cewch chwithau fod fy nghyfreithiwr. Dydd da."

Yn mhen ychydig ddyddiau dychwelodd y ferch ieuanc, a chyn iddi braidd gael amser i eistedd, gofynai y cyfreithiwr am ei llwyddiant.

"Da iawn," meddai hithau, "Yr wyf wedi treulio haner awr yn ei gyfeillach, a phedwar o dystion yn barod i gymeryd eu llw iddynt fy ngweled yn myned i fyny y grisiau ac yn dyfod i lawr."

"Da iawn," meddai y cyfreithiwr; "deliwch ati; a goleithio y llwyddwch. Ond cofiwch, rhaid i chwi ddywedyd ei enw wrthyf y tro nesaf y deuwch yma."

Yn mhen pythefnos gwnaeth ei hymddangosiad yno drachefn, fel un bron a cholli ei hanadl; a dywedai iddi ddyfod yn rhy gyflym i fyny y grisiau.

"Wel yn awr," meddai y cyfreithiwr, "dywedwch enw y dyn dedwydd."

"A ydych chwi yn awyddus iawn am ei wybod?"

"Ydwyf dros ben."

"Wel, ynte, bydded hysbys i chwi mai y dyn dedwydd ydyw—*eich hunan*," meddai hithau; a thorodd allan i chwerthin. "Yr wyf yn eich caru chwi: bum yma dair gwaith, ac y mae genyf bedwar o dystion i lawr y grisiau yn barod i ddyfod gyda ni at yr ynad."

Y cyfreithiwr, ar ol ei ddal fel hyn ar dir teg, oedd ddigon synwyrol i beidio digio na throi yn ol. Y peth mwyaf nodedig yw, ei fod yn hoff iawn o'i wraig ieuanc, yr hon sydd yn gwneyd gwraig ragorol.—*Teetotaler.*

## APOSTOLION ARIAN.

NIS gallasai Oliver Cromwell, oddef y nesad lleiaf at Babyddiaeth. Nid oedd ganddo un hoffder i addurno eglwysi â darluniau, delwau, ac a chroesau. Ar ei fynediad i gapel un diwrnod, gwelai ddeuddeg o gerfddelwau arian wedi eu gosod o amgylch y muriau. Gofynodd i'r gwr oedd yn gofalu am y lle, "Beth yw y rhai hyn?" "Y deuddeg apostol," atebai y gwr, dan grynu. "Cymerwch hwynt i lawr," ebe Cromwell, "a bathodwch hwynt yn arian, fel yr elont oddiamgylch fel eu Meistr, gan wneuthur daioni."

NA thafler chwi i lawr byth, gan bethau bychain. Os tyr y pryf copyn ei edau ugain o weithiau, ugain o weithiau yr adgyweiria efe hi. Gwnewch i fyny eich meddwl i wneyd peth, a chwi a'i gwnewch ef. Nac ofnwch, os cyfarfyddwch â gofid: cedwch eich ysbryd i fyny, er i'r dydd fod yn un tywyll.

## Y BYSEDD AR Y PARED.

AR y wâl draw, e welir
Ger gwen y canwyllbren hir,
Ryw ddigorff ddelw annelwig,
Deneu, gul, heb gnawd neu gig.
O mor drwm, ar y mur draw,
A llesgaidd y mae'n llusgaw;
Ac a bys, fel fflamawg lin,
Llysg eiriau, a llws gerwin.
O! a'r newid wnai'r neuadd,
Sigla, dygryna pob gradd.
Traidd trwy eigion y fron frau
Waedd ddwys yr arglwyddesau
Dacw gerf-lun Bel uchelwawr
O'i le yn cwympo i lawr.
Llewyga gwawl y llugyrn,
Deryw eu chwai belydr chwyrn
Oll, ond rhyw wyrdd-der teryll;
Llewyrn yw'n lleueru'n hyll,
I ddangos gweddau ingawl
Ac erchyll, rhwng gwyll a gwawl
Aeth fferdod drwy'u haelodau,
Fel caethion mewn cyffion cau.

EVAN EVANS (IEUAN GLAN GEIRIONYDD).

---

## Y MOR COCH.

CHWYTHWCH yr udgyrn ar gopa Baalsephon,
Gorchfygodd Jehofah! daeth rhyddid i'r caethion.
Cenwch:—ucheldrem y gelyn a dorwyd;
Carlamau'r gwyr meirch yn y tywod arafwyd.
Mor wag oedd eu bost! ni wnaeth Duw ond llefaru,
Dyna fyrdd yn y dòn yn gwingo ac yn trengu!
Cenwch yr udgyrn ar glogwyn Baalsephon,
Marchogodd Jehofah ar wàr ei elynion,
Mawl, mawl i'r Gorchfygydd! Hosanna i'r Ior!
Yr ormes a gladdwyd yn meddrod y mor;
Ei air oedd y saeth a ennillodd yr orchest,
Anadl ei ffroenau oedd cleddyf y goncwest.
Pwy ddychwel a'r newydd i'r Aipht am y nifer,
A yrodd i allan yn niwrnod ei balchder?
Edrychodd yr Arglwydd o le ei ogoniant,
A'i miloedd yn nhrochion y llif a suddasant:
Chwythwch yr udgyrn ar aelgerth Baalsephon,
Mae Israel yn rhydd! a Pharao yn yr eigion!

JOHN BLACKWELL (ALUN).

# NODIADAU DETHOLEDIG.

### YR YSGRYTHYRAU.

Y SALMAU ydynt dlws-sypiau, wedi eu gwneuthur i fyny o aur athrawiaeth, perlau cysur, a gemau gweddi. Y mae y llyfr hwn yn chwareufa gweithredoedd Duw; yn beraidd faes a rhosardd o addewidion; yn baradwys o ffrwythydd danteithiol a hyfrydwch nefol; yn fôr helaeth, yn yr hwn y mae yr eneidiau a dellir yma a thraw gan y dymhestl yn cael perlau o gysur; yn ysgol nefol, yn yr hon y mae Duw ei hun yn brif hyfforddydd; yn flodeuyn a sylwedd yr ysgrythyr; yn ddrych o ddwyfol ras, yn arddangos gwynebpryd tadol Duw yn Nghrist; ac yn adeiladwaith tra chywrain o'r enaid Cristionogol, yn darlunio ei holl serchiadau, ei ysgogiadau, ei brofedigaethau, a dyfnderau ei betrusder, yn nghyda'u priodol feddyginiaeth.—*Gerhard.*

Y MAE y gair *efengyl* yn arwyddo newyddion da, ac y mae y genadwri ag y mae yr efengyl yn ei chynwys mewn gwirionedd yn llawn o'r hysbysrwydd siriolaf. Nid yw yn unig yn dwyn newyddion o wlad bell, ac am bobl nad oes genym nemawr gysylltiad â hwy; y mae yn cynwys, newyddion o lawenydd mawr, ag ydynt yn perthyn i ni ein hunain. Nid yw yn adrodd sefyllfa ddinasaidd a gwladwriaethol gwahanol genhedloedd y ddaear, nac yn ein hysbysu am foddau newyddion a gwell i ddwyn yn mlaen fasnach a llywodraeth. Nid yw yn dywedyd i ni am fynyddoedd heb eu hagor, lle y mae mŵnau trysor i'w cael; nac am ardaloedd heb eu chwilio, o'r rhai y gellir cael i mewn nwyddau newyddion. Y mae ei chynwysiad yn anfeidrol fwy hoenus a rhagorol. Y mae yn desgrifio i ni reolaeth a llywodraeth teyrnas yr Immanuel, ac yn dadlenu y trysorau a'r hyfrydwch ag ydynt etifeddiaeth ei ddeiliaid ef. Y mae yn dadguddio i ni ar unwaith achos a meddyginiaeth ein holl

ddrygau. Y mae yn egluro i ni pa fodd a pha le y gallwn gael heddwch meddwl ar y ddaear, a dedwyddwch didranc yn y nef. Os yw ein cyfran o dda bydol yn ychydig y mae yn ein hysbysu ni pa fodd i wneyd yr ychydig hwnw yn drysor i ni ein hunain; os yn llawer, pa fodd i wneuthur ein harddigonedd yn fendith i eraill. Y mae yn dadguddio y dirgêlwch mawr, pa fodd i fod yn ddedwydd yn mhob sefyllfa, i orfoleddu dan drallodion, i wenu dan benllwydni henaint, ac i ddisgyn gyda cham grymus a chalon ëofn i ystafelloedd angeu.—*Coutts.*

Y FEDDYGINIAETH ag y mae Duw wedi ei rhoddi i ddyn yw yr efengyl. Ei dyben yw troi hunan a'r creadur allan o'r galon, adferu cariad Duw i'r uwchafiaeth ag sydd deilwng iddo, ac felly adferu dyn i'w le yn nedwydd deulu Duw. Y mae gwerth yr efengyl yn gynwysedig yn ei bod yn wir arddangosiad o weddnod grasol Duw mewn perthynas i'w greaduriaid gwrthryfelgar. Iesu Grist yw gwrthddrych yr efengyl, canys efe sydd Dduw mewn perthynas i bechaduriaid. Y mae yr efengyl yn dywedyd mor llawn o gariad yw efe tuag at bechaduriaid, yn ei holl deimladau ac yn ei holl weithrediadau.—*Erskine.*

BYDD i ddalenau yr ysgrythyr, fel cynyrchiadau natur, nid yn unig oddef eu profi, ond wellâu ar y prawf. Y mae cymhwysiad y chwydd-wydr at y naill, a mynych fyfyrdod ar y llall, yn sicr o ddadlenu prydferthwch newydd, a chyflwyno i ni uwch tyniadau. Pan deimlwch ar eich enaid ddedwydd rym yr ysgrythyrau, bydd i bob ymgais i betruso eich crediniaeth, neu i dynu eich parch oddiwrth y Beibl, fod fel ymgais i ddryllio y graig yn ddarnau gyda chloch ddwfr (*bubble*), neu drywanu yr adamant â phluen.—*Parch. James Hervey.*

YMA y mae y byd naturiol a moesol yn ymagor i'n golwg. Yma y canfyddwn yr adeilad brydferth hon yn dyfod allan o

ddim, ac yn blygedig mewn amwisg o fflamau. Yma yr hysbysir i ni am enedigaeth drygau naturiol a moesol, a pha fodd eu diwreiddir drachefn allan o'r byd. Y trueni yr ydych i'w ochelyd; y dedwyddwch yr ydych i'w ddilyn; y drefn yn yr hon y gallwch gyrhaedd y naill a gochelyd y llall; y rhai hyn ydynt destynau pwysig ac effrous y Beibl. Darllen y tystiolaethau santaidd hyn; ac ymarfer â thi dy hun, ac â'th Dduw. O ddyn marwol! i'th waredu di rhag angau, i'th wneuthur di yn wynfydedig yma ac ar ol myned oddiyma, gwel yma dy Greawdwr mawr yn gorwedd yn y bru, yn gruddfan ar y groes, ac yn cysgu mewn bedd. Iesu! tydi Iachawdwr y byd, y mae yr ysgrythyrau hyn yn tystiolaethu am danat ti. Tydi ydwyt yr Alpha a'r Omega, y dechreu a'r diwedd o honynt. Yn yr Hen Destament yr wyt yn guddiedig; yn y Testament Newydd yr wyt yn ddadguddiedig. Tydi ydwyt ddiwedd y ddeddf, a swm yr efengyl.—*Parch. W. Mc. Ewen.*

---

## PA BETH YW CREDU YN NGHRIST.

YN 1. Credu mai efe yw yr unig Waredwr: "Nad oes iachawdwriaeth yn neb arall, ac nad oes enw arall wedi ei osod yn mhlith dynion trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." Act. iv. 12.

2. Teimlo eich angen am dano; eich bod yn euog ac angen maddeuant, pechadurus ac angen eich sancteiddio, o dan gollfarn ac angen eich rhyddhau, colledig ac angen eich cadw.

3. Credu ei fod yn alluog, ac yn ewyllysgar i'ch achub, a'ch achub yn awr.

Mae ef yn alluog, "Hollalluog." "Efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef, sydd yn dyfod at Dduw." Heb. vii. 25. Yn foddlon, "Heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." 2 Pedr iii. 9. Ewyllysgar i'ch achub yn awr. "Yn awr yw yr amser cymeradwy, yn awr yw dydd iachawdwriaeth." 2 Cor. vi. 2.

4. Ymorwedd eich hunain ar unwaith ac heb oedi ar ei drugaredd ef, gan ymddiried ynddo ef yn unig am iachawdwriaeth, gan ymwrthod hunan-gyfiawnder a hunan-ymddibyniaeth, fel un drychfeddwl i haeddu eich iachawdwriaeth trwy ddim o'ch gweithredoedd eich hun, ac ymorphwys ar yr hyn a wnaeth Crist, a rhoddi eich hunain iddo fel yr ydych, i gael derbyniad, maddeuant, eich puro, eich arwain ganddo a'ch gwaredu. Ei gymeryd ef yn brophwyd i'ch dysgu, yn offeiriad i wneuthur iawn drosoch, yn esiampl i'w ddilyn yn eich teimladau, eich amcanion, a'ch gweithredoedd.—Gwnewch hyn a byddwch yn gredinwyr yn Nghrist; a bydd ef eich noddfa, eich rhan a'ch Gwaredwr, eich holl iachawdwriaeth a'ch holl ddymuniad.

M. J. M.

---

## Y FFORDD I ANRHYDEDD.

MAE anrhydedd yn beth ag y mae y rhan fwyaf o blant dynion yn ymgyrhaedd ato; eto ychydig iawn mewn cydmariaeth sydd yn ei gyrhaedd, oblegid nad ydynt yn rhodio y llwybrau sydd yn arwain iddo.

Un o'r llwybrau sydd yn arwain i anrhydedd yw, bod yn ffyddlon at ein gair, gwneyd fel yr ydym yn addaw, cyflawni ein haddewidion yn eu pryd, pa mor ddystadl bynag fyddont. Nid yw wahaniaeth pa mor fychan fyddo yr hyn fyddom yn ei addaw, *talu* ein haddunedau a'n dwg i anrhydedd. Pe baem yn benthyca ond *cent*, cofiwn ei thalu fel y byddwn yn addaw; canys wrth i ni fod yn ffyddlon at ein gair gyda phethau bychain, felly y gwna dynion ymddiried pethau mwy i ni.

Llwybr arall sydd yn arwain yno yw, bod yn gywir gyda gorchwylion bychain. Byddwn yn meddwl yn aml wrth gyflawni llawer peth bychan, nad yw o fawr bwys pa un ai cywir ai twyllodrus fyddwn wrtho; ond y mae o bwys mawr, oblegid mai hwn yw y llwybr sydd yn arwain i an-

rhydedd. Pan wêl dynion ein ffyddlondeb gyda phethau *bychain*, dyna y pryd yr ymddiriedant bethau mwy i ni. Dywed y gwr doeth, "Bachgen a adwaenir wrth ei waith, ai pur ai uniawn yw ei waith." Dywed Iesu Grist, "Buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer."

Llwybr arall hefyd yw, ymgadw yn lân oddiwrth iaith ddrwg, arferiadau drwg, cymdeithas ddrwg ein cyfoedion. Gochelwn gymdeithion drwg fel clefyd heintus. Gochelwn y tafarndai a'r chwareu fel ffau y wiber a'r llew. Gochelwn y [redacted] a'r diodydd meddwol fel maglau dinystriol i ni.

Llwybr arall yw diwydrwydd. Pan fyddom yn dilyn ein galwedigaeth, byddwn ddyfal ac egniol gyda hi; a phan fyddwn yn treulio ein horiau segur, darllenwn ac ysgrifenwn, a pheidiwn gadael i un chwarter awr fyned heibio heb ei dreulio er ein buddioldeb.

Cynnildeb hefyd, mae cyfoeth mewn anrhydedd; a'r ffordd i fod yn gyfoethog yw bod yn gynnil. Gwyliwn gamdreulio ein harian.

Ac uwchlaw y cwbl dechreuwn deithio y llwybrau hyn yn foreu; canys felly y dywed y gwr doeth, "Hyfforddia blentyn mhen ei ffordd, a phan heneiddio, nid ymedy â hi." Wrth i ni ddechreu dilyn rhinwedd yn ieuainc, daw yn arferiad genym, ac y mae arferiad yn gryf iawn, a daw y cyflawniad o honynt yn naturiol i ni ac yn hyfrydwch i ni beunydd. Os rhodiwn y llwybrau hyn a'u cyffelyb, cyfodwn i fyny yn anrhydeddd i'n cenedl, yn ddefnyddiol i'n cenedlaeth, ac yn ogoniant i'n Duw; a phan fyddom farw, bydd ein "coffadwriaeth yn fendigedig."

*Rome.* J. H. JONES.

---

## ESIAMPL I DDYNION IEUAINC MEWN EGWYDDOR A DIWYDRWYDD.

MEWN gwlad lle y mae masnach helaeth iawn megys hon, y mae temtasiynau i foesau drwg ac ymarferiadau

anonest yn gryf iawn, ac y mae yn gofyn am wyliadwriaeth gan yr hwn a demtir i wrthwynebu yr hudoliaethau dryg-ionus. Llawer a gwympasant. Tebygol y cwympir llawer eto, pa rai a fuasent yn sefyll yn gadarn, pe buasent yn gweithredu oddiar egwyddor. Nid oes yr un seren arwein-yddol gyffelyb i egwyddor, i ddyn [illegible] ieuanc i gadw ei lygaid arni, pan ag y mae cynnifer o draws-olygiadau hudol-iaethus yn dawnsio o flaen ei olwg. Rhaid i egwyddor yn amryson âg anhawsderau dychrynllyd, a mynych arfer hun-anymwadiad; ond mawr yw y wobr. Gall deheurwydd a thwyll fyned o'r naill du i amgylchiadau dyrys, neu ynte guddio anhawsderau o'r golwg. Ond nid oes dim ennill wrth hyny, nid yw yn cael hyd yn nod y cysur o ymdrech yn dda, a'i fywiocäu trwy ennill yn mlaen.

Nid yw golud treftadol yn ddymunol i'n dynion ieuanc, pa rai a ymgymerant â galwedigaeth. Ni raid i'r bachgen ieu-anc tlotaf ddigaloni. Ni a adwaenom un o'r fath, tad pa un oedd yn wladwr diofal, yr hwn nid oedd yn trafferthu nemawr am foesau nac addysg yn nygiad ei blant i fyny, nag yn darparu ond yn brin ar gyfer eu hangenrheidiau corfforol. Yr oedd ganddo fachgen o bedair ar ddeg i bymtheng mlwydd oed, yr hwn ag yr oedd awydd am fod yn rhywbeth wedi ei feddiannu.

Yr oedd yn gwisgo dillad clytiog. Nid oedd yn gwybod braidd ddim am y byd. Nid oedd unrhyw gymeradwyaeth yn ei ymddangosiad, ond tlodi a gwyrddlesni; ond yr oedd ganddo egwyddor a diwydrwydd yn ddiledrith. Yr oedd y rhai hyn yn cael eu cario yn mlaen mewn amcan a phen-derfyndod. Yr oedd y priodoleddau a ddeuai i'r golwg trwy ei brinder yn well i'r ieuanc na *fortune*.

Penderfynodd i dreio ei law mewn dinas lle yr oedd mas-nach helaeth. Cychwynodd oddicartref ar ei draed, gyda'i *back*, a cherddodd gant a haner o filldiroedd i edrych am waith, yr hyn sydd bron bob amser i'w gael yn y wlad hapus hon. Pan ddaeth gyntaf i'r ddinas hon, cyfarwydd-odd ei gamrau i dŷ dinasydd, yr hwn ag oedd â pheth ad-nabyddiaeth â'i dad, neu a ystyrid yn un o'i gyfeillion. Rhy-feddai y gwr boneddig at ei fyrbwylldra, ei ganfod heb lythyrau o gymeradwyaeth, nac unrhyw *blan* neillduol mewn golwg, ac ond ychydig arwyddion y byddai yn dderbyniol gan unrhyw un yn y ddinas, fel ag yr oedd yn gwisgo y llodrau

clytiog, &c., yr oedd bron a'i gynghori i ddychwelyd adref; ond, pa fodd bynag, penderfynodd y gwna'i gais am le iddo. Felly cychwynodd allan; ond nid oedd neb ag eisiau y bachgen. Ond, o'r diwedd, *grocer* cyffredin a gydsyniodd i'w gymeryd i wneuthur mân orchwylion o amgylch y *store*; megys cario dwfr a chyffelyb. Ymaflodd y bachgen yn y gwaith isel hwn, gyda bywiogrwydd a gobaith, a galwodd i'w gynnorthwyo, egwyddor a diwydrwydd. Pa beth bynag a wna'i, efe a'i gwna'i yn ei le, ac yr ydoedd yn foddlawn i'w sefyllfa, hyd nes yr ymagorai maes helaethach. Yr oedd yn onest ac yn fywiog, yn ymgais at fod yn fuddiol ac yn ddidwyll er dwyn ei orchwylion yn mlaen er ennill i'w feistr mewn amrywiol ffyrdd yn ei wasanaeth isel. Mewn gair, ymdrechai i lenwi y cylch isel yr oedd ynddo, fel un ffyddlon ar ychydig. Hyn ydoedd dirgelwch ei lwyddiant dilynol. Tynodd sylw, a chafodd wahoddiad i ychydig well sefyllfa. Teimlai rwymau arno i lenwi hon yn well fyth, a llwyddodd. Dechreuodd fod mewn galwad at wasanaeth uwch a rhagorach. Canfyddwyd ei fod yn alluog i wasanaethu y rhai a farchnatent mewn nwyfau sychion gyda medr a llwyddiant. Yr oedd y dillad clytiog wedi myned o'r golwg erbyn hyn (eto cadwai hwynt yn ddirgel er coffadwriaeth am ei fam dlawd). Yr oedd ei waith yn ddestlaidd, gwnaeth ei hun yn ddymunol gan y prynwyr, ac yn fuddiol i'w feistriaid.

Yr oedd yn dirmygu yr arferiadau pa rai a fu yn ddystryw i gymaint o ddynion ieuainc. Ni phrofai y diodydd meddwol. Ni byddai byth yn myned i ymweled ag unrhyw le chwareu, byddai yn osgoi y *theatres*. Gochelai yr arferiad o grwydrad y nos. Ni chadwai un gyfrinach euog—pan yn nghwmpeini y rhyw fenywaidd, gwna'i hyny yn yr amlwg, a dewisai y rhai pur a dihalog; elai i'r eglwys bob Sabbath.

Dechreuodd gydag egwyddor, a thyfodd egwyddor i ymarferiad. Yr oedd yn sobr, yn fywiog, ac yn ddiwyd.

Nis gallai guddio, er na cheisiai ddangos y cynneddfau rhinweddol oedd yn ymwthio i'r golwg yn ei holl ysgogiadau. Dynion ag oedd mewn masnach helaeth ac ennillfawr, a wnaent iddo gynnygion da. Un cwmpeini nodedig a geisiasant ganddo ddyfod yn gyfranog â hwy!

Nid rhaid ychwanegu, ond dywedyd, fod y bachgen tlawd,

wedi tyfu yn ddyn a phriodi, a'i fod yn mhlith y rhai cyfoethocaf yn un o'n dinasoedd masnachol; a mwy na hyn, y mae yn ddinasydd gwir fuddiol.

Megys yr ymlynodd ef wrth ei egwyddor, ei egwyddor a'i cododd yntau i anrhydedd. Megys yr arferodd law y diwyd, hi a'i gwnaeth ef yn gyfoethog mewn dull a theimlad uwchlaw arian ac aur.

Bydded i'n dynion ieuainc ystyried a myfyrio ar yr esiampl uchod.—*Journal of Commerce.*

*Rome.* *Cyf. gan* W. N. JONES.

## GONESTRWYDD.

BACHGEN i ysgubwr semneiau oedd mewn tŷ boneddiges yn ysgubo simnai un o'r ystafelloedd. Pan oedd ar aelwyd yr ystafell, ac yn gweled neb yno, efe a arosodd ychydig fynydau i edrych ar y pethau prydferth oedd o'i gwmpas. Yr oedd oriawr euraidd wedi ei amgylchu â pherlau gwerthfawr. Tynodd hwn ei sylw, ac nis gallai ymattal rhag ei gymeryd i'w law. Yn ddioed daeth y dymuniad i'w feddwl, "Ah, pe buasai genyf fi y fath un!" Efe a safodd am fynyd, yna dywedodd wrtho ei hun, "Ond os cymeraf ef mi fyddaf yn lleidr! ac eto," eb efe, "nid oes neb yn fy ngweled." Neb! "Onid ydyw Duw yn fy ngweled, yr hwn sydd yn bresenol yn mhob man? A allwn i ddywedyd fy mater wrtho wedi bod yn dwyn? A allwn i farw mewn tangnefedd?" Wedi ei orchfygu gan y meddyliau hyn, cerddodd rhyw grynfa oer drosto. "Na," eb efe, gan roi yr oriawr yn ei le, "gwell i mi fod yn dlawd, a chadw cydwybod dda, na bod yn gyfoethog ac yn lleidr." Gyda'r geiriau hyn efe a frysiodd yn ol i'r simnai.

Y foneddiges, yr hon oedd yn yr ystafell isaf, ac wedi clywed ei ymddyddan âg ef ei hun, a anfonodd am dano dranoeth, ac a'i cyfarchodd fel hyn—"Fy nghyfaill bach, paham na chymeraist yr oriawr ddoe?" Syrthiodd y bachgen ar ei liniau mewn dychryn, heb fedru dyweyd dim. "Mi a glywais bob peth a ddywedaist," meddai y foneddiges; "diolch i Dduw am dy alluogi i wrthsefyll y demtasiwn; a bydd yn wyliadwrus rhag llaw; mi a'th gymeraf o hyn allan i fy ngwasanaeth; mi a'th ddilladaf, ac a'th borthaf; ïe, yn mhellach, mi a roddaf i ti ysgol dda i dy nerthu i wrthsefyll temtasiynau tebyg." Torodd y bachgen allan i wylo; efe a

deimlodd awydd i ddadgan ei ddiolchgarwch, ond nis gallai. Cadwodd y foneddiges ei haddewid, ac a gafodd yr hyfrydwch o'i weled yn tyfu i fyny yn ddyn da, duwiol, a deallus.

W. D. H.

---

## EFFAITH ESIAMPL.

MEWN cymydogaeth yn Nghymru yr oedd dau gymydog tangnefeddus yn byw mewn ychydig o latheni i'w gilydd. Byddai y ddau yn arfer gwrando yr Efengyl, myned i'r Ysgol Sabothol, a darllen y Beibl yn eu teuluoedd ar ol prydiau bwyd. Nid oedd ond un o honynt yn grefyddol, ac fel y cyfryw yn arfer gweddio yn y teulu. Yr oedd gan y cymydog digrefydd yma ferch fechan brydferth oddeutu pump neu chwech oed, yr hon a ddygwyddodd fyned i dŷ y crefyddwr yn amser pryd. Eisteddodd i lawr yn mysg y plant—gwelai y penteulu yn estyn y Beibl fel yr arferai ei thad; ond wedi y darllen sylwodd fod yno ychwaneg i gael ei wneuthur—ymddangosai braidd yn derfysglyd—o'r diwedd plygodd ar ei gliniau gyda y teulu i weddio. Effeithiodd hyn yn ddwys ar ei meddwl, a rhyfeddai yn fawr paham na wnai ei thad weddio ar ol darllen. Boreu dranoeth ar ol y boreufwyd darllenai ei thad ran o'r gair fel arferol, ac yna hwyliai i godi i fyned at ei orchwyl; ond cyn iddo symud o'i le troes ei ferch fechan ato, a chyda golwg dyner ac anwyl dywedodd, "Tada, y mae gweddio i fod ar ol darllen; gweddiwch tada." Edrychai y tad ar hyn yn syn, ac ni roddodd un atebiad. Hithau yn gweled hyn a ddywedodd yn uwch, "Tada, y mae gweddio i fod ar ol darllen, oes yn wir: yr oedd Thomas yn gweddio ddoe." Ar hyn llanwyd meddwl y tad â phrudd-der, ac nis gallasai ddyweyd un gair. Trodd yr un fechan anwyl at ei mam, a dywedodd, "O mam, gweddiwch chwi." Dywedodd y fam nas gallai weddio; yna gofynai hithau a g'ai hi weddio. Dywedwyd y cawsai, a phlygodd yn araf ar ei gliniau bychain, rhoddodd ei dwylaw yn mhleth, ac mewn llais egwan toddedig dywedodd—

"Marchog, Iesu yn llwyddianus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun. Amen."

Glywodd Iesu ei llef, defnyddiodd y weddi syml hon yn agoriad i agor calonau y tad a'r fam; ac y maent heddyw yn cydfarnu bod gweddi i fod ar ol darllen—*Cyfaill Rhinwedd.*

*Frankfort Hill* HUGH EVANS.

## NANSI DDEDWYDD.

YR oedd gwraig unwaith yn byw mewn unigedd mewn bwthyn llwydaidd, yr hwn oedd mor fychan yn ymddangos yn debyg i gut ieir. Yr oedd yn cadw gardd fechan, ac yn gwau a nyddu at ei bywioliaeth. Yr oedd yn adnabyddus yn yr holl gwmpasoedd o bentref i bentref, wrth yr enw "Nansi ddedwydd." Nid oedd ganddi nag arian, na theulu na pherthynasau; yr oedd yn haner dall, yn gloff, ac yn grymedig. Nid oedd dim prydferthwch ynddi; ac eto, yr oedd sêl y Duw mawr, yr hwn sydd yn perffeithio nerth mewn gwendid, wedi ei roddi yn y corffyn gwael ac afluniaidd hwnw.

"Wel, Nansi, yn canu eto?" dywedai ymwelydd damweiniol, pan yn sefyllian wrth ei drws.

"O ydwyf, wrthi byth. Nis gwn beth wna pobl feddwl," meddai dan wenu.

"Pa'm, hwy feddyliant, fel y maent bob amser, eich bod yn ddedwydd iawn."

"O! wel, mae hyny yn wir. Yr wyf mor ddedwydd ag yw y dydd o hŷd."

"Mi ddymunwn i chwi ddyweyd y dirgelwch, Nansi; yr ydych yma wrthych eich hun, yn gweithio yn galed, ac heb ddim dymunol yn eich cylchynu—beth yw y rheswm eich bod mor ddedwydd?"

"Efallai mai am nad oes genyf neb ond Duw," atebai hithau, gan edrych i fyny. "Yr ydych yn gweled pobl gyfoethog fel chwi yn ymddiried yn eu teuluoedd a'u tai; rhaid iddynt feddwl yn barhaus am eu masnach, eu gwragedd a'u plant; ac y maent mewn ofnau dirfawr rhag trallodau o'u blaen. Chwi welwch nad oes genyf fi ddim i ymboeni yn ei gylch, oblegid yr wyf yn gadael y cwbl i'r Arglwydd. Yr wyf yn meddwl os gall Ef gadw y byd mawr yma yn y fath drefn dda, yr haul i droi dydd ar ol dydd, ar sêr i dywynu nos ar ol nos, a gwneyd i'r gerddi ffrwytho yn rheolaidd, dymhor ar ol tymhor, y medr Ef yn sicr ofalu am greadures dlawd ac isel fel myfi; ac felly, chwi a welwch, yr wyf yn gadael y cwbl i'r Arglwydd, ac y mae yr Arglwydd yn gofalu am danaf fi."

"Wel, Nansi, tybiwch y byddai i'r rhew ddyfod ar ol i'ch coed flodeuo, ac i'ch planhigion bychain darddu allan."

Ond nid ydwyf fi yn tybied; ni fedraf fi byth dybied; nid oes arnaf eisiau tybied, ond yn unig y bydd i'r Arglwydd wneyd pob peth yn iawn. Dyma sydd yn eich gwneyd chwi yn bobl annedwydd; yr ydych bob amser yn tybied. Yn awr, paham nad ellwch chwi aros hyd nes del y tybied, fel yr wyf fi, ac yna gwneyd y goreu o hono?"

"Ah, Nansi, tebyg iawn yr ewch chwi i'r nefoedd, tra y bydd raid i lawer o honom ni, gyda'n doethineb daearol, aros allan."

"Dyna chwi ati eto," meddai Nansi, gan ysgwyd ei phen, bob amser yn edrych am ryw gwmwl du. Wel, pe buaswn i chwi, mi a gadwn y diafol o fewn hyd braich yn hytrach na'i gymeryd i fy nghalon; fe wna i chwi niweid dirfawr."

Yr oedd Nansi yn iawn. Yr ydym yn cymeryd lluoedd o ofalon, ac yn llawn o anymddiried, a pharod i ddarogan pob drygau. Yr ydym yn dyrysu pob pleser mewn ofnau ac amheuon.

Byddai yn dda i ninau efelychu Nansi ddedwydd, a pheidio byth a thybied. Os gwelwch gwmwl, na thybiwch ei bod yn sicr o wlawio. Na adewch i'ch llygad redeg ar y peth nid yw. Byddwch yn fwy tebyg i blant eich Tad yr hwn a'ch creodd ac sydd yn eich cynnal; ac uwchlaw y cwbl "aroswch i'r tybied ddyfod, ac yna gwnewch y goreu o hono." Byddai y ddaear yn fwy tebyg i Eden pe byddech yn dilyn rheol Nansi ddedwydd, a pheidio byth a gadael lle yn eich mynwes i ddrygau dychymygol.—*S. R.*

## GEM GWERTHFAWR.

YCHYDIG flynyddau yn ol, rhoddwyd i'w gadw yn ddiogel yn *Bank of England*, un o'r gemau mwyaf adnabyddus yn y byd, y pryd hwnw cyfrifid ei werth yn un miliwn, a thri chan' mil o ddolerau. Cafwyd ef gan gaethwas yn un o fwngloddiau Brazil deheudir America, yr hwn a dderbyniodd ei rhyddhad yn wobr am dano.

Carem i holl ddarllenwyr yr "Arweinydd," gael y *perl*, (sef Crist) yr hwn a'i gorbwysa mewn gwerth, tegwch a pharhad. Gwel Geiriadur Charles dan y gair *perl*.

BYDDWCH yn bur ofalus yn eich addewidion, ac yn gyfiawn yn eich cyflawniadau: a chofiwch ei bod yn well gwneyd heb addaw, nac addaw a pheidio a chyflawni.

## EIN GWLAD.

MAE yr Unol Daleithau yn gyfansoddedig o 32 o Daleithau a 9 o Diriogaethau. Cynnwysant boblogaeth o 27,000,000, o ba rai y mae 23,000,000 yn bobl wynion. Cyrhaedda ei harfordir 12,660 o filldiroedd. Hyd ei phrif afonydd (y rhai ydynt ddeg) ydyw 20,000 o filldiroedd. Arwyneb ei phump llyn mwyaf ydyw 90,000 o filldiroedd ysgwâr. Nifer y milldiroedd o reilffyrdd mewn gweithrediad ydynt 20,000, pa rai a *gostiodd* o'r hyn lleiaf $7,200,000,-000. Hyd y camlesydd ydyw 5,000 o filldiroedd. Mae yn ein gwlad un o'r rheilffyrdd hwyaf yn y byd—yr *Illinois Central*, yr hon sydd yn 784 o filldiroedd o hyd.

Pris blynyddol ein cynnyrch amaethyddol yw $1,20,000,-000. Ein cynnyrch gwerthfawrocaf ydyw yr *Indian corn*, yr hyn sydd yn 400,000,000 o fwsieli yn flynyddol. Swm y tunell-dâl a gofrestrwyd yw 4,407,010 o dunelli. Swm y cyfalaf (*capital*) mewn gweithfeydd yw $600,000,000. Swm blynyddol ein masnach mewnol yw $6,000,000,000. Pris cynnyrch gwaith yn flynyddol (heblaw amaethyddiaeth) yw $1,500,000,000. Swm blynyddol yr ardreth gan y trigolion yw $7,500,000,000. Pris y tyddynod a'r anifeiliaid yw $500,000,000. Ein mwngloddiau aur, copr, plwm a haiarn ydynt yn mysg y rhai cyfoethocaf yn y byd. Pris yr aur a gynnyrchir ydyw $100,000,000. Mae arwyneb ein meusydd a'n cymoedd glo yn 138,131 o erwau ysgwar. Mae o fewn ein cyffiniau 80,000 o ysgolion, 5,000 o athrofeydd, 234 o brif athrofeydd, a 10,000 o eglwysdai.—*Y. P. G.*

---

## BABILON A NINEFEH.

YR oedd Babilon a Ninefeh yn ddwy ddinas fawreddog yn y dyddiau gynt. Mae eu hanes mor bell yn ol fel y mae yr hanesion boreuaf heb ond ychydig i'w ddyweyd am danynt; ac y maent wedi bod yn adfeilion er ys dros ddwy fil o flynyddoedd.

Yr oedd Babilon wedi ei hadeiladu o bob tu i'r afon Euphrates yr hon sydd yn rhedeg trwy ei chanol. Yr oedd yn ddinas nodedig gyda golwg ar ei muriau, 350 o droedfeddi o uchder a 87 o drwch, am ei 100 pyrth pres, ei gerddi croged-

ig, ei themlau, ei hallorau, a chyfoeth a balchder a gogoniant ei breninoedd.

Safai Ninefeh ar fryn dwyreiniol yr afon Tigris, tua 280 o filldiroedd i'r gogledd o Babilon. Yr oedd yn 20 milldir o hyd, a 12 o led. Ei muriau oeddent 100 troedfedd o uchder, gyda 1,500 o dyrau arnynt, yn 200 troedfedd yr un o uchder. Ei phoblogaeth oedd yn 600,000. Nid yw ond bychan mewn cydmariaeth i faintioli y ddinas; ond rhaid cofio fod rhan fawr o'r ddaear yn erddi, parciau, gwinllanoedd a phorfeydd.

Cawn fwy o hanes y lleoedd hyn yn y Beibl nag mewn un hanesyddiaeth arall: ac yno hefyd y cawn weled yr achos o'u dinystriad llwyr.

O fewn y blynyddoedd diweddaf gwnaed amryw ddarganfyddiadau rhyfeddol yn mysg adfeilion y dinasoedd mawrion hyn; ac y mae yn ddyddorol i sylwi mor gywir ydynt yn eu cadarnhad o wirionedd y Beibl, ac yn gwirio ei ragfynegiadau. Gwelir yno eu heolydd, eu palasau, eu temlau, eu heilunod, darluniau eu campau, eu buddugoliaethau, &c., ar y muriau; a diau y cawsem ein gadael mewn tywyllwch oesol am eu gwychder a'u gogoniant cyntefig, oni buasai yr hanesion a'r prophwydoliaethau a geir am danynt a'u tynged yn Ngair gwirionedd.—*M. M.*

---

## COELGREFYDD YN AFFRICA.

TYBIR fod ysbrydion yn cyfaneddu mewn manau gwledig, mewn creigiau mawrion, coedydd, mynyddoedd, afonydd, ogofeydd, a llwyni. Mae y manau hyn yn gysegredig, ac nid âi pobl byth heibio iddynt heb ollwng i *lawr* rhyw offrwm, ddangos eu parch i'r ysbryd. Ond mae y bobl yn meddwl fod ysbryd eraill, a ddewisant yn hytrach, gyfaneddu mewn rhyw greaduriaid byw. Meddylir yn *Fishtown*, fod yr Epaod ag sydd yn byw yn y coed oddeutu y claddfeydd, yn cael eu bywhau gan ysprydion ymadawedig. Gan hyny, mae yr Epaod hyn yn anifeiliaid cysegredig. Nid oes neb yn beiddio eu cyffwrdd; ac ymddengys fod y creaduriaid yn deall hyn, oblegid y maent yn lled ddôf a haerllug. Mae llawer o afainc (*crocodiles*) yn *Dixcove;* a meddylia y bobl fod ysbrydion ymadawedig yn byw ynddynt. Mae y rhai hyn hefyd yn gysegredig; ac mae y brodorion yn eu trin mor dyner, fel y daw yr anghenfilod euog allan o'u tyllau

pan y gelwir arnynt, a goddefant eu teimlo, a chanlynant un haner milldir oddiwrth eu ffau os bydd ganddo aderyn yn ei law.

Yn *Calabar* a *Bonny*, mae y môrflaidd (*shark*) yn gysegredig o herwydd yr un rheswm; ac yn *Benin* y mae mor ddof, fel y daw i fyny i fin yr afon bob dydd i ymofyn ymborth.

Y ffaith fwyaf dyeithr eto, yw, fod rhyw o ddywalgwn (*tigers*) ger St. Catherine, y rhai a gerddant yn y nos trwy yr heolydd heb aflonyddu y trigolion; a chredant fod y creaduriaid hyn yn gysegredig.

CURRIER DOVE.

## BARGEINION DRWG.

DYWEDODD athraw mewn Ysgol Sabbothol unwaith, fod yr hwn sydd yn prynu y gwir yn gwneyd bargen dda: a gofynodd i'w ysgolorion, a oeddent hwy yn cofio am engreifftiau yn yr Ysgrythyrau o fargen ddrwg. "Yr wyf fi yn *cofio*," ebe un o'r bechgyn, "gwnaeth Esau fargen ddrwg pan y gwerthodd ei enedigaeth-fraint am saig o fwyd." Un arall a ddywedodd, "Gwnaeth Judas fargen ddrwg, pan y gwerthodd ei Arglwydd am ddeg-ar-hugain o arian." Sylwodd y trydydd, mai bargen ddrwg fyddai hi, pe enillai un yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun.

## GWASANAETH ADAR.

YCHYDIG flynyddau yn ol, edrychid ar adar duon yn Ngogledd Indiana fel lladron mawrion. Yr oedd y tyddynwyr yn grwgnach, eu bod yn cymeryd mwy na'u rhan o'u hŷd. Yr oedd y tyddynwr yn hau, a hwythau yn medi. Yr oedd ef dwrdio, a hwythau yn llechu. Nid oedd yr holl haels a anfonwyd i'w mysg, yn llesau nemawr arnynt. Ychydig flynyddau wedi hyny, yr oedd ffrwyth y meusydd yn cael ei fwyta i fyny bron gan lu o bryfed. Nid oedd modd eu hattal; nid oedd y tyddynwr ond fel pryf yn nghanol pryfed. Ond ei gyfeillion penaf oeddent yr adar duon; daethant hwy i'w gynorthwyo ef, a gwnaethant ddinystr ofnadwy yn mysg y pryfed, fel ag y gadawyd peth erbyn y cynhauaf. Meddyliwyd fod yr adar a elwir *rice birds*, yn rhy brysur ar rai o'r

planfeydd yn *Carolina*. A chyhoeddodd y planwyr ryfel yn eu herbyn, ac yr oeddent yn benderfynol o'u gyru allan o'u gwlad. Llwyddasant i raddau pell, ond daeth gwaeth gelynion yn eu lle, sef, pryfed, y rhai oedd yn bwyta i fyny yr egin ieuainc. Gwahoddwyd yr adar yn ol, ac nid oedd neb mor barod i'w derbyn a'r planwyr. Dywedir nad ellir trin rhis (*rice*) heb gynnorthwy yr adar hyn, gan fod yr adar a nodwyd uchod yn gyd-lafurwyr â'r tyddynwyr, ac â'r planwyr, paham y grwgnechir iddynt gael eu cyfran, ond teilwng i'r gweithiwr ei gyflog.

## TYNGU.

CERBYDWR anrasol a ddywedai wrth deithiwr crefyddol, gan gyfeirio at un o'i geffylau, "fe wyr y ceffyl yma, Syr, pan y byddaf yn tyngu wrtho." "Gwyr," ebe'r teithiwr, ac fe wyr eich Gwneuthurwr *hefyd*." Ymddangosodd y cerbydwr fel un yn teimlo yr argyhoeddiad; ac yn y fan dystawodd.

## DYWEYD CELWYDD.

MAE *Ceylon* yn ynys tra hardd, a llysiau a ffrwythau o'r rhywogaeth mwyaf peraidd yn tyfu yno. Ond y mae y brodorion yn mhell o fod yn rhai dymunol; y maent yn ddiog, ac yn fath gelwyddwyr, fel y mae yn anmhosibl ymddibynu ar ddim a ddywedant. Galwyd ar un o'r brodorion, a hwnw o radd uchel, i ro'i ei dystiolaeth ar fater cyfreithiol, a thyngodd y fath gelwydd cyflawn fel ag y bu orfod iddo ddyoddef carchar o'i herwydd. Gosododd ei achos ger bron y Llywydd Saesonig, a chyda syndod, gofynodd, paham y cosbwyd ef am yr hyn a arferir gan ei bobl. "Yr oedd fy nhad (eb efe) yn gelwyddwr, yr oedd fy nhaid yn gelwyddwr, ac yr oedd fy hendaid yn gelwyddwr: yr ydym oll yn gelwyddwyr. Mae *hyn* yn arferiad fy ngwlad. A phaham y cosbir fi?" Gwareder ni rhag y fath arferiad.

LLYFR Y BYWYD: mae yn waith mawr. Mae pob blwyddyn o *hono* yn gyfrol, pob mis yn bennod, pob wythnos yn ddalen, a phob dydd yn wahanran (*paragraff*). Erfydwch ef yn dda.

## Y TYWYSOG HENRY YN ERBYN TYGNU.

YR oedd y Tywysog Henry, mab i Iago y cyntaf, yn neillduol o wrthwynebol i dyngu, ac i halogi enw yr Arglwydd. Pan y byddai yn chwareu ni chlywid ef byth yn tyngu; a phan ofynwyd iddo, paham na wnai efe hyny fel eraill, ei atebiad oedd na wyddai efe am un chwareu yn teilyngu llw. Rhoddodd atebiad cyffelyb mewn helfa gysdadleuol. Yr oedd carw wedi ei redeg i lawr bron, yn croesi ffordd, lle yr oedd cigydd a'i gi yn myned heibio, lladdwyd y carw yn y fan gan y ci, sorodd yr helwyr wrth hyn, a cheisiasant gynhyrfu y Tywysog yn erbyn y cigydd, ond atebodd hwynt yn oeraidd, "Gwir i gi y cigydd ladd y carw, a pha beth a allasai y cigydd wrth hyny?" Dywedasant hwythau wrtho, pe ymddygasid felly tuag at ei dad ef, y buasai efe yn tyngu fel na allasai un dyn ei oddef. "Ymaith *a chwi*," ebe y Tywysog, nid yw holl ddifyrwch y byd yn werth llw. Cymered darllenwyr ieuainc yr "Arweinydd" ei esiampl yn hyn.

---

### TRAGYWYDDOLDEB.

Amser sydd yn gwyllt garlamu
  Tua'r môr, lle nad yw mwy;
Mil o filoedd a wyllt deithiodd
  Yn ei gerbyd lle maent hwy:
Y mae'r cyfan wedi glanio,
  Draw i'r trag'wyddoldeb mawr;
Hwy sydd wedi cyrhaedd yno,
  Ond ar ein taith 'r y'm ni yn awr.

Beth yw hwnw? Trag'wyddoldeb,
  Nid lle na man nac amser yw;
Ond sefydlog a diderfyn,
  Digyfnewid, f'enaid clyw;
Pe b'ai galluoedd holl rifyddwyr
  Mewn un rhifyddwr mderus chwim,
Ni byddai hwn yn well i gyfrif
  Na'r un diddysg na fedrai ddim.

Fe allai oddiar draethell amser
  Gyfrif oesoedd maith i dd'od;
Ond yn ngwyneb trag'wyddoldeb,
  Dirmygus yw pob rhif a nôd:
Haf a gauaf nid oes yno,
  Na blynyddoedd byth yn bod;
Y peth a gyrchir ato yma,
  Yno i bara fydd dy nôd.

*Western Hill*, *Chwef.* 1858. E. Evans.

# NODIADAU DETHOLEDIG.

## YR YSGRYTHYRAU.

PE b'ai pob un o ddarllenwyr yr ysgrythyr yn ystyried ei fod yn dyfod yn anwybodus, yn wan, dan natur lygredig a thuedd i bechod, pan y mae efe yn cyfeirio at y llyfrau sanctaidd hyny am hyfforddiant; nad yw efe gan hyny i ddwyn ei ragdybiau gydag ef, fel un yn gwybod eisoes pa beth y mae efe i'w feddwl a'i wneuthur; a'i fod yn dyfod at Ddysgawdwr ag sydd ewyllysgar i'w gyfarwyddo ef, yr hwn a wnaeth ddarpariaeth gogyfer a'i holl angenion, ac sydd yn alluog i gynnorthwyo ei wendidau ef, nis gallai fod ganddo amheuaeth yn nghylch ei lwyddiant. Yn yr achos hwnw y mae yr hyfforddiadau a'r dysgybl wedi eu cyfaddasu mor dda i'w gilydd, fel y gallai efe yn hawdd gael hyd i'r "ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd."—*Parch. Philip Skelton.*

MEGYS nad oes neb ond Duw yn dyst priodol iddo ei hun yn ei air ei hun, felly ni fydd i'r unrhyw air byth gael coel yn nghalonau dynion, nes iddo gael ei selio i fyny gan dystiolaeth fewnol yr Ysbryd Glan. Y mae yn gweddu gan hyny o angenrheidrwydd, i'r un Ysbryd Glân ag a lefarodd trwy enau y prophwydi, ddyfod i mewn i'n calonau ni, i'n darbwyllo ddarfod iddynt hwy ffyddlon draethu yr hyn a orchymynwyd iddynt gan Dduw.—*Calvin.*

Y MAE yr efengyl yn ddatguddiad o bur drugaredd; y mae yn gyhoeddiad o du Dduw y bydd iddo fawrhau anhysbyddedig oludoedd ei ddaioni yn rhad faddeuant yr euog, ac yn llawn ddiogelwch y colledig. Bydd y pechadur a gaiff faddeuant yn ddyledus am y cyfan i ddiderfyn gariad Duw. Bydd i'w hawliau ef ei hun gael eu llwyr ddileu, a chaiff Duw yr holl ogoniant. Ni chaiff un bôd dynol sangu cynteddau y nef ond trwy weithred o anhaeddiannol raslonrwydd Duw. Ni chaiff un bôd dynol ymgyfranogi o wynfydedigrwydd y rhai

cyfiawn, ond fel y mae yn derbyn y cymhwysderau i'r gwynfydedigrwydd hwnw yn unig megys braint rad oddiwrth Dduw. Ni chaiff un bôd dynol anadlu allan yr haleliwia o fawrygawl ddiolchgarwch, ond mewn cyflawn ymwrthodiad â'i hunandeilyngdod, ac mewn priodoliad rhydd o foliant, "iddo Ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun."—*Yr Anrhyd. Gerard Noel.*

**Prawf** o ddoethineb Duw yn nghroes Crist ydyw, fod *yr athrawiaeth o honi yn cael ei bwriadu yn neillduol i wrthgyferbynu y pechod hwnw trwy yr hwn y syrthiodd dyn yn wreiddiol.* Syrthiodd dyn trwy falchder, adferir ef mewn ffordd o ostyngeiddrwydd. Syrthiodd trwy hunanymddibyniad, achubir ef trwy hunan-ymwadiad. Ymgollasom trwy ofer chwant am ddoethineb, yr ydym yn dychwelyd at Dduw trwy *ffolineb y groes.* Gan i ni bechu trwy gywreinrwydd rhyfygus, y y mae doethineb Duw yn ein darostwng ni wrth wreiddyn pren gwybodaeth, ac yn ein dirgymell ni i ymwrthod â balchder ein deall, ac ymostwng i ffydd. Y mae pob peth ag sydd mewn cysylltiad â chroes Crist yn gwrthgyferbynu drwg llywodraethol ein calonau syrthiedig. Nid yw dynol ddoethineb yn derbyn yr athrawiaeth; nid yw dynol falchder yn deall dim o honi. Y mae edifeirwch yn dechreu mewn gostyngeiddrwydd; y mae ffydd yn ymsymud ynddo fel ei briodol ffurfafen, heb arddelwi dim ond o drugaredd anhaeddianol Duw; a gweddi yw anadliad gostyngeiddrwydd. Cyfiawnhad sydd rad rodd; iachawdwrith sydd o ras; ufudd-dod santaidd yw ffrwyth ymostyngiad. Y mae pob cam, pob gweithred, pob dyledswydd, pob teimlad o eiddo Cristion, oll yn ostyngeiddrwydd. Y mae pechod wedi newid y ffordd i ddedwyddwch. Yn y gyntaf, ewyllysiai Duw ddenu dynion i wybodaeth o hono ei hun trwy y defnydd o'u rheswm hwy, a'r ystyriaeth o'i weithredoedd yntau: yn yr ail, y mae yr Iachawdwr yn denu dynion trwy ffolineb gair y groes, a thrwy

ddarostyngiad eu rheswm a'u hewyllys i athrawiaeth ffydd. Crefydd yw meddyginiaeth balchder dynol, gan nad yw gymaint yn wyddiannaeth (*science*) o'r deall, ag o'r galon.—*Esgob Daniel Wilson.*

Nis gall y myfyriwr mwyaf dysgedig, cywrain, a diwyd, yn yr oes hwyaf, gyraedd gwybodaeth gyflawn o'r un gyfrol hon. Pa ddyfnaf y gweithia efe y mŵn-glawdd, goraf a helaethaf y caiff y mŵn. Y mae goleuni newydd yn pelydru yn barhaus o'r ffynnonell hon o wybodaeth nefol, i gyfarwyddo ei ymddygiad ef, ac egluro gweithredoedd Duw a ffyrdd dynion: a bydd iddo o'r diwedd adael y byd gan gyffesu, pa fwyaf a fyfyriai efe ar yr Ysgrythyrau, mai llawnaf fyddai yr argyhoeddiad a g'ai o'i anwybodaeth ei hun, a'u gwerth anmhrisiadwy hwythau.—*Parch. T. Scott.*

---

## AIL DREM I'R BRYN.

WEL, blant, yr ydych bellach yn dysgwyl am i mi gyflawni fy addewid (os cawsoch rhyw ddyddordeb yn y daith o'r blaen i Palestina). Bu yr "Arweinydd" yn brysur yn arwain eraill i wahanol ranau y byd, lle gallai ddysgwyl gwell elw iddo ef a'i gyfeillion nag a allem ni rai bychain ddwyn iddynt. Ond, deuwch at y bryn, blant anwyl, ac at y Gwr a drengodd yno fel y caem ni fywyd, ac aent hwy i'r lle a ddewisont. Yn awr, sylwch ar y drws ëang, cadarn, sydd i'r eglwys fawr, a dyma un ar hugain o risiau o'r trothwy i gyrhaedd pen y bryn, o'r tu fewn iddi (llygadwch eich goren yn bresenol; canys awr sydd cyn y cwrdd). Dyma y bedd yn y cwr isaf yma. Onid yw ef yn naturiol? Gwelwch y bennod olaf gan bob un o'r pedwar Efengylwyr. Yn y pen uchaf i'r grisiau yma, y bu ein hanwyl Iesu yn hoeliedig ar groes am oriau, a phistylloedd ofnadwy digofaint ei Dad yn rhuthro arno heb arbed, pan y dolefodd, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Dyma y fan lle y

tynwyd ef i lawr wedi iddo orphen gwaith y prynedigaeth, a thaflwyd ei groes i'r fan acw gyda dirmyg gan yr Iuddewon, am fod y fath argraff arni, a chladdasant hi dan garnedd fawr; ond, aeth Ellen i draul fawr i gael gafael arni, a llwyddodd i'w chael a'r astell arni yn sierhau mai ei groes ef ydoedd. Am yr wrol-gamp hon o eiddo y bendefiges, y cânodd un o'r hen feirdd fel y canlyn:—

"Diboen ferch Coel Godebog
I gred a gafes y grog:
Ugain tri chant â i w'rantu,
Oed Iesu, Duw Dywysog."

Gwyddoch ei bod yn awr y Grawys, a bydd y Pasg yn fuan. Wel, pe baech yma Gwener y groglith, synech a galarech wrth weled minteioedd o'r Armeniaid, Ceptiniaid, a'r Groegiaid, yn rhith groeshoelio Arglwydd y bywyd; seremoni rithiol a melldigedig o'r oll a wnaed yn wirioneddol 1825 o flynyddoedd yn ol. O drueni! Os cydunwch, ni a gadwn gwrdd gweddi y noson hono, i ofyn i Iesu amlygu eu hynfydrwydd iddynt a'u hachub. Wel, dewch, dyma dorf yn dyfod at y cwrdd. O! onidê? Wel, wel, dyma yr hen addewidion yn esgor. Onid ydynt yn brydferth. Ië, ïe, dyma y gwr o Iuddew a'i odrau llaes. A welwch chwi yr Arab tlawd yna yn ymaflyd mor garedig a gostyngedig yn yr Iuddew? Ië, a'r Aiphtyn pygddu acw yn ymwthio i ochr y Rabbi mawreddog draw. O! y maent yn dorf gariadus, onid ydynt yn sobr a siriol. Gallwn feddwl y bydd yma dyrfa fawr. Cymer haner awr iddynt gymeryd eu lleoedd oll, ac yna dechreuir, ac felly y bu. Cododd y llywydd a galwodd ddau i ddarllen bob yn ail adnod—un yn y drydedd bennod ar ddeg a deugain o brophwydoliaeth Esaiah, a'r llall yn y seithfed bennod ar hugain yn efengyl gan Matthew. Yna, gorchymynodd ganu y driugeinfed bennod o Esaiah, pa un a ganwyd gyda y fath rym fel yr oedd y tŷ mawr fel yn y grynfa gan rym y sŵn. Yna, ymgrym-

wyd ac ail adroddwyd gweddi yr Arglwydd, gan y dorf yn dra effeithiol, gan ddyblu a threblu ar "Deled y deyrnas." Yna, cododd y llywydd a darllenodd y *commisiwn* efengylaidd, set diwedd yr efengyl gan Mathew. A chyda ei fod yn seinio y gair Amen, cydseiniai yr holl dorf Amen, a thywalltai yr Ysbryd yr enaint nefol i waered, nes oedd wynebau cannoedd yn wlyb gan ddagrau. Yna, cynnygiwyd, eiliwyd, a phenderfynwyd fod i bob un ddewis maes ei lafur. Ar hyn, dyma y naill ar ol y llall yn dadgan eu penderfyniad i fyned i'r gwledydd lle y crwydrasant gan ddirmygu Iesu o Nazareth, mewn modd ystyfnig, i draethu am rinweddau ei aberth mawr i godi a chadw Iuddewon a Chenedloedd, enwaediaid a dienwaediaid, trwy ffydd ac wrth ffydd. Beth a wnawn ni, blant, y mae yr "Arweinydd" yna yn ymddangos yn anesmwyth am ddychwelyd, cyn i ni gael haner y cwrdd. Y mae yn ormod am *ystori* fer. Y mae arnaf awydd aros i glywed *setlo* 'y *fund*. Tebyg y bydd Rothschild a'i enw yn gyntaf am bum' can mil, heblaw llong Genadol ar ei draul ei hun; ond rhaid cychwyn, neu cawn sen yr "Arweinydd," a chanwn englyn bychan fel hyn:—

"Cofnod a rhyfeddnod fyth,
O daliad yr Oen dilyth.

Os na erys yr "Arweinydd" yn hwy y tro nesaf yn ddiddig hefyd, ni a gymerwn ryw gyfaill neu genad i'n gwasanaethu, blant. Y mae eisiau amser ar ol dyfod mor bell, a'r pethau mor ddyddorol i ni, beth bynag.

*Rome.* T. W.

---

## "NID WYF YN BAROD YN BRESENOL."

AR derfyn y gwasanaeth ar y Sabboth, sylwai gweinidog ar ddyn ieuanc prydferth, ei fod o dan argraffiadau y weinidogaeth. Wedi iddo gael cyfleustra i ymddyddan ag ef,

gwasgu ato ei ddyledswydd o edifarhau a dychwelyd, ac ymddiried mewn ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist. I'r hyn yr atebodd, "Nid wyf yn barod yn bresenol, eithr yr wyf wedi penderfynu ymofyn am iachawdwriaeth fy enaid yn mhen pythefnos." Yn mhen ychydig, galwyd y gweinidog i ymweled ag ef ar ei glaf wely. Dywedai wrth y gweinidog, "Cefais wahoddiad at y Gwaredwr y Sabboth, ac atebais nad oeddwn yn barod y pryd hyny, ac yn bresenol yr wyf yn anmharod i farw." Ar ymweliad dilynol, dywedodd wrth y gweinidog, "Nid oeddwn yn barod i geisio Duw y Sabboth, ac nid oeddwn yn barod i farw pan ddaeth cenad angeu i'm cyfansoddiad, ac yn awr nid wyf yn barod i orwedd yn y trueni anobeithiol; ond y mae yn rhaid myned i ddyoddef byth o dan Ddwyfol ddigofaint. Y mae y ddwy wythnos heb ddyfod i ben, pan y bwriedais wneuthur cymmod â Duw. Yn awr, y mae afiechyd ac angeu wedi fy nal, ac y mae uffern yn agor ei safn i'm derbyn. Yr wyf yn golledig dragywyddol."

Anwyl wrandawyr yr efengyl ag y mae y weinidogaeth yn amryson â'ch cydwybodau, peidiwch ag oedi yn hwy heb ymostwng wrth draed trugaredd. Cofiwch mai "Yn awr yw yr amser cymeradwy, heddyw yw dydd yr iachawdwriaeth." Nid oes un addewid y fory. Fe ddichon mai hanner nos heno y bydd "brenin y dychryniadau" wedi gwneuthur ei orchwyl arnoch, a phob gobaith am fod yn gadwedig wedi colli am byth.

M. J. MEREDITH.

---

## DYLEDSWYDD GWEINIDOGION YR EFENGYL TUAG AT YR YSGOL SABBOTHOL.

YR ydwyf yn barnu fod yr Ysgol Sabbothol, addysgu a diwyllio y genedl ieuainc sydd yn codi, yn un rhan arbenig o ofal a siars y gweinidog, ac na bydd y gweinidog yn ei le heb deimlo hyny, chwaethach ystyried ei hun uwchlaw

hyn. Nid ydym heb fod dan orfodiaeth i feddwl fod y dosbarth diweddaraf o bregethwyr yn rhŷw gefnu ar waith yr Ysgol Sabbothol, fel rhai nad ydynt yn teimlo dim dyddordeb ynddi. Clywais amryw arolygwyr yn dyweyd yn aml fod yn anhawdd iawn ganddynt ofyn i bregethwyr ddyfod i'r Ysgol Sabbothol, am fod rhai yn arwyddo fod hyny yn sarhad arnynt. Gwyddom yn dda am rai a fuont fwyaf gwasanaethgar gydag achos crefydd, eu bod yn rhai ymdrechgar a ffyddlon yn y rhan hon; ac nid ydym yn deall fod llafurwaith yr Ysgolion Sabbothol ddim yn anghydweddol â'r efrydiaeth ddyfalaf.

Gwelwyd llawer pregethwr bychan o ran dawn, ond edrychwch arno, y mae yn ffyddlon dros ben gyda yr hol ordinhadau; ïe, yn gwneyd mwy dros enw Iesu Grist na'r un dawnus a medrus sydd fel arall; ac y mae yn ddiamheu y bydd ei lawenydd yn fwy yn y diwedd. Yn wir, felly y dylai pob gweinidog fod, yn enwedig gartref. Dyna un peth gwrthun iawn ar weinidog—sef ei fod yn aros gartref yn ei dŷ boreu Sabboth, pan fyddo yr Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal, ac yntau yn byw o fewn *block* iddi. Ond, dyma ymddygiad saith mwy gwrthun; pe byddai Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal yn nhŷ y gweinidog ei hun, fel y mae yn aml, ac yntau yn ymneillduo i ystafell arall o'r tŷ; ac ar ganol yr Ysgol, yn dyfod i ymofyn rhyw lyfr at ei wasanaeth i'r ystafell y byddai yr Ysgol yn cael ei chynnal, a gwneyd dim mwy o sylw o'r Ysgol, mwy na phe byddai ond ychydig o blant yn ymddyddan a'u gilydd. Dyma ymddygiad gwarthus dros ben; ac nid yn unig hyny, ond yn bechadurus iawn. Ystyried y cyfryw, bryd bynag y byddont yn pechu, eu bod yn sicr y pryd hyn.

Rhaid terfynu yn bresenol, rhag blino yr "Arweinydd" (nis gwn yn iawn pa fath dymher sydd ganddo), gan ddymuno i hyn fod o lês.

*Welsh Prairie, Wis.* GRIFFITH T. WILLIAMS.

## DOSRANIAD Y BEIBL.

MAE y gair BEIBL yn dyfod o'r Groeg, ac yn arwyddo Y LLYFR. Gelwir y dadguddiad dwyfol wrth yr enw hwn, am mai efe yw y *Llyfr penaf, a Llyfr y llyfrau.*

Rhenir ef yn ddau ddosbarth, a gelwir hwynt yr *Hen Destament a'r Newydd.* Mae y gair Testament yn dyfod o'r Lladin, ac yn arwyddo ewyllys neu lythyr cymun, ond y gair Groeg am dano a arwydda Cyfammod.

Ysgrifenwyd yr Hen Destament ar y cyntaf yn yr iaith Hebraeg, ac ychydig o hono yn y Galdaeg, a chyfieithwyd ef wedi hyny i'r Groeg, cyn dyfodiad Crist yn y cnawd. Y Testament Newydd a ysgrifenwyd yn yr Hebraeg a'r Groeg ar ol esgyniad Crist i'r nef. Llefarwyd y cwbl gan ddynion sanctaidd Duw, megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan. 2 Pedr i. 21. Yn raddol y cafodd yr ewyllys dwyfol ei ddadguddio, nid ar unwaith, ond o bryd i bryd, fel yr oedd angen yr eglwys yn gofyn. Yr oedd dros 1,500 o flynyddoedd rhwng ysgrifeniad y llyfr cyntaf, sef Genesis, gan Moses, a'r llyfr olaf, sef y Dadguddiad, gan Ioan. Seliodd Ioan y rhôl sanctaidd i fynu â'r geiriau nodedig hyny yn Dat. xxii. 18, 19. Ac felly, am bethau rheidiol i'w gwybod a'u credu, nid ydym i ddysgwyl un dadguddiad yn mhellach.

| | Llyfrau. | Pennodau. | Adnodau. |
|---|---|---|---|
| Cynnwysa yr Hen Destament, | 39 | 929 | 23,214 |
| " Test. Newydd, | 27 | 260 | 7,959 |
| Y ddau yn nghyd, | 66 | 1,189 | 31,173 |

Y llyfr canol yn yr Hen Destament yw y Diarhebion. Y bennod ganol yw Job xxix. Yr adnod ganol yw 2 Cron. xx. rhwng yr adodau 17 a 18.

Y llyfr canol yn y Testament Newydd, yw yr 2 Epistol at y Thessaloniaid. Y bennod ganol sydd rhwng y 13 a'r 14 o'r Rhufeiniaid. Yr adnod ganol yw Act. xvii. 17.

Y bennod ganol a'r leiaf yn y Beibl yw yr cxvii. Salm. Yr adnod leiaf yw Exod. xx. 13. ac ynddi mae dau air, a phump o lythyrenau. Yr hwyaf yw Esther viii. 9, ac ynddi mae 93 o eiriau, a 355 o lythyrenau yn ol argraffiad Rhydychain, a 357 yn ol argraffiad ystrydeb Caergrawnt.

Mae pob un o'r adnodau canlynol yn cynnwys holl lythyren-

au yr egwyddor yn gyflawn, sef, 2 Bren. xvii. 13. Dan. v. 7. Act. v. 21. Dat. ii. 13. Mae 2 Bren. xix. ac Esa. xxxvii. yr un fath.

---

## RHEOLAU YMDDYGIAD BECHGYN A GENETHOD IEUAINC.

RHEOL 1. Ufuddhewch yn llawen i holl orchymynion Duw.—*Y rheswm. Oblegid gwna Duw yr holl rai da pan fyddont farw, yn ddedwydd yn y nefoedd, a'r holl rai drygionus yn druenus yn uffern.*

2. Darllenwch y Beibl sanctaidd.—*Y rheswm. Canys ynddo y dysgwch* pa beth *y mae Duw yn ei orchymyn.*

3. Na wnewch ddim pan wrthych eich hun, y byddai arnoch gywilydd ei wneyd pe byddai rywun yn eich gweled.—*Y rheswm. Am fod Duw yn eich canfod bob amser.*

4. Gwnewch i ereill, fel yr ewyllysioch iddynt hwy wneuthur i chwi.—*Y rheswm. Gwna hyn i bawb eich caru chwi.*

5. Pan wneloch ddrwg, cyfaddefwch eich bai yn rhwydd.—*Y rheswm. Canys yna maddeua Duw i chwi.*

6. Gweddiwch foreu a hwyr.

7. Diolchwch i Dduw am bob peth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr.

8. Ewch yn gyson i'r addoliad cyhoeddus, ac ymddygwch yn addas yno.

9. Ufuddhewch i'ch Rhieni, Athrawon, ac Athrawesau.

10. Cerwch eich brodyr, eich chwiorydd, a'ch cydysgoleigion.

11. Na ddywedwch ddrwg am neb.

12. Byddwch yn dirion wrth bawb.

13. Byddwch onest a chyfiawn yn eich holl fasnach.

14. Dywedwch y gwir bob amser.

15. Byddwch ddiwyd yn mhob peth.

16. Gwnewch yn wastad fel y perir i chwi.

17. Pan fyddoch yn glaf, byddwch amyneddgar, a gweddiwch ar Dduw i'ch gwneyd yn well.

*Y rheswm. Canys gorchymynir yr holl bethau hyn gan Dduw, rhag yr hwn nid oes dim dirgel yn guddiedig.*

Chwiliwch eich hunain bob dydd, pa un a ymddygasoch yn ol y rheolau hyn.—*O'r Drysorfa i'r Y. S.*

## Y TY A'R FFENESTRI TYLLOG.

"LLEDDWCH fi o'r ffordd," meddai dynes egwan dymherog, dan ddyrnodiau creulon y dyn oedd wedi addaw bod yn amddiffyn iddi. "Lleddewch fi o'r ffordd; gwell gen i farw na byw fel hyn—y blaidd mileinig—ai dyma—Ow! Ow! Ow!" Yr oedd y teulu annedwydd hwn yn byw mewn tŷ bychan ar fin y ffordd; y tô yn gollwng defni, y dodrefn yn ychydig a gwael, y ffenestri yn ddrylliau, a'r tyllau wedi eu llenwi â hen obenydd, a charpiau, a gwellt. Yr oedd clawdd yr ardd yn fylchau oll; a buasai yn dra anhawdd gwybod pa le oedd y fynedfa wreiddiol iddi, lle gynt y crogid y llidiart fechan, oedd yn awr yn y ffos, o dan draed moch y cymydogion. Y plant yn garpiog, budron a nychlyd yr olwg arnynt. Mewn gair, yr oedd pob peth o amgylch y fan yn dangos aflerwch, anghysur, a thlodi. Ar yr adeg y cyfeirir ati yn nechreuad ein hanesyn, dygwyddodd i ŵr boneddig duwiol droi i mewn i'r "tŷ a'r ffenestri tyllog," a gofyn am ddyferyn o ddwfr i'w yfed. Anerchodd hwynt yn dyner, a dymunodd arnynt fyw mewn heddwch. "Paham," meddai, "y gwnewch eich hunain a'ch plant yn annedwydd?" "O! Syr," atebai y gwr, "ychydig a wyddoch chwi am drallod y dyn tlawd; wedi gweithio yn galed o'r boreu glas dan nos, nid oes gen i ddim gwell i'w fwyta na'r crystyn bara sych yma. Rywfodd, yr ydym yn gecrus a chwerylus er ein gwaethaf." Yfodd y gwr dyeithr y dwfr o'r darn llestr a estynwyd iddo gan un o'r plant, a dywedodd gyda theimlad a serch—(oblegid yr oedd yn gweled Beibl yn y tŷ), "Gyfeillion anwyl, yr wyf yn gwybod am rywbeth a fyddai yn gynnorthwy mawr i chwi i fyw yn y byd trafferthus presenol; ac y mae y trysor hwn wedi ei guddio dan eich cronglwyd chwi. Chwiliwch am dano; ac os bydd i chwi ei gael, a'i ddefnyddio yn iawn, byddwch mor gyfoethog a dedwydd ag y dymunech byth fod." Ymadawodd y boneddwr; ac ar y cyntaf yr oeddent yn meddwl mai cellwair yr oedd. Ond pan y cofient am ei ddifrifoldeb mawr wrth eu hanerch, yr oedd raid iddynt gredu fod rhywbeth yn yr hyn a ddywedodd. Felly dechreuasant chwilio am y trysor. Pan âi y wraig i'r coed i gasglu tanwydd, yr oedd y gwr yn mhob congl o'r tŷ yn chwlio yn brysur am y trysor; a phan fyddai yntau gyda'i waith, yr oedd hithau yn chwilio yn hir a phryd-

erns am dano—ond y cwbl yn aneffeithiol. Yr oedd eu tlodi, eu cynnen, a'u hanghysur yn myned fwyfwy. Un diwrnod, pan oedd y wraig wrthi ei hun yn pensynu uwch ei gofid, cofiodd eilwaith am eiriau y boneddwr; edrychai yma —edrychai acw—nes o'r diwedd iddi ddygwydd taflu ei golwg ar yr hen Feibl oedd yn gorwedd ar y drestl dlawd, dan haenen o lwch. Cydiodd ynddo, ac ar ol ei agor, y peth cyntaf a welodd, wedi eu hysgrifenu ar y ddalen wen â llaw anwyl mam, oedd yn awr yn malurio yn y pridd, ydoedd y geiriau hyny:—

"Mae'n well i mi gyfraith dy enau,
Na miloedd o arian ac aur."

Aethant yn saeth i'w chalon. Gwasgodd hen Feibl ei mam at ei mynwes. Darllenodd allan o hono; a theimlodd mewn modd na teimlodd erioed o'r blaen, tra yr oedd ei dagrau yn llifo ar ei ddalen ddrud. Darllenodd ef i'w phlant, syrthiodd ar ei gliniau, a gweddiodd yn daer drostynt oll; a'r cwbl heb yn wybod i'w gwr.

Un noswaith, dychwelai adref yn anynad a digllon fel arferol; ond yn lle ei gwrdd â geiriau cas a phigog, derbyniodd y wraig ef yn siriol, a dywedodd yn deimladwy a serchog, "O! fy mhriod anwyl, yr ydym wedi pechu; ac i ni ein hunain y mae diolch am ein gofid a'n gwae i gyd. Rhaid i ni dreio byw yn well." Yntau mewn syndod yn llygadrythu arni, a ofynodd, "Beth ydych chwi yn ddyweyd?" Hithau, â'r dagrau yn ail dreiglo dros ei gruddiau teneuon a gwelw, a estynodd yr hen Feibl, ac a floeddiodd mewn per orfoledd, "DYMA Y TRYSOR! DYMA Y TRYSOR! y buom yn chwilio cymaint am dano." Eisteddai y gwr i lawr, ac ni wyddai beth i'w ddyweyd. Dechreuodd y wraig ddarllen am gariad Iesu, ei ing, ei waed, a'u angeu. Cerddodd yr hylif ysbrydol o'i chalon hi i galon ei phriod, a chynhyrfwyd ei enaid i'r fath raddau nes oedd yr hen gadair wellt yn siglo dano.

Yn mhen y flwyddyn, dygwyddodd i'r boneddwr duwiol fyned heibio i'r "tŷ a'r ffenestri tyllog" yr ail waith; a phan oedd yn dynesu at y fan, dygwyd ar gof iddo am y teulu truenus oedd yn byw ynddo; a phenderfynodd droi i mewn. Ond erbyn dyfod at y drigfan, synai weled y fath gyfnewidiad yn y lle. Yr oedd clawdd yr ardd wedi ei adgyweirio, a'r llidiart yn crogi yn daclus ar ei cholyn,—y ffenestri tyllog wedi eu paentio yn brydferth, heb na thwll na chrac yn per-

thyn iddynt: a'r hen obenydd, a'r carpiau, a'r gwellt a chwydai unwaith yn ddigywilydd drwyddynt, wedi myned yn aberth llosg;—y plant yn lân, bochgoch, a dedwydd—a'r ci trwyn smwt sarug fel pe buasai wedi newid ei natur. Aeth y boneddwr i fewn. "Sut yr ydych chwi yma heddyw, bobl dda?" meddai. Edrychai y gwr a'r wraig arno yn syn am fynyd; ond adnabuant ef yn y fan, ac ymafaelasant un yn mhob llaw iddo; a chan faint eu syndod a'u llawenydd o'i weled, ni allent ddyweyd gair. O'r diwedd, torasant allan i waeddi, "Diolch i chwi, Syr; *yr ydym ni wedi cael y trysor*, ac yn awr y mae bendith Duw ar ein tŷ, a'i dangnefedd yn ein mynwes!" Wylai y boneddwr—wylent hwythau, ac wylai y plant; ond nid yn aml y ceir y fath orfoledd ag a gafwyd yn yr wylo a fu y pryd hwnw yn y "*ty a'r ffenestri tyllog*" mwy. Gelli argraffu ar gapan ei ddrws, "Wele, gwn aethpwyd pob rpeth yn newydd!" Gwelwn werth y BEIBL:—

Y gwerth, y gwerth o'i chwilio,
A'r gwerth o ddweyd yn dda am dano.—*O'r Cronicl.*

---

## DYGWYDDIAD OFNADWY.

MEWN pentref heb fod yn mhell o Lymn, swydd Cheshire, Lloegr, er ys amser yn ol, yr oedd gwr a gwraig yn byw, ac yr oedd hynodrwydd eu cymeriad yn nodedig i bawb yn y gymydogaeth. Yr oedd y gwr yn gybyddlyd ac yn grintachlyd i'r eithafion, a bob amser yn cwyno ei dlodi; gallesid meddwl fod gwaed ei galon yn colli pan fyddai hyd yn nod yn rhoddi arian i gael gwir angenrheidiau bywyd; ac yr oedd ef a'i wraig a'i mam bron a llewygu gan eisiau. Yr oedd y wraig yn nodedig o nwydwyllt; a phan gynhyrfid hi, arllwysai y melldithion mwyaf diarbed yn erbyn gwrthddrychau ei dialedd, yn enwedig ei gwr, yr hwn a dalai iddi mewn oernadu a gofidio nes cyffroi ei holl gyfansoddiad, bryd bynag y gofynid iddo am arian. Byddai hithau, yn nghanol cawodydd o lwon a rhegfeydd, yn llawenychu yn y gobaith o'i weled yn gelain farw, a dymunai weled ei enaid yn y trueni. Buont fyw yn y sefyllfa annedwydd hon amryw flynyddau; ond yr oedd cybydd-dod un a nwydau y llall fel yr oeddent yn heneiddio, yn gwneyd y deuddeng mis olaf o'u bywyd yn briodol i'w galw yn "uffern ar y ddaear."

Ar y 9fed o Ionawr, 1821, codai rhyw anghydfod newydd rhyngddynt, ac aethant i deimladau mor boethlyd, fel y penderfynodd y wraig adael ei gwr; ac wrth ffarwelio ag ef, sicrheai na ddywedai air wrtho byth mwy tra byddai byw.

Cyn iddi braidd orphen hysbysu ei phenderfyniad nwydwyllt, collodd ei lleferydd yn y fan; ac yn mhen ychydig wedi hyny collodd wasanaeth ei hochr dde'. Bu yn y sefyllfa hon am dri diwrnod, ac yn y cyfamser ychydig o sylw a delid iddi, y teulu yn meddwl nad oedd ond pangfa o sarugrwydd, fel yr oedd wedi bod i raddau droion o'r blaen. Tybient erbyn hyn, fodd bynag, fod rhywbeth mwy na rhagrith yn ei hymddygiad. Anfonwyd am feddyg, yr hwn a hysbysai ei fod yn ofni ei bod yn rhy ddiweddar. Cynghorai y gwr i brynu peint o frandi, a gwneyd iddi yfed yn helaeth o hono. Y gwr, wedi clywed hyn a wrthwynebai o herwydd y draul, gan awgrymu y byddai hanner peint yn ddigon, a dyna a gafwyd, ond nid cyn iddo ddywedyd drosodd a throsodd nad oedd ganddo ddim arian, ac yn ofer y dymunai ar y dafarnwraig ei goelio am danynt. Cafodd y tro hwn y fath effaith ar ei feddwl wrth ddyfod a'r brandi adref fel y trodd i'w ysgubor, a rhoddodd raff am ei wddf, a gosododd derfyn ar ei hoedl druenus. Dranoeth ar ol ei gladdu bu farw y ddynes druenus, mewn poenau dirfawr, heb ddyweyd gair byth ar ol ei phenderfyniad ynfyd, ac ymddangosai nad oedd yn cofio dim a aeth heibio.

Wrth chwilio dillad y dyn annedwydd ar ol tori y rhaff, cafwyd chwech o *notes* ac ugain swllt yn arian yn ei logell; ac ar y dydd y bu farw ei wraig cafwyd deuddeg o *notes* wedi eu cuddio tu fewn i'w hen wasgod. Yna chwiliwyd y tŷ, a chafwyd 90 gini, mewn tuag ugain o wahanol leoedd. Yr oedd rhai mewn darnau o hen ddillad, eraill mewn papyrau, a rhai mewn hen flwch yn nghanol rhasglion (*shavings*). Yr oedd yr adyn tlawd wedi gadael ar ei ol dros *fil o bunnau* yn arian, heblaw ystâd gwerth deugain punt y flwyddyn. Yr oedd heb ddim plant, gan hyny rhanwyd hwy i'w berthynasau, a hyderwn i well dyben.

Mae yn anhawdd dychymygu am amgylchiadau mwy ofnadwy, na diwedd mwy truenus, i ddau yn cyfarfod mor ddysymwth mewn byd arall.—*N. Y. M.*

## NI DDAW DIM DAIONI O'R PLANT.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn cael pob peth a ofynont gan eu rhieni.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn arfer creulondeb at greaduriaid direswm.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn gwario eu sentiau am bethau afreidiol.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn tyfu i fyny heb archwaeth at ddarllen.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn cael eu ffordd eu hunain mewn pethau bychain.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn dyweyd celwydd yn y pethau lleiaf.

---

## ANRHEG YR ARAB.

Yr oedd Arab tlawd yn teithio yr anialwch, pryd y cyfarfyddodd â ffynon loyw a dysglaer o ddwfr croyw. Yr oedd mor gynnefin ag yfed dwfr o ffynonau heilltion, fel y daeth i'w feddwl y byddai y cyfryw ddwfr yn deilwng i frenin; yna llanwodd ei gostrel ledr o'r ffynon, a phenderfynai ei gyflwyno i'r archoffeiriad (*calif*) Mahometanaidd â'i law ei hunan.

Yr oedd yn rhaid i'r creadur tlawd deithio gryn bellder cyn cyrhaedd presennoldeb y penaeth, yna cyflwynodd ei offrwm wrth ei draed ef. Ni ddangosodd yr archoffeiriad un diystyrwch o'r anrheg oedd wedi ei ddwyn iddo gyda chymaint o drafferth. Gorchymynai dywallt peth o'r dwfr i gwpan, ac yfai ef gan ddiolch yn siriol i'r Arab, a gorchymynai ei wobrwyo am ei garedigrwydd.

Dangosai gwyr y llys awydd mawr i brofi y dwfr rhyfeddol; ond er syndod i bawb, ni chà'i neb brofi un dyferyn.

Ar ol i'r Arab tlawd ymadael gyda chalon lawen, troai yr archoffeiriad at ei lyswyr, gan egluro ei ymddygiad yn y dull canlynol:—

"Yn ystod teithiau yr Arab, yr oedd y dwfr yn ei gostrel wedi myned yn anmhur a diflas. Ond yr oedd yr offrymiad oddiar gariad, ac fel y cyfryw derbyniais ef gyda phleser.

Eithr yr oeddwn yn gwybod pe buaswn yn gadael i arall gymeryd o hono, na wnai efe guddio ei ddiflasdod; ac felly gwrthodais adael i chwi ei brofi, yn lle briwio teimladau y dyn tlawd."

Yr hyn oll all pechaduriaid ei roddi i'w Brenin, sydd gyffelyb i'r dwfr roddodd yr Arab; eto, yr un modd ag yntau, gallwn ni dybied ei fod yn deilwng o dderbyniad gan Dduw. Ond ni wna efe wrthod—nid yw yn diystyru offrwm cariad a ffydd; oblegid y mae wedi addaw i'r neb a roddo i'w yfed gwpanaid o ddwfr oer i ddysgybl yn enw dysgybl, na chyll efe ei wobr.—*N. Y. Independent.*

---

## DETHOLION.

**Hen Awrlais.**—Mae yr awrlais (*clock*) hynaf yn America, yn llyfrgell Philadelphia—y mae yn agos i ddau can' mlwydd oed. Gwnaed ef yn Llundain, ac y mae yn cadw amser da; dywedir ei fod wedi bod yn meddiant Oliver Cromwell.

**Ffynon Ddofn.**—Mae yn Louisville, Ky., ffynon yn bedwar cant ar bymtheg o droedfeddi o ddyfnder; neu ychwaneg na'r drydedd ran o filldir. Dyma y ffynon ddyfnaf yn y byd. Mae ffynon yn agos i Paris, Ffrainc, yn ddau cant ar bymtheg a phedwar ugain a deg o droedfeddi o ddyfnder.

**A all hyny fod?**—Dywedir fod yn ofynol cael dros chwe' chant o flynyddoedd, yn ol cyllid presenol y Cymdeithasau Beiblaidd, i roddi Beibl i bob pagan; a gellir gwneyd hyn mewn un flwyddyn â'r arian a werir yn flynyddol yn Prydain am ddiodydd meddwol.

**Yr Ymdaith tua'r Bedd.**—O! y fath orymdaith alluog sydd wedi myned tua'r bedd yn ystod y flwyddyn a aeth heibio. Yn ol y cyfrif arferol, y mae deng miliwn ar hugain a phum' can' mil, wedi myned i lawr i'r bedd er Ion., 1857. Pe gosodid hwynt yn orymdaith drefnus, symudent yn mlaen yn llinell dros dri chant ar ddeg i bob milldir oddiamgylch y ddaear. O'r fath olygfa, a fyddai eu gweled yn symud yn mlaen, a'r "*Dead March*" yn rhoi ei nodau angladdol ar eu mynediad i'r dystaw fedd.

## ADFYWIADAU CREFYDDOL.

PWY sydd yn cofio y fath amser a'r dyddiau presenol? Dywed rhai na welsant y fath gyda golwg ar grefydd er y flwyddyn 1843, eraill na welsant er 1830; rhai er 1816: a llawer yn dyweyd na welsant *erioed*, ac na chlywsant *erioed* y fath hanesion dyddorol ag sydd y dyddiau hyn. Gellid meddwl fod y wlad yn berwi drwyddi—y lefain yn gweithio yn mhawb bron mewn llawer ardal; ïe, gwelsom hanes o Simsbury, Conn., yn dyweyd nad oedd gymaint ag *un* person mewn oed heb ddychwelyd at grefydd. Yn y dinasoedd a'r trefydd bron yn ddieithriad gwelir fod y cyfarfodydd gweddiau yn cael eu cynnal bob dydd, ac effeithiau nodedig a neillduol yn eu dilyn—y cewri mwyaf rhyfygus mewn annuwioldeb yn cwympo o flaen yr orsedd, fel Saul o Tarsus, i lefain am drugaredd. Dywedir fod pump o gyfarfodydd yn cael eu cynnal bob dydd mewn un capel yn Cleveland, Ohio, gan ddechreu am 6 y boreu a diweddu am 9 yn yr hwyr. Nodir y dychweledigion wrth y degau, yr ugeiniau a'r canoedd yn y gwahanol leoedd bron yn ddieithriad, lle cynnelir y cyfarfod hyn—aml iawn y gwelir hwy yn rhifo o un hyd yn ddau gant, neu ychwaneg, mewn un eglwys wedi eu hychwanegu yr wythnosau diweddaf. Un peth nodedig yw, fod y gwaith mawr yn llwyddo gyda rhyw ddystawrwydd neillduol—nid swn mawr nes dychrynu dynion i wallgofrwydd, ond teimlad dwys a dystaw yn ymaflyd yn meddyliau pechaduriaid, mewn atebiad i weddiau eglwys Dduw ar eu rhan; a hyderwn mai Ysbryd Duw sydd yn gweithio. Beth fydd diwedd y pethau hyn? Tebygem fod rhyw ddyddiau hyfryd gerllaw—y dyddiau a ragfynegwyd gan y prophwydi, i'r Arglwydd dywallt ar ei bobl ysbryd gras a gweddiau; ac y bydd yr Arglwydd yn Frenin ar yr holl ddaear, a phob cnawd yn dyfod i addoli ger ei fron. Brysio wnelo y dydd!

# NODIADAU DETHOLEDIG.

## YR YSGRYTHYRAU.

MOR fynych, mewn myfyrdod ar yr hyn y bu y Cristion yn ei ddarllen, y cafodd efe ei serchiadau wedi eu dercháfu, a'i enaid mewn rhyw fesur wedi ei ddwyn at Dduw! Trwy fyfyrdod y mae y gair yn gwreiddio yn ddyfnach ynom, yn gwneyd argraff grymusach ar ein meddyliau, ac yn darparu defnyddiau i weddi.—*Parch. S. Heywood.*

GRISTION, dy lamp di yw gair Duw. A wyt ti yn ei ddefnyddio ef yn wirioneddol a chydwybodol i'r dyben i drefnu dy gamrau wrtho? Ond rhaid i ti ymfoddloni ar gael dy ffordd dy hun yn eglur o'th flaen: bydd i gysgodau a thywyllwch, ac yn aml dywyllwch dudew, orwedd ar ragluniaethau Duw yn y byd o'th amgylch. "Y peth y mae ef yn ei wneuthur, ni wyddost ti yr awrhon." Gall dy ffordd dy hun hefyd, o bell, fod yn dywell: ond cymer gysur, y mae genyt ti oleuni a fydd yn sicr o lewyrchu arni pan y deui yma. Bydd i ryw addewid neu ryw orchymyn na ddeallir genyt eto, am na buost fe allai erioed eto yn yr amgylchiadau i'r rhai y mae yn gyfaddas, gael ei hagor a'i chymhwyso atat ti; a chyfyd goleuni i ti yn y tywyllwch.—*Parch. C. Neale.*

YR addewidion ydynt ffynonau o gysur i'r eglwys; ac y mae gweddi a moddion gras megys llestr i dynu dwfr o'r ffynnonau hyn. Y mae dysgwyl bendithion, heb geisio yn ddyfal am danynt, mor ynfyd a phe byddai i ffarmwr esgeuluso aredig neu hau ei diroedd, ac eto edrych am gynauaf ynddynt. —*Archesgob Secker.*

GOGONIANT i Dduw am yr oruchwyliaeth ogoneddus hon o ddwyfol gariad neu ewyllys da i ddynolryw, yn yr hon y mae trugaredd Duw a'i wirionedd, neu ei gyfiawnder, yn cydgyfarfod mewn undeb, trwy i Grist ddyfod yn gnawd i farw er ein mwyn ac yn ein lle; dirgelwch teilwng i gael ei

glodfori gan dafodau angelion a dynion, yn a thrwy y bydysawd.—*Dr. Hales.*

Fe allai mai y dywyllaf a'r fwyaf marwol o holl weithredoedd Pabyddiaeth, yw y gwaharddiad i fyfyrio gair Duw; gan fod hyny yn selio ac yn bytholi pob cyfeiliornad arall, ac yn cau allan, mor bell ag y mae yn ddichonadwy, bob gobaith am wellâd a diwygiad. Pe buasai yn ngallu rhyw fôd marwol i rwystro goleuni yr haul yn ei daith o'r nef i'r ddaear; i ddal, ar haner y ffordd, y gwlawogydd ag oeddent yn disgyn i ffrwythloni y ddaear; a phe arferasai efe allu mor rymus i ddyben mor resynol, gan droi byd ffrwythlawn yn ddiffrwyth, a dyfetha yr holl bobl ynddo, er mwyn budrelw—oni fyddai y fath drosedd a hwn yn ormod i'w adrodd mewn iaith ddynol? Pa beth gan hyny a ddywedwn ni am gyfundraeth ag sydd yn attal rhediad y gwirionedd hwnw ag sydd yn oleuni ac yn fywyd i'r ysbryd anfarwol, ac o ganlyniad sydd yn rhagori cymaint ar oleuni yr haul ag ydyw tragywyddoldeb ar amser? Llefarodd Duw o'r nef; y mae yr offeiriaid Pabaidd yn ceisio boddi ei lais ef. Rhoddodd Duw yr Ysgrythyrau megys llythyr oddiwrtho ef ei hun at ddynolryw; y mae Pabyddiaeth yn gosod sêl ar y gyfrol. Gorchymynodd Duw i ni ddarllen; y mae Pabyddiaeth yn gorchymyn, "Na ddarllenwch." Fel hyn y mae Pabyddiaeth yn cau i fyny, fel pe byddai, byrth paradwys. Y mae yn dywedyd wrth Dduw, "Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach." Hi a fynai gau allan y Duwdod o'i amherodraeth ei hun, ac ysbeilio dyn o'i iachawdwriaeth.—*Booker.*

---

## CYNLLUN O BREGETH.

1 Thes. v. 25. "O frodyr, gweddiwch drosom."

DYMA Paul er ei holl ddoniau naturiol, ysgoleigaidd, a gweinidogaethol yn rhoddi ei hun yn gardotyn gostyngedig o flaen eglwys Thessalonica, i grefu, drosto

ei hun a'i gyd-lafurwyr, am le yn eu gweddiau! Os oedd ef yn gweled angen hyn, llawer mwy y dylai gweinidogion a phregethwyr yn yr oes hon.

I. Yr hyn a ddeisyfir.

Eglwysi Crist, gweddiwch dros eich pregethwyr.

1. Am i rym duwioldeb gael ei brofi yn helaeth yn eu heneidiau eu hunain. Ni wna dawn na dysg na dim arall y tro heb hyn.

2. Am iddynt gael eu cadw oddiwrth y peryglon i ba rai y maent yn agored: balchder, hunan-gais, diogi, &c.

3. Fel y byddont weinidogion cymhwys y Testament Newydd. Tuag at hyny rhaid iddynt fod yn hyddysg yn yr Ysgrythyrau; yn alluog i gyfranu y gair yn eglur a grymus; ac amrywiaeth cyfaddas ganddynt at amgylchiadau eu gwrandawyr.

4. Am i ffyddlondeb a doethineb hynodi eu llafurwaith.

5. Am lwyddiant ar eu hymdrechiadau.

II. Rhesymoldeb y cais.

1. Mae y cyfundeb sydd rhwng pregethwyr a gwrandawyr yn dangos hyn. Os yw y gweinidogion yn llafurio er llesiant eich heneidiau, dylech chwithau nid yn unig ddiwallu eu hangenrheidiau corfforol, ond teimlo dros eu hangenion ysbrydol. Dylai yr egwyddor sydd yn eu cymhell hwy i bregethu i chwi, eich cymhell chwi i weddio drostynt hwy.

2. Mae cyfraith cariad yn gofyn hyn. Y cariad mwyaf a ellwch ddangos at eich pregethwyr, yw eu cludo ger bron gorsedd gras.

3. Bydd hyn o les i chwi eich hunain. Os llenwir y llestr pridd â thrysorau nefol trwy eich gweddïau chwi, cyfoethogir chwi trwy hyny; bydd y weinidogaeth i chwi yn weinidogaeth goleuni, cysur, a bywyd.

4. Mae sancteiddrwydd a chysur eglwys Dduw yn galw am hyn. Pregethwyr annuwiol, anffyddlawn, a dibrofiad yw melldith benaf yr eglwys. Gweinidogion ffyddlawn a diwyd

yn ei haddurniadau gwychaf, a'i chyfeillion goreu. Mor ddymunol yw i'w thystion fod yn eirwir, ei gwylwyr yn effro, ei ser yn llewyrchus!

5. Mae cysylltiad arbenig rhwng y weinidogaeth ac iachwedwriaeth eneidiau. Gweddiwch dros eich pregethwyr, ar iddynt fod yn sanctaidd, yn wyliadwrus, yn weithgar, ac yn ddefnyddiol, fel y byddont yn offerynol i droi llawer o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw.

6. Chwi a ogoneddwch Dduw yn hyn o ran. Mae ei enw ef yn sicr o gael ei gyfodi neu ei ddarostwr g yn a thrwy eich pregethwyr. Os byddant hwy yn llwyddiannus, caiff yr Arglwydd ogonedd.

"Tydi addewaist ddysgu, Iôn
Dy weision i lefaru;
Fel yn mhob man y caffo'n rhwydd,
Yr Arglwydd ei foliannu."

1. Gwelwch uchel gyfrifoldeb y swydd weinidogaethol. Cofiwch nad yw y rhai sydd yn y fath le ofnadwy ond dynion o'r un natur a nwydau a chwi eich hunain. Teimlwch drostynt.

2. Nac anghofiwch weddio drosoch eich hunain. Yr hwn nad yw yn ddyfal gyda mater ei enaid ei hun, ni ddichon gweddiau hwnw ddim dros eraill.

3. Gweddiau ffyddiog a thaerion yn unig a wrandewir, pa un bynag ai drosoch eich hunain ai dros eraill.—*A London Minister.*

---

## Y PECHOD O BEIDIO GWNEUTHUR DIM.

"MELLDIGWCH Meroz." Trwy awdurdodiad pwy? Angel yr Arglwydd. Pa beth a wnaeth Meroz? Dim. Paham ynte y mae Meroz i gael ei felldithio? Am beidio gwneuthur dim. Pa beth a ddylasai Meroz wneuthur? Dyfod allan yn gynnorthwy i'r Arglwydd. Onid allasai yr Arglwydd wneyd heb Meroz? Gwnaeth yr Ar-

glwydd ei waith hebddo. A gafodd yr Arglwydd felly rhyw golled? Naddo, ond fe gafodd Meroz. A ydyw Meroz felly i gael ei felldigo? Ydyw, a hyny yn chwerw. A ydyw yn iawn melldigo dyn am beidio gwneuthur dim? Ydyw, pan y dylai fod yn gwneuthur rhywbeth. Pwy a ddywedodd felly? Angel yr Arglwydd. "Yr hwn a wybu ewyllys yr Arglwydd, ac nis gwnaeth, a gurir â llawer ffonnod."

Cymerwn addysg oddiwrth Meroz, i beidio esgeuluso dyfod allan o blaid unrhyw achos da sydd yn galw am ein cynnorthwy. Mae peidio gwneuthur da pan fyddo ar ein llaw ei wneuthur, yr un o ran ei natur a gwneuthur drwg. "Am hyny i'r hwn a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo."

M. J. MEREDITH.

---

## AMSER.

[Sylwadau a wnaed gan y ddiweddar chwaer ieuanc Catherine Jones, yn Ysgol Sabbothol y T. C. yn Rome, rai blynyddau yn ol.]

YR ydwyf fi yn ystyried, yn ol y Beibl, mai cyfnod ydyw amser, o ddechreuad y greadigaeth hyd pan na byddo amser mwyach. Ac eto, byr ac ansicr iawn ydyw amser dyn. "Canys ebrwydd y derfydd, a ni a ehedwn ymaith." Y mae yn cael ei gyferbynu i longau buain, ac i wenol y gwehydd, &c. Pa fodd y dylem fyw?

1. "Prynu yr amser, o herwydd y dyddiau sydd ddrwg. Gan gyd-ddwyn â'ch gilydd, a maddeu i'ch gilydd. Os bydd gan neb gweryl yn erbyn neb, megys ag y maddeuodd Crist i chwi, felly gwnewch chwithau. Ac am ben hyn oll, gwisgwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd."

2. Ei dreulio yn gwbl i Dduw. "Ymddarostyngwch gan hyny i Dduw. Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffŷ oddiwrthych. Nesewch at Dduw, ac efe a nesâ atoch chwi.

Glánhewch eich calonau, chwi â'r meddwl dauddyblyg. Minau nesau at Dduw sydd dda i mi. Yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fy ngobaith, i draethu fy holl weithredoedd. Yr oedd gwr yn ngwlad Us a'i enw Job; ac yr oedd y gwr hwnw yn berffaith ac yn uniawn, ac yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni." Dylem ninau, ac y mae yn ddyledswydd arbenig arnon, ymddiried yn Nuw, canys efe yw ein porth a'n tarian.

CATHERINE JONES.

---

## CYSGU YN MODDION GRAS.

Y MAE cysgu yn moddion gras yn rhyfyg, am hyny y mae yn bechadurus, oblegid y mae Duw wedi amlygu ei anfoddlonrwydd tuag at bechaduriaid rhyfygus, ac wedi gorchymyn eu tori ymaith o fysg ei bobl. Num. xv. 30. Nid oes neb yn ngwlad efengyl mewn oedran a synwyr, nad ydyw yn gwybod mai pechod ydyw cysgu yn moddion gras; ond er hyny yn ei gyflawni, a thrwy hyny yn rhyfygu yn ngwydd Duw a dynion.

Y mae yn bechadurus, am ei fod yn warth i'th gymeriad fel dyn ac yn enwedig fel Cristion i gysgu pan yn nhŷ yr Arglwydd; a'r hyn sydd yn gwarthruddo dynion yw pechod. "Cywilydd pobloedd yw eu pechod." Gan hyny y mae yn bechadurus.

Y mae yn bechadurus, am mai sancteiddrwydd a weddai i dŷ yr Arglwydd.

Y mae yn ddyledswydd ar bawb beidio a chysgu yn yr addoliad, neu yr oedfaon. Dyma fel y dywed y Gwirionedd, "Y rhai a gysgant y nos y cysgant." Ond yn aml y rhai a ddeuant i addoli a gysgant yno. Y mae yr ymddygiad yn dangos nad ydyw addoli yr Arglwydd yn bwysig ar eu meddwl.

Yn aml yr un rhai fydd yn cysgu agos bob amser yn

yr addoliad. Y mae yn gymaint o ryfeddod gweled rhai dynion yn effro yn yr addoliad ag a fyddai gweled eraill yn cysgu.

Wrth gysgu yn yr addoliad, bydd ystumiau rhyfedd yn cael eu cyflawni; canfyddir un a'i ben yn hongian, ac yn siglo o ochr i ochr, nes y bydd ofn ar y rhai agosaf ato y cânt eu taraw gan y cysgadur; ac arall a'i safn yn agored fel pe byddai am lyngcu y nesaf ato: a'r llall yn chwyrnu neu rochain. Cynnulleidfa ryfedd a fyddai, pe byddai pawb fel hyn.

Pan y mae rhai yn cysgu, y mae eraill yn chwerthin o herwydd yr olygfa o'u hamgylch, ac eraill yn ofidus wrth weled dynion mor ddiarswyd wrth addoli yr Hwn sydd a'i olygon yn fflam dân. Mwy priodol fe allai, a fyddai gofyn i'r cyfryw ar ol yr oedfa, pa beth a ddarfu chwi ei freuddwydio yn yr oedfa? na gofyn am y bregeth.

Fe allai mai y drefn oreu fyddai, gosod y cysgaduriaid i eistedd ar yr un meinciau, fel y gallont daro eu penau y naill yn erbyn y llall, ac yna deffroant ar yr un pryd.

Cofied pawb ydynt euog o gysgu yn yr oefaon, y bydd sylw manwl arnynt ar ol hyn. Nid anmhriodol fyddai y gair hwn, "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu."

DELTA.

---

## YSBRYD PREGETHU.

YR oedd Philip Doddridge, wedi ei ddychweliad at Dduw, yn llawn o ysbryd pregethu. Yr oedd yn ieuanc, yn amddifad, ac yn dlawd; eto, ei iaith oedd, "O na bawn yn bregethwr." Cynnygiodd boneddiges ei ddwyn i fyny yn un o brif golegau y deyrnas, os âi ef yn offeiriad Eglwys Loegr; ond gwrthododd ei chynnyg, am fod hyny yn groes i'w egwyddorion annibynol. Gosododd ei achos yn nghylch pregethu o flaen gweinidog oedd yn y gymydogaeth; ond

derbyniodd hwnw ef yn oeraidd, a dywedodd wrtho mai gwell fyddai iddo droi ei law at rywbeth arall, a pheidio meddwl dim ychwaneg yn nghylch pregethu. Parodd hyn ofid calon iddo. "Treia y gyfraith, Philip," meddai rhai o'i gyfeillion wrtho, "gwnawn ein goreu i'th gynnorthwyo." Cafodd gynnyg ar hyny, ac nid oedd un drws arall yn agor i'w olwg ef. Ond cyn penderfynu myned i efrydu y gyfraith, ymneillduodd un boreu i ofyn cyfarwyddyd yr Arglwydd yn yr achos. A phan oedd yn gweddio, dyma y *Postman* yn curo wrth y drws; a pheth oedd ganddo, ond llythyr i Philip Doddridge oddiwrth hen gyfaill i'w dad. Yr oedd y gwr wedi deall am sefyllfa angenus Philip, a chynnygiodd iddo os oedd efe am fyned i waith y weinidogaeth, ei ddwyn i fyny mewn dysgeidiaeth. Yr oedd Doddridge yn edrych ar y llythyr hwn bron fel atebiad o'r nef. Daeth Doddridge yn bregethwr enwog, yn awdwr campus, ac yn addysgwr medrus i bregethwyr ieuainc.

Bu casglwr yr ychydig bigion hyn mewn tywydd yn nghylch pregethu, a gwrandawyd ar ei gŵyn mor bell a rhoi drws agored iddo; ond ni roddwyd diwrnod o ysgol iddo, na cheiniog goch tuag at ei chael. O Gymry! a ddylai y pethau hyn fod felly?

Dichon fod bechgyn gwir grefyddol a thalentog yn ein plith, a thuedd gref at y weinidogaeth; os ymaflant ynddi yn mhlith eu cenedl, byddant yn debyg o fod ar ol yr oes, mewn cymhwysderau gweinidogaethol, o ddiffyg dysgeidiaeth; ond pe amlygent eu hawydd i'r Americaniaid, byddai y Cymry yn debyg o'u colli o ran eu gwasanaeth iddynt hwy fel cenedl; er na byddai hyny yn golled i'r achos yn gyffredinol. Nid yw ond oferedd i ni ddadlen ein bod yn rhy dlodion i roddi ysgolion i'n pregethwyr ieuainc. Nid oes dim yn eisiau ond cynllun, ac ysbryd at y peth. Deffrown mewn pryd, goreu pa gyntaf yr ymeflir yn hyn.

## GWERSI I BAWB.

GWELL yw cymeriad da na chyfoeth lawer.

Gwell yw bod yn dlawd gonest, na meddu mawr olud trwy dwyll.

Gwell yw ychydig mewn heddwch, na llawer mewn anghydfod.

Gwell yw darostwng y meddwl at y sefyllfa, na cheisio codi y sefyllfa at feddwl balch.

Gwell yw ychydig o ofalon bydol na llawer, serch eu bod yn dwyn elw.

Gwell yw bod yn foddlon ar ychydig, nac yn anfoddlon eisieu ychwaneg.

Gwell yw sefyllfa y gweithiwr yn gallu talu ei ffordd, na sefyllfa y marsiandwr nas gwyr pa fodd y mae yn byw.

Gwell yw bod yn gardotyn duwiol, nac yn frenin annuwiol.

Gwell yw addef anallu i gyflawni peth, na methu trwy anfedrusrwydd.

Gwell yw bod yn ostyngedig i dderbyn gwybodaeth, na bod yn hunanol mewn anwybodaeth.

Gwell yw ysbryd maddeugar nac ysbryd dialgar.

Gwell yw un dalent ac egwyddor dda, na deg talent ac egwyddor ddrwg.

Gwell yw dioddef cam, na bod yn euog o wneyd cam.

Gwell yw dyoddef dryllio ein teimladau, na bod yn ddigon caled i wneyd hyny heb achos.

Gwell yw dyoddef erledigaeth, na bod yn ddigon satanaidd i uno mewn erlid.

Gwell yw dyoddef dros y gwirionedd, na bod yn ddigon anystyriol i sathru y gwirionedd.

Gwell yw ceisio gwenau y nef, serch tynu gwg y ddaear.

Gwell yw dilyn crefydd drwy rwystrau, na byw heb grefydd yn ddirwystr.

Gwell yw galar am bechod, na gallu byw mewn pechod heb alaru.

Gwell yw cyfaddef pechod mewn edifeirwch ger bron Duw, nac i bechod ein hysgar yn dragywydd oddiwrth Dduw.

Gwell yw croeshoelio y cnawd, nac i'r cnawd ddystrywio yr enaid.

Gwell yw gwrthsefyll hudoliaethau y diafol, na chymeryd ein hudo i'w gartref truenus.

Gwell yw ysbryd diolchgar am a feddwn, na bod yn anniolchgar eisieu ychwaneg.
Gwell yw bod yn anghymeradwy gan y diafol, a bod yn gymeradwy gan Dduw.
Gwell yw profedigaeth na hawddfyd, os bydd yn dwyn yr enaid i well profiad o grefydd.
Gwell yw tlodi na chyfoeth, os bydd yn sancteiddio yr enaid ar ddelw Duw.
Gwell yw cystudd nac iechyd, os bydd yn diddyfnu yr enaid yn fwy oddiwrth y byd.
Gwell yw angeu na bywyd i'r duwiol, am ei fod yn ei ollwng i berffaith ddedwyddwch.
Gwell yw rhagrith mewn pob peth na rhagrith mewn crefydd.
Gwell yw gorthrwm yn mhob man na gorthrwm mewn crefydd.
Gwell yw gwneyd drygau yn y byd, na gwneyd drygau yn eglwys Dduw.
Gwell yw niweidio pob achos, na niweidio achos y Gwaredwr.
Gwell yw gwrthod pob peth, na bod yn euog o wrthod Crist.
Gwell yw profiad o grefydd, na gallu i ddarlithio ar bynciau crefydd.
Gwell yw ceisio crefydd mewn iechyd, na chael ein gyru gan ddychryn i'w cheisio mewn cystudd.
Gwell yw ysbryd gweddi yn y dirgel, na bod yn ddoniol yn y cyhoedd heb ysbryd gweddi.
Gwell yw cyflwyno y galon i Dduw, na chwyno drygedd y galon wrth ddynion.
Gwell yw pwyso ar ras am fywyd, na gwrando am ras ar hyd ein bywyd.
Gwell yw gras yn y galon, na goleuni a gwybodaeth yn y pen.
Gwell yw siarad â Dduw am iachawdwriaeth, na phregethu ei iachawdwriaeth i ddynion.

GWILYN COLWYN.

---

## GWEDDI Y FFYDD YN CAEL EI HATEB.

MR. S—— ydoedd farsiandwr mewn tref gymydogaethol. Yr oedd yn ddyn o gymeriad uchel; a gellir dywedyd nad allai hyd yn nod ei elynion gael dim yn ei erbyn ond am gyfraith ei Dduw. Yr oedd yn un o'r rhai blaenaf yn mhob

cymdeithas haelionus; ac yn amddiffynwr selog i'r Ysgol Sabbothol, a'r cyfarfodydd gweddiau. Ei arwyddair oedd "Bod yn ffyddlon yn mhob gwaith da." Tra yr oedd ef fel hyn yn ffyddlon a diflino yn ngwasanaeth ei Feistr mawr, ac yn cael ei barchu gan holl gyfeillion Iesu trwy y gymydogaeth, daeth dirywiad mawr mewn masnach—llawer o fasnachwyr yn fethdalwyr, a banciau yn tori—a mynych y clywid ef yn diolch i Dduw pan dderbyniai lythyron heb awgrymiadau o fethdaliadau.

Yn yr argyfwng hwnw daeth y newydd i'r ardal fod cwmpeini o farsiandwyr yn nhref—— wedi methu; ac yr oedd yn hysbys gyffredinol fod Mr. S—— yn masnachu llawer â hwy: o ganlyniad dechreuwyd amheu ei ddiogelwch rhag suddo gyda hwy. Un boreu galwai gyda Mr. R——, ei gydswyddog eglwysig, ac adroddai fod un o'r banciau yn gwrthod ymddiried ynddo i wneyd un cynnorthwy iddo, a'i fod yn ofni mai methu yn ei fasnach a fyddai y canlyniad. Dywedai nad oedd dim yn ei flino gymaint a'r niweid a fyddai ei fethiant yn wneyd i achos crefydd; y byddai gwrthwynebwyr crefydd yn cael lle i amheu gonestrwydd crefyddwyr. Ymadawai gan sylwi, mai ei unig obaith oedd yn Nuw, ei fod Ef yn abl i'w wared o'r brofedigaeth oedd i'w olwg ef yn anocheladwy.

Yn mhen ychydig flynyddau ar ol iddo ymadael, dygwyddodd i Dr. H—— fod yn pasio, a Mr. R—— yn sefyll wrth ddrws ei siop. Yr oedd Dr. H—— yn berchen cyfoeth mawr, ac yn nodedig o gybyddlyd, hunanol a chalon galed; ac ni fyddai o un dyben i'r tlawd a'r angenus droi ato ef am gynnorthwy, ond atebai hwynt yn sarug. Yr oedd hefyd yn ddeist cyhoeddus; ac awgrymai weithiau ei amheuaeth fod Duw yn bod. Dangosai elyniaeth gref at grefydd; a gwaradwyddai yr holl grefyddwyr fel rhagrithwyr dichellgar neu hurtiaid diallu. Anerchai Mr. R—— yn ei ddull gwawdlyd arferol, a dywedai, "Yr ydych yn gwneyd rhyw wyneb hir iawn heddyw; mae eich edrychiad yn hynod surllyd a chwynfanus. A ydyw eich hyder ymffrostgar yn eich crefydd wedi methu? A fu eich Duw yn anffafriol tuag atoch? Beth sydd yn eich blino?

Mr. R——, gyda'r fath gyffro ag yr oedd yn analluog i roddi cyfrif am dano ar y pryd, a ddywedai wrth ei elyn, yr hwn ni ellid dysgwyl iddo amgen nag edrych yn wawdlyd ar yr amgylchiad, mai yr achos o'i ddifrifoldeb ydoedd, fod y

banc y boreu hwnw wedi gwrthod ymddiried yn Mr. S—— i'w gynnorthwyo o'r cyfyngder yr ydoedd ynddo; ac o ganlyniad fod yn rhaid iddo fethu yn ei fasnach.

"Ni chaiff hyny fod," meddai Dr. H——; "er ei holl swn yn nghylch crefydd, a'i sêl benboeth a gŵyrog, y mae Mr. S—— yn ddidwyll yn ei benboethni, ac yn ddyn gonest i'r eithaf; ni chaiff ei orthrymu felly."

Aeth Mr. H—— ymaith ar ffrwst, ac yn mhen ychydig galwai at dŷ Mr. S——, a gofynai a oedd ef gartref. Dywedai Mrs. S—— wrtho fod ei gwr wedi myned i chwilio am gymhorth at ei berthynasau mewn tref gymydogaethol.

"Pan ddaw yn ol rhoddwch y llythyr hwn iddo, a fy ewyllys da," meddai y Doctor.

Ond yn lle troi at ei gyfeillion daearol, yr oedd Mr. S—— wedi penderfynu troi yn gyntaf at ei Dad nefol am gymhorth, gan ddadleu hollddigonolrwydd Gwrandawr gweddi. Yr oedd wedi cymeryd agoriad y capel, a myned iddo, a chloi ei hun ynddo er mwyn cilio o gyrhaedd pob rhwystr; ac yno y bu am tuag awr, yn ymdrechu yn ddifrifol â Duw rhagluniaeth, yr hwn y mae pob calon dan ei lywodaeth, ac am iddo gadw ei enw a'i achos rhag dyoddef gwarth o'i achos ef. Ar ol treio effaith gweddi ffyddiog, dychwelodd adref, a rhoddodd ei wraig y llythyr iddo oddiwrth Dr. H——. Agorodd ef, ac er ei syndod, gwelai yno *order* ar y banc am y swm gofynol. Ac yr oedd nodyn yn y llythyr yn peri iddo gadw ei feddwl i fyny, ei fod ef yn ymrwymo i'w gynnorthwyo yn ei holl drallodion bydol. Bu y cynnorthwy hwn yn ddigon i'w achub o'r holl brofedigaeth yr oedd yn ei ofni. "Llawer a ddichon taer weddi y cyflawn."—*Christian Treasury.*

---

## JOHN HUSS.

GANWYD John Huss yn Hussineg, Bohemia, yn y flwyddyn 1373. Enwogodd ei hun mewn dysgeidiaeth yn ieuanc, a derbyniodd amrai o deitlau. Ei grefydd oedd Pabyddiaeth; ond daeth yn adnabyddus âg ysgrifeniadau Wickliffe, pa rai a gawsant argraffiadau dwys ar ei feddwl. Wedi hyny, pregethodd yn hyf, yr athrawiaeth a'u cynnwysent. Yr oedd ei dalentau yn fawrion, ei sêl yn wresog, ei bregethu yn boblogaidd, a'i fywyd yn ddiargyhoedd. Yr oedd ei

ddylanwad yn gryf, yn erbyn y grefydd babaidd, ac o blaid yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb. Pregethodd egwyddorion y Diwygiad Protestanaidd oddeutu can' mlynedd o flaen Luther. Ymdrechodd y Pabyddion i roi taw arno trwy ysgrifenu yn ei erbyn; ond methasant yn y dull hwnw, gan hyny, cymerasant ddull arall ati. Galwodd y Pab ef ger ei fron, gydag addewid o amddiffyniad iddo; ond yn lle hyny, cymerasant ef yn garcharor, ac mewn Cynghor yn Constance, condemniasant ef i'w losgi i farwolaeth. Llosgwyd ei lyfrau yn gyhoeddus wrth ddrws yr eglwys, ac ar y seithfed dydd o Orphenaf, 1415, llosgasant yntau yn fyw, a chasglasant ei lwch yn ofalus a thaflasant ef i'r afon *Rhine*. Cyn ei losgi, gweddiodd dros ei elynion, a chanodd mor uchel a soniarus, fel y clywid ef yn eglur, yn uwch na swn y dorf oedd yn nghyd. Yn fuan wedi hyn, planwyd pren ar y *spot* lle y llosgwyd ef, i'r dyben i nodi y lle, ac i'w gadw mewn coffadwriaeth serchog, gan y rhai a garant ei egwyddorion. Tynwyd llûn y pren hwn tua y fl. 1847, a dichon ei fod yno eto.

## ESIAMPL ANRHYDEDDUS.

BU y diweddar Lywydd Harrison yn athraw mewn Ysgol Sabbothol isel, ar lân afon Ohio, am lawer blwyddyn.

Y Sabboth olaf cyn iddo adael ei gartref, i fyned i Washington, i ymaflyd yn y swydd Lywyddol, cyfarfyddodd â'i ddosbarth fel arferol.

Gobeithir nad anghofir byth gan y genedl, ei gynghor olaf i'w arddwr yn Washington ar yr achos. Pan ei cynghorwyd ef i gadw ei i amddiffyn ei ffrwythau; ei atebiad oedd, "Rhoddwch yn hytrach, athraw o'r Ysgol Sabbothol i gymeryd gofal y bechgyn.

## DETHOLION.

**Dysgwch Blygu.**—Pan oedd Benjamin Franklin yn ieuanc, ymwelodd â'r Parch. Cotton Mather; a phan yr oedd yn myned allan o'i dŷ ar hyd mynedfa gul, dywedodd Mr. Mather wrtho, "*Plygwch*, plygwch." Yntau heb wybod pa

beth yr oedd yn ei feddwl, a aeth yn ei flaen, a tharawodd ei ben yn erbyn trawst oedd uwch ben y dramwyfa. "Fy machgen (meddai y duwinydd), yr ydych yn ieuanc, ac y mae'r byd o'ch blaen; dysgwch blygu wrth fyned trwyddo, ac fe arbeda hyny lawer cnoc caled i chwi.

TEIMLAD PRIODOL PECHADUR ARGYHOEDDEDIG.—Dywed y Parch. Henry Ward Beecher: "Pan fyddo dyn yn ymuno â'r eglwys, ni ddylai wrth ddyfod, ddywedyd, 'Yr wyf mor sanctaidd fel yr wyf yn tybied fod yn ddyledswydd arnaf fyned i blith y saint;' ond dywedyd, 'O frodyr, yr wyf yn teimlo mor wan a phechadurus, yn analluog i sefyll fy hunan; gan hyny, os gellwch fy nghynnorthwyo, agorwch y drws a gadewch i mi ddyfod i mewn.'"

DILYN CRIST.—Dywedwyd wrth fam drallodus, wrth fedd ei phentyn, "Yr oedd bugail unwaith, yr hwn a ofalai yn dyner am ei ddiadell, nos a dydd. Yr oedd ganddo un ddafad, yr hon ni wrandawai ar ei lais, ac nis dilynai ef; ond fe gymerodd ei hoen i fyny yn ei freichiau, ac wedi hyny, hi a'i dilynodd ef."

Dysged mamau sydd wedi colli eu rhai bychain wers oddiwrth hyn.

GWEDDI.—Dywed Spurgeon am weddi, mai rhaff yn y clochdy ydyw; tynwch ynddo, a bydd y gloch yn tincian yn y nefoedd. Daliwch ati i dynu! ac er fod y gloch mor uchel fel nad ellwch ei chlywed yn tincian, gellwch ymddiried y caiff ei chlywed yn y nefoedd, a'i bod yn tincian ger bron gorseddfaingc Duw, yr hwn a rydd i chwi ateb tangnefeddus yn ol eich ffydd.

---

## YR ADFYWIADAU CREFYDDOL.

YMDDENGYS mai ar gynnydd y mae yr adfywiadau crefyddol yn barhaus yn ein gwlad. Lle bynag y mae y gwaith da wedi dechreu, ceir yr hanesion mwyaf dyddorol o ddylanwadau grasol yr Ysbryd yn cael ei dywallt. Gallem feddwl fod Satan yn crynu ac yn arswydo o flaen y dylanwadau nerthol, wrth weled ei ddeiliaid yn colli—y prif gol-

ofnau oedd yn cynnal ei deyrnas i fyny mewn llawer ardal yn ffoi i lefain am eu bywyd yn angeu y groes. Nid llaw dyn sydd i'w gweled yn y diwygiad hwn ond y "llef ddystaw fain" yn cyffwrdd â'r galon mewn atebiad i weddiau eglwys Dduw; fel y byddai "godidowgrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni."

Mae y cyfarfodydd gweddiau yn New York yn parhau mor ddyddorol ag erioed. Mae tua thair mil yn ymgynnull i Chwareudy Burton bob dydd; heblaw o ddeuddeg i bymtheg o gapelau mawrion sydd yn cael eu gorlenwi yn ddyddiol. Mae yn deilwng o sylw hefyd y gofal a roddir i gadw bywiogrwydd yn y cyfryw gyfarfodydd, yn enwedig yn Chwareudy Burton, lle y nodir yr amser i bob un lefaru yr hyn fyddo ar ei feddwl neu weddio. Nid oes neb i gael mwy na *thri* mynyd; ac os bydd rhywun yn gormesu ar y rheol hon gelwir arno i dewi drwy ganu cloch fechan, a bydd raid iddo ufuddhau yn union; ac nid oes neb i lefaru fwy nag unwaith yn yr un cyfarfod.

Mae cyfarfodydd gweddiau dyddiol yn ychwanegu yn gyflym yn y Dalaeth hon, yn y trefydd a'r pentrefydd; a dylanwadau bendithiol yn eu dilyn yn gyffredinol.

Yn Boston dywedir fod yr adfywiad yn cynnyddu yn gyflym, mewn dull tawel a digynhwrf—y cyfarfodydd gweddiau yn cael eu gorlenwi—publicanod a phechaduriaid yn cael eu deffroi; rhai yn dangos arwyddion amlwg o edifeirwch—yn llosgi eu cardiau, yn bwrw ymaith eu llyfrau anffyddol, a gwneyd proffes gyhoeddus o Grist. Mae rhai o'r gwirod-dai hefyd bron yn wâg, am fod y rhai oedd yn eu mynychu wedi troi yn ddynion sobr a chrefyddol. Mae rhai wedi eu cau i fyny. Dywedir na fu can lleied o yfed gwirod yn y ddinas er ys llawer o flynyddoedd a'r dyddiau presenol. Cyhoedda y *Christian Association* trwy y newyddiaduron ddymuniad ar rieni yn y wlad sydd a'u meibion mewn masnach yn y ddinas, os ydynt yn dewis i rai o'i haelodau fyned atynt i ymddyddan â hwy am bethau cref-

ydd, ar iddynt hysbysu trwy lythyr yn cyfarwyddo pa fodd i gael gafael arnynt. Nodir hefyd yn y newyddiaduron fel un o'r hynodion, am hen wr 78 oed wedi ei ddychwelyd yn Dorchester.

Yn Philadelphia, y mae o dair i bedair mil yn ymgynnull yn ddyddiol i'r cyfarfod gweddi yn *Jayne's Hall;* ac y maent yn ymgynnull mewn amryw leoedd eraill o herwydd eu lluosowgrwydd cynnyddol.

Yn Cincinnati mae 1,500 wedi ymuno â'r gwahanol eglwysi er Ionawr diweddaf.

Yn Cleveland mae tua mil wedi eu dychwelyd yr wythnosau diweddaf.

Yn Chicago mae cyfarfodydd gweddi dyddiol yn cael eu cynnal mewn pump ar hugain o wahanol leoedd.

Yn Hampton, N. H., mae yr holl werthwyr gwirod wedi eu dychwelyd, a chau eu masnachdai i fyny; yn eu plith yr oedd ceidwad yr hotel.

Yn Ripley, Ohio, mae perchenog neuadd twyll chwareu (*gambling saloon*) wedi ei ddychwelyd; ac yn ol ei ddymuniad cedwir cyfarfodydd gweddio dyddiol yn ei neuadd, gyda llawer o fywiogrwydd.

Yn Canada mae y cyfarfodydd gweddi yn cael eu cynnal mewn amrywiol leoedd, ac arwyddion amlwg o adfywiad.

Dywedir hefyd, fod adfywiadau gwerthfawr yn Ewrop y dyddiau hyn.

Dywed yr *Examiner* (B.) fod nifer y dychweledigion gyda'r Bedyddwyr yn ystod yr wythnos cyn y ddiweddaf yn 17,000, a chyda'r Methodistiaid yn 20,000.

Mae yn hyfryd genym ychwanegu, nad yw ein cenedl ninau yn amddifad o'r un ymweliadau grasol mewn amrywiol fanau, yn enwedig yn y Dalaeth hon. Dichon y cawn amser i fanylu mwy ar yr adfywiadau yn mysg ein cenedl mewn amser dyfodol.

R. R. M.

## Y PWYSIGRWYDD O GOLLI YR ENAID.

[Crynodeb o bregeth a draddodwyd gan y diweddar Barch. JOHN JONES, Talysarn, yn Nghymdeithasfa y Bala, am 10 ar gloch, Meh. 16eg, 1848, ac a ysgrifenwyd wrth ei gwrando.]

MAT. xvi. 26. "Canys pa lesâd i ddyn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"

Y MAE Duw yn ei air yn trosglwyddo pethau pwysig i'n sylw. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Y mae y cwestiwn yna wedi ei ofyn nid gan ddysgwyl i neb roddi ateb iddo, oblegid nid oes ateb i'w roddi iddo. Mae y cwestiwn wedi ei ofyn i ddangos yr anmhosiblrwydd i'w ateb, ac y mae y testyn hwn wedi ei roddi i'r un dyben. "Pa lesâd?" 'Does dim ateb i hwn. "Pa lesâd" fyddai hyn, ceisio ennill y byd a cholli yr enaid? Y mae y cwestiwn wedi ei ofyn i'r dyben o ddwyn i'n sylw y perygl o ennill y byd a cholli yr enaid. Y mâe colli yr enaid yn golled fawr; ïe, mor fawr fel nad oes modd ennill digon i wneyd y golled i fyny. Pe b'ai dyn yn llwyddo i ennill y byd i gyd iddo ei hun, holl gyfoeth y byd, a holl barch ac anrhydedd y byd, beth a fyddai yr ennill? Nid yn unig y mae yn colli ei enaid, ond mae y byd hefyd yn myned ar goll ganddo. Mi garwn yn fawr iawn egluro y golled yma i'r golwg, nes byddo y gynulleidfa hon oll yn methu byw heb geidwad i'w heneidiau.

Mater ein sylw am ychydig amser a fydd—

PWYS Y GOLLED.

Y mae hi yn golled fawr iawn, os ystyriwn werth yr enaid. Gallwn weled hyn wrth edrych ar y ddarpariaeth fawr a wnaed gogyfer a'r enaid. Y mae ef wedi creu darpariaeth yn y greadigaeth. Y mae pob peth sydd o'n hamgylch at wasanaeth dyn. Y mae elfenau y greadigaeth yn gweithredu mewn modd neillduol. Mor naturiol y mae y

dwfr yn gweithredu; sef ein disychedu a'n glanhau. A dyma ef yn dyfod yn nes atom eto, sef dyfrhau ein meusydd. Felly y mae Duw wedi peri i'w ddaioni naturiol lewyrchu arnom mewn modd neillduol iawn; ond yr enaid yw y prif beth. Rhyw babell fechan a darawodd Duw wrth ei gilydd i fod yn gysgod i'th enaid tra yma yn y byd yw y corff; eto, y mae rhyw gywreinwaith anamgyffredadwy ynddo. Yr enaid sydd fwy ei werth na'r holl fyd. Y mae yr enaid wedi ei osod yn *steward* ar y greadigaeth, trwy law dyn y mae y greadigaeth i ateb ei dyben, trwy law dyn y mae hi i ogoneddu Duw. Dyn sydd wedi cael calon i garu Duw, a chalon i'w foliannu. Pan fydd y boneddigion yn edrych am *steward*, byddant yn edrych a fydd yn gyfaddas i'r swydd. Y mae yn debyg na chafodd Duw gyfaddasrwydd mewn dim heblaw dyn; ond yr enaid sydd yn dwyn y cyfaddasrwydd ac nid y corff. Y mae Duw wedi rhoddi y fath werth ar enaid dyn fel y mae yn resyn ei ddamnio ef.

Y mae enaid dyn o'r fath werth fel y mae Duw yn gwneyd sylw ar bob peth a wnelo. Y mae llygad cyfiawnder yn edrych ar bob peth a ddywedo ac a wnelo; ydyw y mae yr enaid i breswylio byd tragywyddol. Meddyliwch yn awr am y boneddwr yn adeiladu palas newydd, y mae yn myned a phob peth gwerthfawr o'r hen adeilad i'r palas newydd; felly y mae Duw yn adeiladu tŷ yn y nef, ac nid oes yma ddim o werth i'w gludo yno yn bresenol ond yr enaid, yr hwn sydd yn fwy ei werth na'r holl fyd. Y mae yr enaid o'r fath werth fel y mae Duw yn gosod ei ddelw arno, a dyma yr unig greadur a fydd yn ddedwydd yn y byd arall, sef yr hwn y bydd delw Duw arno.

Colled fawr yw colli yr enaid. Fe gollodd llawer boneddwr ystâd; ond yr oedd ganddo ef un arall; ond os colli di dy enaid, ti a golli dy unig enaid am dragywyddoldeb.

Y mae colli yr enaid yn golled anadferadwy, colled na

bydd neb i ddyoddef dani ond tydi. Fe fydd yr holl golled yn disgyn ar dy ben di yn unig. Colled chwerw iawn i lawer a fydd y golled hon. Os byddi yn ei gafael, fyddi di ddim heb wrthod gwahoddiadau tyner yr Arglwydd trwy ei weision. "Yn gymaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried." Ni fedri di roddi y bai ar neb arall, dy law dy hun a ddamnia dy enaid dy hun.

Colled chwerw iawn yw hi, oblegid y mae yn rhaid i ti golli dy enaid trwy esgeuluso iachawdwriaeth. Hefyd, trwy gyflawni gweithredoedd a thi yn gwybod eu bod wedi damnio canoedd a miloedd o eneidiau. Fe fydd colli yr enaid yn chwerw iawn ar bob cyfrif. Colli yr enaid a gwrthod moddion i'w gadw. Os colli di dy enaid, rhaid i ti foddi yn ymyl yr arch. Os colli di dy enaid rhaid i ti gael dy ddamnio yn ymyl Ceidwad. Os oes arnat ofn ei golli y mae genyf fi gynghor i ti ei gadw; y mae Un wedi dyfod yma i'r byd, ac a fu yma lawer gwaith, ac yr wyf yn meddwl ei fod ef yma heddyw. Dyro dy hunan iddo heddyw, y mae yn allnog i'th gadw.

*Rome.* H. J. Hughes.

---

## RHODIO WRTH FFYDD AC NID WRTH OLWG.

RHYW amser yn ol, mi a gefais gyfleustra i ymddyddan â pherson, yr hwn a dybiai weithiau ei fod yn mwynhau heddwch â Duw; ond ei fawr ddyryswch oedd, nad oedd ei heddwch yn parhau am amser maith. Pan fyddai ei feddwl yn glir a hyfryd, a rhywbeth yn nefolaidd; yr oedd ganddo berffaith heddwch, a meddyliai y pryd hyny, y gallasai farw yn ddiogel; ond mewn byr amser, byddai ei oleuni yn troi yn dywyllwch, a'i ysbryd yn soddi, ac yntau yn crynu yn yr olwg ar gyfarfod â Duw. Y fath ydyw sefyll-

fa llaweroedd o feddyliau amrysongar. Dichon mai felly y mae fy narllenwyr. Meddyliwch gan hyny am fynydyn, am y gwirionedd, yr hwn a ddefnyddiodd Duw i ryddhau yr un y cyfeiriais ato. Nis gall eich teimladau, ac ansawdd *eich meddwl*, fod yn sylfaen sylweddol o'ch heddwch. Rhaid i'r Iesu fod yn wrthddrych eich ymddiried, ac yn unig orphwysfa eich enaid. Yn awr, a ydyw efe yn newid gyda newidiad eich teimladau chwi? A ydyw ei *deimlad* ef yn oeri, pan y mae eich teimlad chwi yn anwadal? A ydyw ei iawn ef yn anghymeradwy gyda Duw, pan y mae gofid meddwl yn ymaflyd ynoch chwi? A ydyw ei lygaid ef yn pylu, pan y mae eich llygaid chwi wedi cymmylu? A ellwch chwi ddim ymddiried ynddo ef yn y tywyllwch gystal ag yn y goleuni, yn yr ystorm, gystal ac yn y tawelwch? Y mae llongau nad ellir ymddiried ynddynt ond ar ddwfr llyfn, a dyfroedd llonydd. Y mae cadbeniaid nad ellir ymddiried iddynt mewn ystorm. A ydyw yr Iesu i'w gyffelybu i un o'r rhai hyn. Alltudiwch y fath feddwl am byth, gwybyddwch yn yr amrysonfa dywyllaf ac erchyllaf a ddichon ymosod ar eich calonau gwanaidd a chyfnewidiol, fod eich Duw a'ch Iachawdwr yn anfeidrol ewyllysgar a galluog i'ch cadw. Ystyriwch ef, a ffowch oddiwrth eich hunan-ymddibyniaeth, ymddiriedwch ynddo ef, a gadewch i bob noddfa arall fyned lle yr elont.

GWEINIDOG.

---

## NID YDYNT YN GWEDDIO AR DDUW.

BETH sydd yn fwy priodol na gweddi deuluaidd? A pha beth sydd yn tueddu yn fwy uniongyrchol i rwymo yr holl gylch teuluaidd at rinwedd ac at Dduw? Mae hyd yn nod plant bychain ag argraff ar eu meddyliau o'i chymhwysder a'i defnyddioldeb. Y maent yn teimlo yn fwy diogel yn nhŷ gweddi.

Cafodd geneth ieuanc brydweddol ei gwahodd i dalu ymweliad am ddiwrnod neu ddau gayda theulu o'i chydnabod. Cydsyniodd ei mam, a dywedodd y c'ai aros dros y nos, os dewisai, fel yr oedd wedi bod unwaith o'r blaen. Ond dywedai yr eneth fechan nad oedd arni eisiau aros dros nos yno. Gofynai ei mam paham, atebodd hithau, "Nid ydynt yn gweddio ar Dduw yno, ac y mae arnaf ofn." Er mor ieuanc ydoedd, teimlai ei bod yn fwy diogel lle mae Duw yn cael ei gydnabod, a'i gadwraeth yn cael ei geisio. Yr oedd arni ofn aros lle *nad ydynt yn gweddio ar Dduw;* ac felly dychwelodd adref erbyn nos at ei rhieni a arferai weddio. Nid anffyddiwr oedd y penteulu lle yr oedd ar ymweliad, ond aelod o eglwys Gristionogol; eto nid oedd ganddo allor deuluaidd. Yr wyf yn cyffesu na ddymunwn aros yn hir gyda'r fath deulu; buasai arnaf ofn, a phwy na fuasai?

Dywedir am Richard Baxter, ei fod unwaith wrth fyned at ei gyhoeddiad wedi ei ddal gan ystorm frawychus; a chan ei bod yn hwyrhau, trodd i dŷ gan ofyn lletty. Ar ol cael ei geffyl yn ddiogel, a swpera, dywedai ei fod yn weinidog yr efengyl, a'i fod yn arfer gweddio cyn myned i orphwys. Yna gofynai a fyddai ganddynt un gwrthwynebiad iddo weddio gyda'r teulu, Ffromodd y penteulu yn ddirfawr, a dywedai na fyddai dim gweddio gyda'i deulu ef na than dô ei dŷ ef, os gallai ef attal hyny. Ymddygai Baxter yn hollol ddigynhwrf, a gorchymynai i'w geffyl gael ei ddwyn allan, a pharotoai i fyned i'w daith. Dechreuai gwr y tŷ ymresymu ag ef, a dywedai fod yr ystorm yn fawr iawn, y noson yn dywell, a bod lawn saith milldir i'r lle agosaf iddo gael lletty. Atebai Baxter, fod yn well ganddo deithio saith milldir ar y noswaith dywyllaf, ac yn y dymhestl drymaf fu erioed, na meddwl am gysgu neu ymddiried ei hunan mewn tŷ gyda theulu heb fod yn goddef i neb weddio ynddo. O'r diwedd cydsyniodd y gwr iddo gael gweddio, a pharodd Duw fod ei ymweliad yn fendith i'r teulu hwnw.

Gall y duwiol wynebu ystormydd, a theimlo ei hun yn ddiogel yn nghymdeithas ei Dduw, oblegyd mae yn gwybod mai yr hwn sydd yn llywodraethu y dymhestl yw ei Dad a'i Gyfaill. Ond y mae bod gyda'r rhai nad ydynt yn cydnadod Duw, a'r rhai y mae efe ar ymweled â hwy yn ei farnau am eu pechodau, yn fwy nag a all y duwiol deimlo yn ddiofal iddei anturio. Nid yw yn ddiofal aros mewn tŷ lle (fel y dywedodd yr eneth fechan) *nad ydynt yn gweddio ar Dduw*—*Z. A.*

---

## "OS CYDSYNIA DAU O HONOCH."

UN diwrnod pan oedd ychydig o chwiorydd wedi ymgynnull yn nghyd, pa rai oeddynt wedi bod er ys hir amser yn cydymgynnull i weddio, darllenai un o honynt y ddeunawfed bennod o Matthew. Wrth ddarllen yr addewid, "Trachefn meddaf i chwi, Os cydsynia dau o honoch ar y ddaear am ddim oll, beth bynag a'r a ofynant, efe a wneir iddynt gan fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd," hi a safodd am foment, yna dywedodd, "A i posibl ein bod wedi ymgynnull mor fynych i wneyd ein deisyfiadau yn hysbys ger bron Duw, ac heb erioed sylwi ar yr addewid hon? Darllenais hi fy holl fywyd, ond mae yn edrych yn *newydd* i mi. Pa fodd y gall ein gweddiau fod mor ddieffaith, pan y mae genym y fath sicrwydd o enau yr Iachawdwr ei hun? Tebyg mai am nad ydym yn cydsynio ar unrhyw fater penaodol yn ein gweddiau."

Yn ganlynol hi wnaeth gynnygiad, fod rhyw berson i gael ei wneyd yn wrthddrych neillduol eu deisyfiadau ar ei ran. Yna cydunasant i gymeryd achos marsiandwr cyfrifol a chyfoethog, yr hwn a ymddangosai nad oedd dim yn ol iddo ond yr "un peth angenrheidiol." Yr oedd yn dilyn moddion gras ar y Sabbothau yn gyson, ond nid ar nosweithiau yr wythnos; ac ni ddangosai lawer o deimladau gyda golwg ar fater ei enaid. Gwnaeth y gyfeillach fechan hon ddeisyfiadau difrifol ar ei ran; ac wrth ymadael cytunasant i beidio hysbysu hyny i neb, ond i barhau yn eu herfyniadau drosto nes eu dyfod yn nghyd drachefn yn mhen pythefnos.

Er cymaint oedd ffydd y chwiorydd hyn, synwyd hwy

wrth weled gwrthddrych eu hymbiliau, yr wythnos ganlynol yn dyfod i'r cyfarfod gweddi. Yn y cyfarfod adroddai fod rhyw beth wedi ymaflyd yn ddwys yn ei feddwl er ys ychydig ddyddiau, ei fod "heb obaith ac heb Dduw yn y byd;" ei fod er yr amser hyny yn anesmwyth iawn, ac yn dymuno rhan yn eu gweddiau.

Cyn y cyfarfod canlynol yr oedd y cyfaill hwn yn ei ddillad ac yn ei iawn bwyll yn eistedd wrth draed Iesu.

Ar ol i'r chwiorydd hyn gael eu cefnogi fel hyn yn yr arwydd hwn o atebiad i'w gweddiau, unasant drachefn ar wrthddrych arall. Y nesaf oedd achos dau frawd oedd mewn anghydfod a'u gilydd, ac heb ddyweyd gair y naill wrth y llall er ys blynyddoedd. Yr oedd y ddau yn aelodau crefyddol. Gwnaethant erfyniadau gwresog a thaer ar ran y ddau frawd hyn. Y noson hono yr oedd un o honynt yn methu cysgu, yn meddwl am y sefyllfa annedwydd rhyngddo a'i frawd, a'r gwarth oedd hyny yn ddwyn ar eu cymeriad, ac ar achos Crist, yr hwn yr oeddynt yn proffesu eu bod yn ei garu; a phenderfynodd fyned ato i ofyn am gymmod. Boreu dranoeth gwnaeth frys i fyned at ei frawd, yr hwn a'i canfu yn dyfod, ac a aeth i'w gyfarfod. Cyfarchasant eu gilydd yn y modd mwyaf serchog, a chyda dagrau cyffesasant eu camweddau y naill i'r llall—pob un yn cyhoeddi ei hunan ar y bai, a'r llall yn ddieuog. Yna ymadawsant wedi cwbl faddeu i'w gilydd fel brodyr.

"Yn gwneuthur daioni na ddiogwn," meddai y chwiorydd hyn, "Ni a ofynwn ychwaneg eto gan Wrandawr gweddi." Gwyddent am un brawd yn yr eglwys oedd yn y sefyllfa fwyaf truenus mewn canlyniad i "ieuo gydag un ddigred," yr hon oedd yn nodedig wrthwynebol i Gristionogaeth. Yr oedd ei hymddygiad afresymol mor gyhoeddus nes ei bod yn wrthddrych gwawd cyffredinol, ac yr oedd yn arswyd i'w theulu ei hun. Nid oedd dim ond gallu Duw allasai ddarostwng calon un o'i bath, am yr hyn y gofynai y chwiorydd hyn gyda phob taerineb, ac am waredigaeth ei gwr o'i sefyllfa druenus.

Yr oedd cyfarfodydd gweddio boreuol wedi bod yno er ys rhai wythnosau, ac ar y boreu canlynol i'r cyfarfod oedd gan y chwiorydd hyn, y brawd yr hwn oedd wedi dyoddef cymmaint gan "swmbwl yn y cnawd," a welid yn myned iddo gyda'i wraig yn pwyso ar ei fraich gyda theimladau dwys. Adroddai y gwr yn y cyfarfod ei fod wedi cael noswaith bryderus y

nos aeth heibio, a bod ei wraig dan deimladau annesgrifiadwy —ei phechodau fel mynyddau yn pwyso arni; a dymunai arnynt oll weddio drosti, am iddi gael gweled y fan i ffoi. Yn mhen ychydig ddyddiau gwelid hi mewn ysbryd isel fel plentyn bychan yn cymeryd ei haddysgu yn ysgol Crist.

Onid yw y ffeithiau hyn yn dangos calondid i fod yn daer mewn undeb ffydd ger bron Duw dros bersonau pennodol, gan gredu y bydd iddo ein gwrando?—*American Messenger.*

---

## YR AFRADLON DYCHWELEDIG.

PUM' mlynedd a haner yn ol yr oedd dyn ieuanc newydd briodi, yn ninas Brooklyn, yn byw yn afradlon, mewn anghymedroldeb, ac yn anystyriol, gan esgeuluso ei deulu yn y profedigaethau oedd wedi ddwyn arno ei hun yn ei afradlonedd, a chyflogodd i fyned yn forwr. Bu am dair blynedd yn crwydro oddicartref, yna dychwelodd, efallai gyda theimladau hiraethlon yr afradlon, i chwilio am ei gartref. Ond nid oedd hwnw i'w gael. Yr oedd ei wraig adawedig, gyda'i phlant, wedi gwneyd eu cartref yn nhŷ ei mam; ac yno nid oedd derbyniad iddo ef a phenderfynai y fam na chai efe edrych mwy ar wyneb ei merch, os gallai ei rwystro. Yr oedd ei blentyn ieuangaf wedi ei eni ar ol ei ymadawiad, nid oedd wedi ei weled erioed; ac os oedd bosibl, ni ch'ai byth ei weled.

Yn nghanol ei siomedigaeth a'i anobaith, ymollyngodd i'w hen arferion o ynfydrwydd ac anystyriaeth yn waeth o'r haner nag erioed. Yr oedd ganddo un cyfaill, ei frawd, oedd yn glynu wrtho. Gyda chynnorthwy a dylanwad y brawd hwnw ymsefydlodd mewn siop fechan ar Myrtle Avenue, ac annogwyd ef i dalu ei holl sylw at ei fasnach. Er y cwbl, ei anghymedroldeb gwastadol oedd yn difa ei fywyd digartref ac anobeithiol.

Aeth chwe' mis heibio; pan yn rhagluniaethol yr arweiniwyd un o genadon y ddinas i'w siop, lle y dechreuodd ymddyddan a'i frawd ef am grefydd. Teimlai y brawd hwn yn lled dawel o ran ei sefyllfa ei hun; a'i unig ymgais oedd am gael ei ddylanwad ar ran ei frawd truenus. Cydsyniai ein cyfaill M—— yn galonog â'r cais hwn, ac yn fuan cafodd yr hyfrydwch o gael ganddo arwyddo yr ardystiad o lwyrymattal-

iad. Cadwai wyliadwriaeth barhaus arno, ac arferai ei holl ddylanwad i'w gadw rhag digaloni na thori ei ymrwymiad. Yr oedd colli gwraig a phlant, at ba raj er ei anffyddlondeb, y teimlai ymlyniad serchog a pharchus, yn pwyso ar ei feddwl. Atolygai ar y cenadwr i gyfryngu drosto, a cheisio adgymmodiad. Cynghorai y cenadwr ef i fod yn amyneddgar, a dangos cywirdeb ei edifeirwch mewn diwydrwydd ac uniondeb, yr hyn a fyddai y ffordd fwyaf tebygol o lwyddo gyda'r gwrthddrych ar ba un y gosodasai ei galon. Nid oedd y mater o grefydd ychwaith yn cael ei esgeuluso. Arferai bob ymresymiad i ddwyn ei feddwl i'r goleu i ganfod ei rwymau i Dduw, a'r canlyniad tragywyddol o'i ymddygiadau. Cynghorai ef i ddilyn moddion gras yn gyson, ac i adael pob cyfeillach lygredig ac ymarferiadau afreolaidd.

Gwnaeth y cenadwr ymweliad a'r wraig, ac a hysbysodd am ei droedigaeth gobeithiol. Dangosai ei mam bob gwrthwynebiad iddi wneyd yr un sylw o hono mwy, na gwneyd un ymgais am ei adferiad. Tebyg nad oedd y ferch yn teimlo mor anghymmodol, eto yr oedd yn anmharod i goleddu un gobaith y byddai iddo byth gael ei lwyr adferu o'i ddrygioni, neu i ymddiried ei hun a'i phlant yn hollol i'w ofal. Tybiai M——, os adroddai y cwbl a glywsai ganddynt wrth ei gwr, y byddai iddo yn ei anobaith ddibrisio ei hun, a chyflawni hunanladdiad neu ymollwng i bob drygioni. Yn y gwrthwyneb ni ddywedodd air am benderfyniad anghymmodadwy y fam, ond gosododd o'i flaen deimladau mwyaf gobeithiol ei wraig, gan ei galonogi i barhau, a'i godi ei hun i'r sefyllfa a fyddai yn mynu ei serch a'i hymddiried—gan ei annog, beth bynag fyddai y canlyniad, mai dyna oedd ei ddyledswydd ef, a bod mwy o bwys o lawer mewn dilyn llwybran rhinwedd na'i gysur amserol yn y byd hwn.

Yr oedd ei awydd am ennill ei wraig a'i biant yn ol yn pwyso yn ddwysach ar ei feddwl yn barhaus. Nid yn unig yr oedd yn ddirwestwr, ond yr oedd yn fywiog gyda'i fasnach, yn gynil a diwyd. Cynnyddodd ei fasnach yn ei ddwylaw, ac mewn ychydig amser yr oedd wedi dyblu, yna treblu; ac yn ganlynol bu raid cael lle newydd ac ëangach. Dechreuodd pethau fel hyn ddyweyd yr hanes. Un diwrnod sylwai y cenadwr ei fod yn edrych yn hynod siriol, ac erbyn gofyn beth oedd y mater, dywedai *fod ei wraig wedi pasio*—eithr yr ochr arall i'r heol. "Daliwch ati," oedd yr ateb "cyn hir hi

a ddaw yr ochr *hyn.*" Felly y bu. Yn mhen ychydig wythnosau dywedai yn llawen iawn wrth y cenadwr ei bod wedi pasio heibio y drws. Ni ddywedodd air, ond meddai, "Edrychais trwy y ffenestr a gwelais hi, ac edrychodd hithau trwy y ffenestr a gwelodd finau." Cynnyddai yr adgymmodiad erbyn hyn yn gyflym, a deuai yn fwy amlwg. Arferai fyned i'r un tŷ o addoliad, ac yn ganlynol dechreuasant ymddyddan ar yr heol. Mae dwy flynedd o brawf wedi myned heibio.

Tair wythnos yn ol, cyfarfyddodd y cenadwr ag ef a dynes yn pwyso ar ei fraich, yr hon yr oedd wedi ei gweled o'r blaen. "Beth, pwy sydd genych fan yma," meddai. "Fy ngwraig!" atebai y priodfab dedwydd. "Fy ngwraig a'm plant! Yr ydym yn byw yn rhif —; a ddeuwch i'n gweled?" Aeth y cenadwr, ac a'u canfu yn eu cartref newydd, yn fwy dedwydd nag un pâr newydd briodi. Yr oedd gweled diwedd fel hyn ar bedair blynedd o feddwdod truenus, a dychweliad afradlon o'i grwydriadau, yn olygfa gwerth ei gweled.—*N. Y. Examiner.*

---

## CYNGHORION I IEUENCTYD.

1. Casglwch wybodaeth o'r Ysgrythyr Lân, fel Timotheus. 2 Tim. iii. 14, 15.

2. Dewiswch yn hytrach ddirmyg Crist o flaen mwyniant pechod, fel Moses. Heb. xi. 24, 25.

3. Ceisiwch ddoethineb i lenwi eich cylchoedd, fel Solomon. 2 Cron. i. 11, 12.

4. Glynwch wrth bobl dduwiol, fel Ruth. Ruth i. 14—18.

5. Cymerwch fantais ar bob adeg i wneyd lles, fel morwynig Naaman. 2 Bren. v. 2, 3.

6. Gwrandewch gynghorion profiad duwiol, fel Joas. 2 Cron. xxiv. 1, 2.

7. Gochelwch ymlygru trwy foethau, fel Daniel a'i gyfeillion. Dan. i. 8, 9.

8. Gochelwch ddeniadau anniweirdeb, fel Joseph. Gen. xxxix. 7—9.

9. Gochelwch gellwair âg ordeinhadau crefydd, fel meibion Eli. 1 Sam. ii. 22—24.

10. Gochelwch ymserchu gormod yn ngolud y byd, fel y gŵr ieuanc. Marc x. 17—23.

11. Gochelwch ddirmygu henaint, fel plant Bethel. 2 Bren. ii. 23, 24.

12. Ymgeisiwch am dderchafu crefydd bur, fel Josiah. 2 Bren. xxii. 1, 2.

"Chwiliwch yr Ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol."—*Geiniogwerth.*

---

## HANESYN A GHYNGHOR I FECHGYN.

YN ddiweddar aeth bachgen ieuanc i swyddfa marsiandwr yn Llundain i chwilio am le yn ysgrifenydd; ac wrth dynu allan bapyrau o gymeradwyaeth o'i *fag*, dygwyddodd iddo dynu Beibl allan.

"Pa lyfr yw hwna?" ebe y meistr.

"Y Beibl, syr," ebe y gŵr ieuanc.

"Pa beth ydych chwi am wneyd â hwna yn y ddinas hon?"

Edrychodd y bachgen yn sobr yn ngwyneb y marsiandwr, a dywedodd:—

"Addewais wrth fy mam, pan yn ymadael â'm cartref, y gwnawn ei ddarllen bob dydd, ac mi a wnaf hefyd." Yna torodd allan i wylo.

Cyflogodd y marsiandwr ef yn y fàn; ac yn mhen amser wed'yn, cafodd ei gymeryd i mewn yn *bartner* yn y *ffirm*, yr hon sydd yn un o'r rhai mwyaf yn yr holl ddinas.

Cymerwch chwi ofal mawr, 'mechgyn i, am dalu sylw mawr i'r HEN LYFR, ac mi wnaiff o rywbeth o honoch chwi heblaw eich codi yn farsiandwyr—gwnciff! fe wneiff bawb a'i parcho yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw. Credwch ef, ac ufuddhewch iddo, a chwi a deyrnaswch yn oes oesoedd.—*O'r Drysorfa.*

---

## GWEDDI.

YMAE gweddi yn borthladd i'r dyn y mae yn llongddrylliad arno, yn angor i'r rhai sydd yn soddi yn y tonau, yn ffon i'r aelodau sydd yn gwegian, yn fŵnglawdd o emau i'r tlawd, yn iachawr i afiechyd, ac yn amddiffynwr i iechyd. Y mae gweddi ar unwaith yn sicrhau ein bendithion, ac yn gwasgaru cwmwl ein helbulon.

O fendigedig weddi! tydi wyt orchfygydd diflino y trallodion dynol, sylfaen gadarn o ddedwyddwch dynol, ffynon o lawenydd parhaol, ac yn fam i athroniaeth. Y dyn a all weddio mewn gwirionedd, er ei fod yn nychu yn nghafael tlodi mawr, sydd gyfoethocach na phawb arall nad ydynt yn gweddio; pan mae y dyhiryn yr hwn ni phlygodd ei ei lîn erioed *mewn gweddi*, er iddo gael ei orseddu yn frenin ar yr holl genedloedd, y mwyaf amddifad o bawb.—*Chrysostom.*

---

## CYSTUDDIAU.

MAE Duw yn dysgu, ac yn meithrin ei bobl, fel trwy lawer o anhawsderau y gallant fyned i'w gorphwysfa.

Pan y rhoddir *thus* yn y tân, y pryd hyny y rhydd efe fwyaf o'i berarogl; os pwyir pêrlysieuyn (*spice*), efe a arogla yn felysach. Mae y ddaear yn fwy ffrwythlon wrth ei throi i fyny â'r aradr; y mae yr had yn y ddaear, ar ôl y rhew, yr eira, a thymestloedd y gauaf, yn tarddu, ac yn tyfu yn gryfach. Pa agosaf i'r gwreiddyn y taclusir y winwydden, mwyaf yn y byd fydd y grawnwin a rydd. Pan y curir ac y gwesgir fwyaf ar rawn y winwydden, y pryd hyny y ceir y gwin melysaf. Mae yr aur yn burach wedi ei dynu drwy y tân. Mae ceryg geirwon trwy gael eu naddu, yn cael eu gwneyd yn gymhwys i'w rhoddi mewn adeilad. Fe rwygir ac fe dorir brethyn i'w wneyd yn wisg. Mae llian yn cael ei olchi, ei ddirwasgu, a'i guro i'w wneyd yn decach. Mae y pethau hyn yn gynlluniau cynnefin i ddangos yr elw a'r budd y mae plant yr Arglwydd yn ei dderbyn trwy erledigaeth a *chystuddiau.* Trwy hyn y mae Duw yn golchi, ac yn puro ei bobl. "Yr ydym (meddai Paul) yn gorfoleddu mewn gorthrymderau, gan wybod fod gorthrymder yn peri dyoddefgarwch, a dyoddefgarwch brofiad a phrofiad obaith, a gobaith ni chywilyddia." Mae nerth Duw yn cael ei berffeithio mewn gwendid, ac y mae pob peth yn troi er lles i'r rhai sydd yn ofni yr Arglwydd.—*Esgob Jewell.*

---

Y GAIR YN Y GALON.—Mae gelyn ein heneidiau yn foddlawn fod gwirioneddau dwyfol yn ein deall, os gall rwystro eu mynediad i'n calonau.

## CHWEDL AM Y CLOFF A'R DIOG.

YR oedd dau gardotyn, un yn gloff a'r llall yn ddiog, mewn angen am fara. Un a bwysai ar ei faglau, a'r llall a ledorweddai ar ei wely. Y Cloff a alwai ar Tosturi, ac yn ostyngedig, a ofynai am gael *cracker*, ac yn lle *crackers* derbyniodd dorth. Y Diog pan welodd rodd Tosturi, a a ddywedodd, "Beth, gofyn am gael *cracker* a derbyn torth. Wel, mi ofynaf fi am dorth." Cyfeiriodd Diog at Tosturi, a galwodd am dorth o fara. "Gan eich bod yn gofyn am dorth," ebe Tosturi, "y mae hyny yn profi eich bod yn gasglwr torthau; yr ydych o'r cymeriad hwnw, ag sydd yn gofyn ac heb dderbyn—yr ydych yn gofyn ar gam." Y Diog, yr hwn sydd yn well ganddo gwynfanu na gweithio, a feiodd o herwydd y driniaeth ddrwg a gafodd, a chyhuddodd Tosturi o dori addewid fawr iawn a gwerthfawr, "Gofynwch a rhoddir i chwi." Cyfeiriodd Tosturi ef at ddarlun oedd yn ei ystafell, yr hwn a bresenolai i'w olwg—Ffydd, Gobaith, Cariad. Ymddangosai Cariad neu Tosturi, yn fwy ac yn decach na'r llall. Sylwodd fod yn llaw ddeau Tosturi lestr a mêl ynddo, â pha un y porthai efe wenynen analluog, yr hon a gollodd un o'i hadenydd; a bod yn ei law aswy fflangell i gadw y gwenyn gormesol a diog draw. "Nid wyf yn ei ddeall." ebe Diog, "Ei feddwl yw, fod Tosturi yn porthi y Cloff ac yn fflangellu y Diog." Ar hyn trodd Diog i fyned ymaith. "Aros," ebe Tosturi, "yn lle arian, rhoddaf i ti gynghor. Na ddos at dy fam dlawd, eithr dos at y morgrugyn cyfoethog." Diar. vi. 6.

Mae llawer diogyn yn dysgwyl am i ryw ewythr cyfoethog farw; ond gwell fyddai i'r cyfryw fyned at y morgrugyn, ac edrych ar ei ffyrdd ef.

---

## DETHOLION.

**Gweddio dros ein plant wrth eu henwau.**—Gofynodd Mr. Charles mewn cyfarfod eglwysig i ŵr crefyddol, ag oedd hefyd yn dad i amryw o blant, "A fyddwch chwi yn gweddio dros eich plant?" "Byddaf," ebe yntau. "Ië," meddai Charles, "a fyddwch yn gweddio drostynt wrth eu henwau; canys ni chymer Duw hyny yn ddyeithr ynom: gallwn arfer pob *plaender* sanctaidd ger bron Duw mewn gweddi."

Y CORFF YN NACAU DILYN Y MEDDWL.—Addawodd y naill gyfaill wrth y llall y buasai yn bore godi y dydd canlynol; ond ei gyfaill a gafodd yr addäwr yn ei wely fel arferol y dydd hwnw drachefn. "Pa fodd y mae hyn?" ebe yr ymwelydd. "Addawsoch neithiwr godi yn foreu heddyw." "Do, do!" ebe y brawd arall, oddiar ei orweddfa; "Yr ydwyf wedi gwneyd i fyny fy meddwl i godi yn foreu; ond y drwg yw, fy mod yn methu yn glir gwneyd i fyny fy ngorff."—*Drysorfa.*

TROEDIGAETH PECHADUR.—Y Parch. E. H. Chapin, gweinidog Universalaidd, yr hwn a ddengys nad oes ganddo fawr o ymddiried yn yr adfywiadau presenol, a dywedai yn ddiweddar nad oes modd troi dyn o fod yn bechadur rhyfygus i fod yn sanct ar unwaith. Gofyna y *Baltimore Patriot* i'r gwr Parchedig, beth a wna efe o droedigaeth yr apostol Paul.

YR IUDDEWON.—Allan o 700,000 o Iuddewon yn y Taleithau Unedig, nid oes ond un yn cael ei gofrestru yn dyddynwr. Deonglir hyn fel un o'r amlygiadau o unigedd nodedig yr Iuddewon, yn ol y brophwydoliaeth yn Amos ix. 9: "Canys wele, mi a orchymynaf, ac a ogrynaf dŷ Israel yn mysg yr holl genedloedd, fel y gogrynir ŷd mewn gogr; ac ni syrth y gronyn lleiaf i'r llawr."

---

## YR ADFYWIADAU CREFYDDOL.

MAE yr adfywiadau crefyddol yn parhau yn eu dyddordeb yn gyffredinol trwy y wlad, ac yn cryfhau o ran dwysder mewn rhai manau, ac yn ymledu i leoedd newyddion yn barhaus.

Dywedir nad oes braidd un eglwys efengylaidd yn New York heb gael ychwanegiadau mawrion yn ystod y pedwar mis diweddaf. Cedwir cyfarfodydd gweddio yn mhlith y dosbarth iselaf yn y *Five Points*, a cheir arwyddion gobeithiol o ddiwygiad yn eu plith.

Mae Cymdeithas Gristionogol Dynion Ieuainc yn Philadelphia yn adeiladu pabell anferthol o faintioli, digon o faint i gynnwys 4,000 o bersonau, er mwyn cynnal pregethu yn lleoedd mwyaf anghyfanedd y ddinas yn y tymhor haf.

Mae yr adfywiadau ar gynnydd yn Boston. Cedwir cyfarfodydd gweddio yn llawer o'r sefydliadau masnachol yn y ddinas. Nodir am un mewn gweithdy lle mae pedwar ugain o weithwyr; un arall yn llofft uchaf un o'r siopau *dry goods* mwyaf, lle mae amryw wedi eu dychwelyd. Mewn un man cedwid cyfarfod gweddi mewn lluest ar un o'r porthladdoedd.

Dywedir fod clwb o anffyddwyr halogedig yn dadleu ar fedydd yn ddiweddar, yn Andover, Mass., ac wrth chwilio y Beibl er cadarnhau eu pwnc, cafodd chwech neu saith o honynt eu hargyhoeddi o'i wirionedd; ac y maent yn awr yn proffesu eu ffydd yn Nghrist a'u hymddiried ynddo.

Dywedir am un *gambler* nodedig yn Uxbridge, iddo pan oedd y cardiau yn ei ddwylaw, gael ei daro, bron fel Saul o Tarsus. Ni fedrai eu dal yn ei ddwylaw na chwareu. Ceisiai ei gyfeillion ganddo gymeryd glasiad i dawelu ei feddwl. Gwrthododd, ac aeth adref yn uniongyrchol, gan eu gadael oll; a methai gael tawelwch nes iddo gael arwydd yn ei feddwl fod ei enaid mewn heddwch â Duw.

Dywedir fod agos yr holl gyfreithwyr yn Mansfield, Ohio, wedi ymuno a'r gwahanol eglwysi.

Yn Chelsea, Mass., mae gwerthwr gwirod wedi ei ddychwelyd, a rhoi heibio ei fasnach, ac agor ei *saloon* i gynnal cyfarfodydd gweddi.

Mae pedwar o'r carcharorion wedi eu dychwelyd yn ngharchardŷ Wyoming, N. Y.

Nodir engr eifftiau fel hyn i ddangos y modd mae Ysbryd Duw yn ymwneyd â meddyliau dynion mewn modd neillduol.

Mae newyddion tra gwerthfawr am adfywiadau tra nodedig mewn amryw o'r colegau yn y gwahanol Dalaethau; yr hyn sydd yn arwydd da fod gobaith y bydd ein prif ddysgawdwyr, ein cyfreithwyr, ein marsiandwyr, &c., yn ddynion crefyddol a duwiol.

Mae newyddion tra hyfryd o'r Taleithau Deheuol, yr adfywiadau yn ymledu yn y prif ddinasoedd yn barhaus, yn

Louisville, Wilmington, Charleston, Richmond, Mobile, Baltimore, &c., a dwysder mawr yn dilyn y cyfarfodydd gweddio yn gyffredinol.

Os parha y cyfarfodd gweddiau i ymledu a llwyddo yn y De; bydd y canlyniad yn fwy effeithiol er dynoethi drygedd caethiwed na holl ddoniau mwyaf hyawdl y byd; oblegid os bydd y galon wedi ei gwir oleuo gan Ysbryd Duw i weled pechod yn ei liw ei hun, mae yn rhwym o gasau pob gorthrwm ac anghyfiawnder; nid fel Ananias i goleddu un pechod, ond fel Zaccheus i unioni pob cam o egwyddor gywir. Mor sicr a bod yr efengyl yn dysgu dyn i gyfaddef ei bechod, mae yn ei ddysgu hefyd i'w adael.

Dywed y newyddion diweddaraf o Brydain fod yr adfywiadau yn ychwanegu yno, er nad yw yn ymledu mor gyflym ag yn y wlad hon.

Dymunem ychwanegu hefyd fod y cyfarfodydd gweddiau yn parhau yn eu dyddordeb yn Utica a Rome, yn nghyda lleoedd eraill yn y sir hon, yn mhlith y Cymry a'r Saeson; a gobeithio y bydd effeithiau da yn eu dilyn.

R. R. M.

---

## ENGLYNION

BEDDARGRAFF Y PARCH. ROBERT WILLIAMS, MINERSVILLE, PA.

(Buddugol.)

Llyma'r gweryd lle mae'r gwron—teilwng,
Robert Williams weithon;
Bugeilydd byw'i galon,
A llyw ei oes, fu'n llaw Iôn.

I'r annoeth bu'n arweinydd—i'w genedl
Bu'n gynorth mewn crefydd;
A'i Dduw da, pan ddaw y dydd,
A eilw hwn i'w lawenydd.

PARCHWR ENW DA, *neu* DAFYDD CADWGAN.

*Johnstown Pa.*

## NODIADAU O BREGETH.

ESA. lv. 3. "Gwrandewch a bydd byw eich enaid."

YMAE pob dyn yn caru ei fywyd, a dylai dynion garu eu bywydau. Ac oh! na f'ai ar ddynion, fwy o ofal am eu bywydau. Y mae yn y testyn addewid o fywyd i rai wedi ei golli, a hyny ar y telerau hawddaf, dim ond gwrando.

Y peth cyntaf dan ein sylw fydd y ddyledswydd o wrando geiriau Duw. Yn nesaf yr hyn sydd i'w gael wrth wrando, sef bywyd.

I. Gwrando. 1. Beth yw gwrando. 2. Pa fodd y mae gwrando. 3. Pa bryd y mae gwrando. 4. Ar bwy y mae gwrando.

1. Beth yw gwrando. Y mae gwrando yma yn golygu mwy na chlywed, a mwy na sylwi; golyga feddwl wedi ei feddianu gan y peth a glywir. A hyny i'r fath raddau nes gollwng pethau llai dros gof. Ymchwliad manwl i'r pethau, a derbyniad teilwng o'r pethau; yn nghydag ymddygiad priodol i'r pethau.

2. Pa fodd y mae gwrando. Gwrando yn effro, gwrando yn ddeallus, gwrando yn ystyriol, a gwrando yn ddifrifol megys ar Dduw, ac nid ar ddyn.

3. Pa bryd y mae gwrando sef Heddyw os gwrandewch, medd yr Ysbryd. Gwrando pan y mae Duw yn llefaru, rhag os tawa, na lefara byth mwy. Gochelwch i Dduw dewi ddynion anwyl, cyn i chwi ddechreu gwrando.

4. Ar bwy y mae gwrando. Pan y mae llawer yn llefain ar ol dyn ar yr unwaith, y mae yn bryd iddo ystyried, yn bwyllus, a diragfarn, ar bwy y mae gwrando. Dichon y bydd y cnawd yn cynhyrfu, y byd yn denu, a'r diafol yn temtio. Ond er pob peth cofiwch mai ar Dduw y dylech wrando, o herwydd—

"Swn mwy hoff a sain mwy hyfryd
Glywir yn ei eiriau Ef."

II. Yr hyn sydd yn deilliaw trwy wrando. A bydd byw

eich enaid. "Y mae gwrando yn well nac aberth, ac ufuddhau na brasder hyrddod." Bydd byw! Mater bywyd yw y gwrando (anwyl ddynion), a Duw a'n dysgo i wrando am fywyd, Iё bywyd enaid. Y mae dynion yn gyffredin yn gwrando i bwrpas pan y byddo mater bywyd y corff yn cael ei drin mewn llys gwladol; ond y difaterwch mwyaf pan y byddo mater enaid ar y bwrdd yn y weinidogaeth.

Rhyw enaid rhyfedd yw enaid pechadur, enaid heb fywyd! "Chwithau a fywhaoedd efe pan oeddech feirw mewn camweddau a phechodau." Ond bendigedig fyddo Duw pob gras, am ei ddawn anhraethol, trwy ei Ysbryd tragywyddol. Y mae yn medru yn yr efengyl, trwy yr efengyl, lefaru bywyd i feirw.

Yn awr at y gwrando. A gwrando am fywyd fyddo y gwrando.

1. Gwrando am farw Iesu, nes cael bywyd yn ei farw ef!

2. Gwrando am ei adgyfodiad ef, nes codi ein heneidiau uwchlaw y byd a'i bethau at *Iesu*, Cyfryngwr y Testament Newydd.

3. Gwrando am ei esgyniad, nes esgyn ar ei ol mewn myfyrdodau a serchiadau. "Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod."

4. A chaiff y cyfryw yn y man wrando ar ei leferydd ef ei hun, yn eu galw i fywyd tragywyddol. Efe a ddaeth fel y caem fywyd, ac y caem ef yn helaethach.

Y mae Duw yn llefaru i fywyd. "Ar rhai a glywant a fyddant byw." Peth hoff iawn yw oedfa fywiog, Duw yn llefaru, a'r bobl yn clywed, ïe Duw yn llefaru unwaith, a'r bobl yn clywed ddwywaith. Fel arall y mae yn fynych yn ein dyddiau ni, sef Duw yn llefaru lawer gwaith, a'r bobl heb glywed unwaith. Rhyw genadwri ryfedd oedd gan Ezeciel, pan y gwaeddai ar esgyrn sychion i glywed gair yr Arglwydd. A'r rhai a glywsant a fuant byw. Y mae rhyw beth yn hoffus iawn mewn byw, ac am fyw yr ydym i gyd. A bendigedig fyddo

Duw, y mae yntau am i ni fyw. Ac yn y testyn y mae wedi gosod telerau bywyd yn isel iawn, dim ond, "gwrandewch." "Gogwyddwch eich clust a deuwch ataf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid." Hawdd iawn yw *treifflo* oedfa heibio yn awr ond cofiwch, mai nid *trifles* ydyw oedfaon; nage eneidiau anwyl, ond moddion bywyd, ïe unig foddion Duw i roi bywyd i'r byd. Y mae peth mawr yn troi ar wrando. A Duw o'i ras a lanwo ein hoedfaon â gwir arwyddion bywyd. Y peth byw fyddo yn nghanol yr olwynion. Amen.

*Ebensburg, Pa.* T. R. Jones.

---

## Y PREN AFALAU.

Cân. ii. 3. "Megys pren afalau yn mysg prenau y coed, felly y mae fy anwylyd yn mhlith y meibion; bu dda genyf eistedd dan ei gysgod ef, a'i ffrwyth oedd felys i'm genau."

MEDDYLIA Maundrell, mai y pren *citron* olygir yn y testyn, am nad oedd yr un pren arall yn ateb mor dda i'r darluniad; felly mae eraill hefyd yn cael eu tueddu. Gan mai nid ein bwriad yw ysgrifenu yn feirniadol ar y geiriau, ni a sylwn:

I. Bod pren afalau yn mysg preniau y coed yn ddarlun o Grist.

1. Am fod ei darddiad yn ymddangos yn wanaidd. "Blaguryn a dyf o'i wraidd ef." Nid oedd Iesu Grist pan ei ganwyd yn Bethlehem Judah, ond gwanaidd fel dyn, er ei fod yn wir Dduw. Efe a dyfodd allan yn fychan, ac eiddil ei ddull.

2. Am ei fod yn cynnyddu yn raddol. Nid ar unwaith y daeth Crist i enwogrwydd, ac i fod yn fawr. Yr ydoedd yn ddeuddeg mlwydd pan yn y deml yn trechu y doctoriaid, ac yn ddeg mlwydd ar hugain yn myned iddei swydd yn gyhoeddus.

3. Oblegid ei harddwch. Canfyddai Seion ef yn rhagori ar ddeng mil. Dywedai, "Mae efe oll yn hawddgar." Ni

chanfyddai ei gyffelyb o ran tegwch "yn mhlith y meibion." Yr oedd pob rhinwedd wedi cyd-gyfarfod ynddo ef, megis sirioldeb Dafydd, doethineb Solomon, amynedd Job, llarieidd-dra Moses, ffyddlondeb Caleb a Josua, &c., ïe yr ydoedd yn fwy yn mhob rhinwedd na phob un o honynt.

4. Am fod cysgod dano. Gwna y dwyreinwyr ymbleseru i eistedd dan gysgod pren yn yr haf poeth er mwyn mwynhau yr awelon iachusol, a chael eu diogelu rhag gwres yr haul. Dan gysgod pren afalau mae y saint yn eistedd yn ngwres y dydd, lle chwyth awelon o Galfaria iddeu lloni, a'u bywiocâu, ac mae cysgod dan aberth iawnol Adda'r ail rhag pob perygl. Nid yn y dwyrain bell mae y pren afalau iddei gael, ond yn yr ardal lle yr ydym yn byw, ac mae miloedd wedi dyfod yn ddiweddar o dan ei gysgod ef.

5. Oblegid melysder ei ffrwyth. "Yr ydoedd yn felys i'r genau." Ar y pren afalau sydd dan sylw mae y ffrwyth melysaf gafwyd erioed yn y byd yma; mae yn dangos natur y ffrwythau aeddfed geir yn y Ganaan nefol. Nid yw y pren afalau hwn byth heb ffrwyth toreithiog yn aeddfed nes

"Plygu ei frig er cymhell pawb
I fwyta o'i ffrwythau pur."

Gellir dywedyd mai pren afalau hynod yw hwn:

1. Oblegid nad yw ef yn heneiddio, nag yn crino.
2. Mae ei ddail yn iachau y cenedloedd.
3. Mae cyfranogi o'i ffrwyth yn sicrhau bywyd tragywyddol.
4. Gelwir arnom i fwyta o'i ffrwyth fel y byddom byw.

Gofyniad i'r plant. A wnewch, neu a ydych chwi yn caru Iesu Grist? Os ydych, gweddiwch am gael modd i fyw er ei ogoniant.

HEN ATHRAW.

---

## PA LE MAE YR EGLWYS?

A. A oes genych eglwys yn y dref hon?

B. Oes; y mae genym eglwys o tua chant o aelodau, a myfi yw ei gweinidog.

A. Mae yn dda genyf glywed; a chan fy mod yn dysgwyl cael treulio tipyn o amser yma, yr wyf yn gobeithio cael cyfleu i ddyfod yn adnabyddus a'ch eglwys.

B. Siwr iawn; a chewch gyfle da. Heno y mae ein cyfarfod gweddi wythnosol; dydd Gwener, cynnadledd fisol yr eglwys, a chyfarfod at orchwylion pennodol; a'r Sabboth nesaf ein cymundeb. Bydd yn dda genym eich gweled yn y cyfarfodydd hyn.

Dyna fy nghyfarchiad cyntaf i'r gweinidog B. Wel, yr oeddwn yn llawen yn derbyn ei wahoddiadau, ac yn ganlynol aethym i'r cyfarfodd gweddi. Nid oedd yno ond tua dwsin yn bresenol, ac felly ni welais yr eglwys. Dydd Gwener a ddaeth, a minau yno yn dysgwyl y cyfarfod eglwysig, lle yr oedd y gweinidog, un diacon, pump o frodyr, a phedair ar ddeg o chwiorydd, *un ar hugain* o gwbl. Cawsant gyfarfod cysurus; adroddai dau eu profiadau, a chawsant eu derbyn, a rhai gweithrediadau a basiwyd, gan yr *ychydig*, nid gan yr eglwys, oblegid yr oedd y mwyafrif yn absennol. Daeth y Sabboth—diwrnod hyfryd—yr ordinhad o fedydd yn cael ei gweinyddu, a deheulaw cymdeithas yn cael ei hestyn, a phump a deugain a eisteddasant wrth fwrdd yr Arglwydd—yr oedd yn ddiwrnod da. Boreu dydd Llun gelwais gyda'r gweinidog, pan sylwodd: "Wel, y brawd A., y mae yn dda genyf gael dyfod yn gydnabyddus â chwi, ac y mae fy eglwys wedi ei boddhau yn fawr yn y cyfarwyddiadau gafodd genych."

A. Cefais amser hyfryd; ond am eich eglwys, ni welais hi. Dywedasoch ei bod yn cynnwys tua chant o aelodau. Yr oedd tua dwsin yn y cyfarfod gweddi, un ar hugain yn y cyfarfod eglwysig, a phump a deugain yn y cymundeb. Nid oedd y cynnulliad mwyaf yn gwneyd haner yr eglwys. Ni welais fwyafrif yr eglwys.

B. Wel, ni welais erioed fwy wedi troi allan ar y cyfryw achlysuron; yr oeddwn yn meddwl ein bod wedi cael cyfarfodydd lled lawnion.

A. Ac eto nid oedd yr eglwys yn y cyfarfod gweddi, nag yn y gynnadledd na'r cymundeb!

Yn awr, wrth ymholi, yr wyf yn canfod y gellid rhoddi y cyfryw gyfrif o lawer o eglwysi eraill. Y lleiafrif a hwnw weithiau yn fychan, fydd yn cynnal y moddion, yn trefnu

achosion yr eglwys, ac yn derbyn a diarddel aelodau. Ychydig fydd gan y mwyafrif i'w wneyd â materion yr eglwys.

Gan hyny, yr wyf yn gofyn eto, *pa le y mae yr eglwys?*—pa le mae i'w chael?—pa le mae yn cyfarfod? Gwir, fod ychydig o bob eglwys yn cyfarfod, ond ai y rhai hyn yw *yr eglwys?* Pa le gan hyny mae yr eglwys i'w chael? A ydyw yn weledig yn unman heblaw yn y rhifres o enwau yn yr hyn a elwir "coflyfr eglwysig?" Os yw y lleiafrif yn cyfansoddi eglwys mewn gwirionedd, yr wyf fi wedi camsynied yn fawr. —*Z. A.*

---

## PAHAM NAD YDWYF YN GRISTION.

1. AI am fod arnaf ofn cael fy ngwawdio, a'r hyn a ddywed eraill am danaf?

"Pwy bynag fyddo cywilydd ganddo fyfi a'm geiriau, bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau hefyd."

2. Ai o herwydd anghysondeb Crisionogion proffesedig?

"Pob un o honom drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw."

3. Ai am nad ydwyf yn barod i ymadael â phob peth er mwyn Crist?

"Pa lesâd i ddyn, os ennill efe yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun?"

4. Ai am fod arnaf ofn na chaf dderbyniad?

"Yr hwn a ddel ataf fi nis bwriaf ef allan ddim."

5. Ai am fod arnaf ofn fy mod yn ormod pechadur?

"Gwaed Iesu Grist sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod."

6. Ai am fy mod yn ofni na fydd i mi "barhau hyd y diwedd?"

"Bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist."

7. Ai am fy mod yn tybied y gwnaf oreu y medraf, ac y dylai Duw foddloni ar hyny?

"Pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, *y mae efe yn euog o'r cwbl.*"

8. Ai fy mod yn oedi y mater, heb un rheswm penodol?

"Nac ymffrosia o'r dydd y fory, canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod."

9. Ai am fy mod yn ceisio achub fy hun trwy foesoldeb, neu ryw ffordd arall o'm *heiddo fy hun?*

"Nid oes enw arall wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig."

10. Ai am nad wyf yn eglur ganfod y ffordd i fod y gadwedig?

"Edifarhewch, a chredwch yr efengyl." "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab; fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ioan iii. 16.—*American Messenger.*

## CYNGHORION SYML

**I BOBL IEUAINC, I RODDI EU HUNAIN I'R ARGLWYDD, AC AT EI WAITH.**

"Daionus iawn a gwerthfawr yw
Cael dechreu dyddiau gyda Duw."

1. RHODDWCH eich hunain i'r Argwydd yn ieuainc, oblegid Efe a'ch gwnaeth, ac a'ch piau chwi a'ch holl amser.

2. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid y mae yn afresymol i neb arall gael dim o'ch amser, oblegid Efe sydd yn eich cynnal.

3. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid nad yw eich holl dyddiau yn rhy faith i wasanaethu Duw.

4. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid fe roes eich Gwaredwr ei holl ddyddiau i wneuthur iachawdwriaeth i chwi, ac am hyny addas i chwithau roddi eich holl ddyddiau i'w wasanaeth yntau.

5. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid fod yn haws i rai ieuainc gyd-ddwyn a'r iau, a bydd o'r diwedd yn hyfrydwch i chwi. ~~Dyma oedd profiad~~ Jeremiah. Galar. iii. 27, 30.

6. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid fod y rhai a ddeuant at y gwaith mewn oedran mawr dan anfantais i fod yn ddefnyddiol.

7. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid mae mwy o hyfrydwch yn ngwasanaeth Duw nac yn ngwasanaeth Satan: "Y can' cymaint yn y byd hwn."

8. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid myned yn galetach bob dydd yn ngwasanaeth pechod, a'r ymarferiad o hono a seria eich cydwybodau.

9. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid, os oedwch, chwi a alerwch yn chwerw am bob awr a dreuliwch yn ngwasanaeth pechod, naill ai yn y byd hwn ai yn y byd a ddaw.

10. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid y mae rhai ieuainc yn marw. Ewch i'r fynwent, a chwi a gewch weled beddau o bob maintioli. Sylwch ar y beddargraffiadau, a chewch weled fod yno rai gwedi marw yn eu mabandod, eraill yn eu hieuenctyd, y rhan fwyaf cyn cyrhaedd canol oed.

11. Rhoddwch eich hunain yn ieuainc, oblegid nid oes ond gobaith gwan i chwi am gael eich hachub ar ol myned yn hen. (Aberthau ieuainc yn unig oeddent gymeradwy dan y gyfraith; nid oedd yr hynaf i fod dros saith mlwydd oed.)

*Gwrthddadl.* Fe achubwyd y lleidr ar y groes pan oedd yn marw, am hyny byddaf finau fyw yn dawel dan obeithio y câf fy achub pan yn marw.

*Ateb.* Gwir, fe achubwyd y lleidr; ond fe gymerodd pethau rhyfedd iawn le y pryd hwnw—yr oedd yr haul yn duo—y ddaear yn crynu—y creigiau yn hollti—y beddau yn ymagor—llen y deml yn rhwygo—ac Arglwydd y gogoniant yn marw ar bren!!! Ac, i'm tyb i, mae genyt gystal sail o obeithio am i'r pethau hyn gymeryd lle pan y byddi yn marw, ag sydd genyt i obeithio y cai dy achub y pryd hwnw, ar ol treulio dy oes yn was i'r diafol. Am hyny rhoddwch eich hunain yn ieuainc.—PB.

---

## GWEDDIAU HEN WR YN CAEL EU HATEB.

ADRODDAI y Parch. Dr. Taylor, o Newark, N. J. mewn cyfarfod yn New York, yr amgylchiadau canlynol er cefnogi rhieni i weddio dros eu plant.

"Amrai flynyddoedd yn ol, hen wr, yr hwn oedd yn Gristion didwyll, a gychwynodd gyfarfod gweddi, yr hwn sydd eto yn parhau i gael ei gynnal, ac wedi dwyn ffrwythau daionus lawer gwaith. Fel gweinidog yr oeddwn yn cael mwynhau llawer o'i gyfeillach, yn enwedig yn ei afiechyd diweddaf. Mewn amrai o'm hymweliadau ag ef canfyddwn ef ar y mynydd yn edrych ar Wlad yr Addewid. Pan ymwelais ag ef un boreu ymddangosai nad oedd dim yn tori ar ei gysur nac yn attal ei ddedwyddwch (yr oedd yn dlawd ac yn byw yn gynnil), a phenderfynais gael boddlonrwydd i'm meddwl a oedd dim

yn ei flino. Wrth fyned i'w ystafell gofynais iddo, 'Pa fodd yr ydych heddyw?'

"'O, syr,' meddai yntau, 'yr wyf yn iach; paham nad ydwyf yn iach? yr ydwyf agos gartref. Ydwyf, yr wyf agos gartref—bron yn y nefoedd.'

"Cymerais y cyfleu i ofyn iddo, 'Fy anwyl syr, a fu dim yn ddiweddar yn pwyso ar eich meddwl i'ch poeni?' Ni ddywedai air, ond trodd ei wyneb at y pared, ac arosai felly am bump neu ddeng mynyd; yna trodd ei ben yn ol ar y gobenydd a'i wyneb tuag ataf, a gwelwn y dagrau yn treiglo i lawr ei ruddiau.

"'O oes,' meddai 'y mae un peth pwysig yn fy mlino.

"'Beth ydyw?' gofynais iddo. 'Dywedwch wrthyf eich holl feddwl yn rhwydd.'

"'Wel,' meddai yntau, 'y mae genyf ddeg o blant, ac yr wyf wedi bod yn gweddio ar Dduw er ys dros ddeng mlynedd ar hugain am gael gweled un o honynt wedi ei ddychwelyd cyn fy marw; ond y mae wedi gwrthod fy ngwrando. Maent oll wedi tyfu i fyny, fel y gwyddoch, ac nid ydynt eto yn Gristionogion.'

"Pa fodd yr ydych yn cael goruchafiaeth ar y blinder hwn?'

"'Ah,' atebai, 'yr un modd a chyda blinderau eraill—trwy droeglwyddo y cwbl ar Grist. Gwn fod Duw yn bwriadu ateb fy ngweddiau, ond y mae yn bwriadu aros nes y byddaf fi wedi myned. Ond efe a wna: caiff fy mhlant eu dychwelyd.'

"Mae yr hen wr wedi bod yn ei fedd bymtheng mlynedd. ac yr wyf wedi bod yn cadw gwyliadwriaeth dros ei blant byth er hyny; ac yn awr, heddyw gallaf ddyweyd fod saith o'r deg wedi eu dychwelyd i deyrnas Dduw, a bod yr wythfed hefyd newydd ddychwelyd. Dyma yr ateb i'w weddiau! Nid oedd Duw wedi anghofio: dim ond aros; a bydd iddo yr un modd ateb gweddiau yr holl rieni fyddo yn gweddio mewn ffydd am ddychweliad eu plant. Gan hyny byddwn hyderus, ac ymaflwn yn addewidion gwerthfawr Duw."—*Conant's Narratives.*

---

## PARCHU HENAINT.

Y DYDD o'r blaen yr oeddem yn trafaelu ar y *Rail Road* mewn cerbyd oedd yn orlawn o deithwyr. Pan ddaethom at un o'r *stations*, daeth gwr oedranus i mewn. Edrych-

ai o'i amgylch am le i eistedd, pryd y cyfododd bachgenyn o ddeg i ddeuddeg mlwydd oed i fyny, gan ddywedyd "Cymerwch fy eisteddle I syr." Derbyniwyd y cynygiad, ac eisteddai yr hen ŵr egwan i lawr. "Paham y rhoddaist dy eisteddle i mi?" gofynai i'r bachgen. O achos eich bod chwi yn hen, syr, a minau yn fachgen, oedd yr ateb parod. Yr oedd y trafaelwyr oll wedi cael eu mawr foddhau, ac yn llawenhâu. O'm rhan fy hun teimlwn awydd i ymaflyd yn yr ieuanc a'i wasgu i'm mynwes. Yr oedd yn parchu henaint yr hyn sydd bob amser yn ganmoladwy.

Pan fyddo bachgen neu lodes ieuanc nad ydynt yn dangos parch i'r oedranus, y mae yn arwydd sicr eu bod yn ddrygionus mewn mwy o ffyrdd nac un. Sicr genyf y gallai rhieni y bachgen hwn ymddiried iddo gartref ac oddi cartref.

*Cyf. gan* W. N. J.

---

## GWLAW, NEU DDIM GWLAW.

YN mhlwyf bychan *Yellowdale*, bu y ffermwyr yn hir heb weinidog. Un diwrnod, ymwelodd y Parch. Mr. Surely a'r pentref, a gofyn wyd iddo am aros dros y Sabboth, a phregethu iddynt. *Felly y bu.* Rhoddodd ei bregethau foddlonrwydd i'r bobl; ac yr oedd rhai o honynt yn bryderus am iddo aros *yno.* Galwyd cyfarfod i gael meddwl y plwyfolion. "Nid wyf fi yn gweled un dyben i fynu gweinidog," ebe hen ffermwr cyfoethog o'r enw *Sharp*, "nid oes neb a all ddysgu dim i mi; ac nid oes genym arian wedi eu cynnilo, gwell fyddai i ni eu rhoddi allan mewn rhyw beth a ddygo well elw i ni." Ymresymwyd yn gryf yn ei erbyn gan garwyr y Sabboth. "Wel," ebe *Sharp* (nid oedd am ddangos ei fod wedi ei argyhoeddi), mi glywais am weinidogion a allai weddio am wlaw, a'i gael ef. Pe gallem daraw ar y fath yma, mi fyddwn ni am ei gyflogi ef." Wedi hir ymddyddan, cytunwyd i gyflogi Mr. Surely ar yrammod iddo roddi iddynt wlaw, neu dywydd teg pan y byddai arnynt ei eisiau; oblegid yr oedd eu ffermydd yn dyoddef yn aml oddiwrth sychder mawr, neu wlawogydd trymion. "Yr wyf yn derbyn y cynnyg," ebe Mr. Surely, "ar yr ammod i chwi gytuno â'ch gilydd pa fath dywydd fydd arnoch ei eisiau." Ymddangosodd hyn yn rhesymol; a threfnwyd

pethau iddo aros yn Yellowdale am flwyddyn. Treiglodd wythnosau, yn mlaen, nes cyraedd gwres canol haf. Bu dair wythnos heb ddim gwlaw; dechreuodd y *corn* grychu gan y sychder. Yn awr am addewid y gweinidog. "Deuwch," ebe Sharp, gydag un neu ddau eraill (yr oedd eu ffermydd bryniog yn dyoddef gan y gwres), "mae arnom angen gwlaw; yr ydych yn cofio eich addewid." "Ydwyf," ebe y gweinidog, "gellwch gyfarfod yn nghyd." Galwyd cyfarfod, "Yn awr fy nghyfeillion," ebe y gweinidog, "beth yw yr hyn sydd eisiau?" "Gwlaw, gwlaw," ebe haner dwsin o leisiau. "O'r goreu; pa bryd y mynwch chwi ef?" "Y nos hon, a thrwy y nos," ebe Sharp," i'r hyn y cydsyniodd amryw o honynt. "Na, na nid heno," ebe un Smith, "mae genyf chwech neu saith dunell o wair da allan, ac ni fynwn er dim iddo wlychu." "Felly mae genyf finau," ebe un Mr. Peck; "dim gwlaw heno." Gofynai y gweinidog, "A fynwch chwi ef y fory?" "Cymer yr oll o fory i'w gael i mewn." Felly, yr oedd gwrthwynebiad i gael gwlaw am y ddau, na'r tri diwrnod canlynol. Gofynai Mr. Surely iddynt, a fynent hwy ef y pedwerydd dydd. "Mynwn," ebe Sharp, "bydd yr holl wair i mewn y pryd hyny, ac ni bydd achos tori ychwanag tan ——." "Sefwch, sefwch," ebe Mrs. Sharp gan dynu ei gŵr wrth ei lawes, "dyna y diwrnod yr ydym yn myned i *Snow Hill*, rhaid iddi beidio gwlawio y diwrnod hwnw." Diweddodd y cyfarfod heb benderfynu dim, canys yr oedd yn anmhosibl iddynt gyduno a'u gilydd. "Hyd nes y cytunoch chwi a'ch gilydd," ebe'r gweinidog, "mae yn rhaid i ni ymddiried yn yr Arglwydd." Cafodd Mr. Smith, a Mr. Peck, eu gwair i mewn; ond ar y diwrnod yr oedd y *Sharps* i fyned i *Snow Hill*, dechreuodd wlawio o ddifrif. Collodd Sharp ei *visit*; ond, bu yn dda i'w gnydau. Treiglodd y flwyddyn yn mlaen, ond nis gallasai y bobl gytuno a'u gilydd pa fath dywydd oedd arnynt eisiau; gan hyny yr oedd y gweinidog yn rhydd oddiwrth ei gytundeb. Y canlyniad fu, agoryd eu llygaid i weled y byddai y byd yma yn lle rhyfedd, pe buasai ei breswylwyr yn ei lywodraethu. Gwelsant na buasai deddfau natur yn ddiogel ond yn llaw Duw natur. Tua diwedd y flwyddyn, soniodd y gweinidog am ymadael, ond ni wrandawent ar hyny gydag un math o gydsyniad. "Nis gallaf aros," ebe y gweinidog, "o dan yr hen gytundeb." "Nid oes arnom ni eisiau i chwi wneyd

hyny," ebe Sharp, yn ostyngedig iawn; yn unig aroswch i'n dysgu ni a'n plant i adnabod yr Arglwydd, ac i ufuddhau i'w ddeddfau ef. "Pob peth oddiar ein cylch priodol ni," ebe y gweinidog, gadawn ef i Dduw; canys mae Ef yn gwneyd pob peth yn iawn.—*Ch. P.*

---

## YNYS YR IA.

MAE hir-nos gauaf yn nheuluoedd Ynys yr Iâ, yn dangos golygfa fuddiol a boddhäol i'r radd uchaf. Rhwng tri a phedwar ar gloch goleuir y lamp yn y brif ystafell, a holl aelodau y teulu a gymerant eu lleoedd, â'u gwaith yn eu dwylaw. Mae un o'r teulu yn dyfod yn mlaen, ac yn cymeryd ei le ar fainc yn agos i'r lamp, ac yn darllen yn uchel. Gan nad oes ganddynt ond ychydig o lyfrau argraffedig, maent dan yr angenrheidrwydd o adysgrifenu y cyfryw ag a allant fenthyca. Attelir y darllenydd yn fynych gan y penteulu, neu rywun arall deallus yn y teulu, yn gwneuthur sylwadau, neu yn codi cwestiynau oddiwrth yr hyn a ddarllenir, er mwyn dwyn cywreinrwydd y plant a'r gwasanaeth-ddynion i weithrediad.

Mewn rhai teuluoedd, math o gywyddau hanesiol a adroddir ar dafodleferydd, a gwelir weithiau rai yn enill eu bywioliaeth yn y gauaf trwy fyned o fàn i fàn, a thario yn y gwahanol dyddynod hyd oni byddai eu hystôr o wybodaeth wedi ei dihysbyddu; yr hon arfer sy gwedi parhau er ys amser cyn côf.

Yn lle y cyfryw gywyddau, mae y bobl fwyaf crefyddol yn cymeryd yr ysgrythyrau, yn enwedig y llyfrau hanesiol. Gwedi i'r teulu ddarfod a'u gwaith, yr hyn yn fynych ni bydd fawr gynt na haner nos, maent oll yn cyduno i ganu Salm neu ddwy; ar ol hyny darllenir pennod o ryw lyfr crefyddol, os na bydd y teulu yn perchen Beibl; ond lle y byddo y llyfr cysegredig, rhoddir y flaenoriaeth iddo ar bob llyfr arall. Yna mae y penteulu yn myned i weddi, ac y mae yr ymarferiad yn terfynu trwy ganu Salm. Gwedi deffro yn y bore, ni ddywed dyn air wrth neb a allai fod yn cysgu yn yr un ystafell ag ef, ond yn gyntaf brysia at y drws, a chyfyd ei ddwylaw tu a'r nef, gan addoli yr Hwn a wnaeth nefoedd a daear, Rhoddwr a Chynnaliwr ei fywyd, a ffynon pob bendithion. Yna dychwel i'r tŷ, gan gyfarch pob un a gyferfydd, a dywedyd, "Caniatäed Duw ddydd da i chwi."

Mae yr hanes difyrus hwn yn cynnwys gwers fuddiol i ninau, ac hefyd yn dwyn ar ddeall i ni y modd y mae darllenwyr y Beibl yn Ynys yr Iâ yn treulio eu hirnos gauaf. Ychydig sydd yn ystyried, ond y rhai a wnaethant brawf, faint o wybodaeth a ellid gyrhaedd a'i gyfranu i eraill, wrth ddilyn y cyffelyb gynllun. Mae y Dr. Henderson yn crybwyll am yr hyfydwch mawr oedd preswylwyr Ynys yr Iâ yn deimlo wrth dderbyn y Beibl, wrth eu bod yn cael eu cynysgaethu felly â thestynau parhaus i ddarllen ac ymddyddan yn y gauaf.—*Y. C.*

---

## DETHOLION.

PA FODD I FYW YN HIR.—Gofynwyd i weinidog parchus, yr hwn a fu yn pregethu am chwech a thriugain o flynyddoedd yr un lle, pa beth oedd dirgelwch hirhoedledd; i'r hyn yr atebodd, "Codi yn foreu, byw yn gymedrol, gweithio yn galed, a chadw yn fywiog." Dywedodd un arall mewn atebiad i'r un gofyniad, yr hwn a fu fyw i'r oedran o 110 o flynyddoedd, "Myfi a fum bob amser yn hynaws a chymwynasgar, nid ymrafaelais â neb erioed, byddwn yn bwyta ac yfed i dori newyn a syched ac ni bum erioed yn segur.

PREGETHU EFFEITHIOL.—Gofynwyd unwaith i adeiladydd llongau, pa beth oedd ei feddwl am Whitfield fel pregethwr. Atebai: "Bob Sabboth yr elwyf i Eglwys fy mhlwyf gallaf adeiladu llong o ben bwygilydd; ond o dan weinidogaeth Mr. Whitfield nis gallaf gymaint a gosod un astell.

EDRYCHIAD SIRIOL.—Y mae edrychiad siriol agos mor fuddiol i'r eiddil ag yw hinsawdd iachusol. I wneyd i'r claf feddwl ei fod yn marw, y cwbl sydd yn angenrheidiol yw edrych yn haner marw dy hun bob tro y deuech i'w olwg. Y mae gobaith ac anobaith mor gyfranogol (*catching*), ag yw afiechyd y croen. Ymdrecha i edrych yn siriol bob amser fel tywyniad haul, yn neillduol pan yn ystafell y claf.

*Cyf. gan* AP NICOLAS.

PA BRYD I DEWI.—Dysgwch adnabod yr amser priodol i dewi ac i lefaru. Na fydded eich tafod yn llwyn o ddrain yn brathu ac yn niweidio pawb o'ch amgylch, nag yn hollol yn bren diffrwyth heb ddwyn dim; ond bydded yn bren ffrwythlon, yn "bren y bywyd" i'ch cymydogion, canys felly y geilw Solomon dafod y cyfiawn.

GWE Y PRYF COPYN.—Mae gan y pryf copyn bedair o ddidenau i nyddu ei edafedd. Mae gan bob diden fil o dyllau, a chymer bedair mil o edau i wneyd un wê. Nid oes un pryf copyn yn nyddu mwy na phedair wê; a phan byddo y bedwaredd wedi ei dyfetha, ymeifl yn wê un arall.

EDRYCHWCH AT EICH BUSINESS EICH HUN.—Achwynai boneddiges wrth Frederick, brenin Prwssia, ar ei gwr. "Eich mawrhydi," ebe hi, "mae fy ngwr yn fy nhrin yn ddrwg." "Nid yw hyny yn ddim o fy *musiness* i," atebai y brenin. "Ond y mae efe yn dyweyd yn ddrwg am danoch chwi," meddai hi. "Nid yw hyny yn ddim o'ch *business* chwi" atebai y brenin.

Y DIL MEL.—Mae oddeutu naw mil o gelloedd mewn trodfedd ysgwâr o ddil mêl; ac y mae oddeutu pum mil o wenyn yn pwyso un pwys.

MASNACH EIN EWYTHR SAM.—Derbyniwyd o drysorfa y Taleithau Unedig yn ystod y flwyddyn 1856, 74 miliwn o ddoleri; a thalwyd allan 73 miliwn. Dygwyd gwerth 314 miliwn o ddoleri o eiddo o wledydd eraill i'r wlad hon; a danfonwyd gwerth 326 miliwn o eiddo o'r wlad hon i wledydd eraill. Costiodd ddeng miliwn a haner am gario llythyrau, newyddiaduron, &c., pan na dderbyniwyd am y gwasanaeth ond saith miliwn a haner. Gwerthwyd gwerth wyth miliwn o dir cyffredin; a llatratawyd, neu roddwyd, gymaint a hyny.

MAE yn Llundain agos i chwe' mil o gyfreithwyr, un cant ar bymtheg a deugain o ddoctoriaid, ac oddeutu pedair mil ar ddeg o bregethwyr.

## YR ADFYWIADAU CREFYDDOL.

PARHA yr adfywiadau yn eu dyddordeb yn lled gyffredinol trwy y wlad y dyddiau hyn; ond nid ydynt y cynulliadau dyddiol i'r cyfarfodydd gweddiau mor lluosog ag y buont, o herwydd fod amgylchiadau yn lluddias y cyffredin i hebgor cymaint o'u hamser ar y cyfnod prysur hwn o'r flwyddyn.

Mae amrai o'r eglwysi wedi cael ychwanegiadau lluosog fel ffrwyth yr adfywiad presenol. Gellir nodi rhai engreifftiau.

Mae y chwareuwr poblogaidd Wm. Woolworth wedi ymuno ag eglwys y Bedyddwyr dan ofal y Parch. Mr. Corey,

yn New York. Mae amryw o'r chwareuwyr wedi eu dychwelyd yn ddiweddar.

Yn yr eglwys Bresbyteraidd yn New York, dan ofal y Parch. Dr. Hatfield, derbyniwyd 174 er mis Rhagfyr diweddaf.

Yn yr eglwys Annibynol dan ofal y Parch. Henry Ward Beecher, Brooklyn, derbyniwyd 165 y Sabboth cyn y diweddaf, heblaw 25 trwy lythyrau. Mae yn yr eglwys yn yn awr 1,100 o gymunwyr.

Erbyn ychwanegu derbyniadau pedair o eglwysi Annibynol eraill at yr un flaenorol yn New York a Brooklyn, gwna *dri chant a haner* mewn un Sabboth rhwng pump o eglwysi—cytartal i 70 yr un.

Mae dros fil wedi eu hychwanegu at y gwahanol eglwysi yn Detroit, a chymaint a hyny yn Chicago.

Dywed y *Cincinnati Gazette* fod lleihad nodedig yn nifer y gwirod-dai yn y ddinas hono er dechreuad y diwygiad. Mae perchenogion amryw o'r *saloons* mwyaf cyhoeddus wedi eu dychwelyd, ac ymuno â'r eglwysi.

Mae yr adfywiadau wedi dechreu yn Califfornia.

Daeth llong i'r porthladd yn New York yn ddiweddar, ac yr oedd y Cadben a'r holl ddwylaw (deg ar hugain mewn rhifedi) wedi eu dychwelyd ar y fordaith, heb fod un offerynoliaeth gweledig yn achosi hyny.

Bedyddiwyd dynes o liw oddetu 100 oed yn Stonnington, Conn. Yr oedd wedi bod yn gaeth yn ngwasanaeth pedwar o wahanol feistriaid yn Nhalaeth New York.

Dywedir nad oes braidd un pen teulu yn New Boston, Mass., heb ei ddychwelyd.

Gallesid ychwanegu ugeiniau o engreifftiau cyffelyb i'r rhai blaenorol. Mae y cwbl yn dangos tu hwnt i bob dadl fod rhyw allu goruwch yr eiddo dyn yn ofynol i wneyd y fath effaith ar galonau mor nodedig o annuwiol â'r engreifftiau a geir o wahanol fanau y dyddiau hyn. Mae

rhyw arwyddion fel hyn yn rhoi sail gref i ni obeithio fod y cawodydd maethlon hyn yn ddechreuad o'r tywalltiadau grasol sydd mewn addewid i ddisgyn yn y dyddiau diweddaf ar bob cnawd. R. R. M.

---

## BODDLONRWYDD.

Pa les meddiannu holl drysorau byd,
A thyru aur wrth fesur neu wrth bwys;
Cael byw yn foethus mewn palasau teg.
A pherchen urddas ac anrhydedd mawr.
Cael mil o weision i osgorddi'n rhawd,
A chwim gyflawni pob ryw amnaid fach,
Os nytha Anfoddlonrwydd dan y fron?
Hwn, elyn marwol, a wna coron aur
Yn faich gormesol ar y teyrnaidd ben:
Try hwn y neuadd wych yn garchar gwael,
Ac ar obenydd esmwyth taena ddrain;
Dug ofid trwch i loddest meibion rhwysg,
Cymysga chwerwlys gyd a'u melys win;
Gwenwyna holl fwynderau'r bywyd hwn,
Ac a gwtoga hyd ei edau frau.
*Cardotyn* gwael, mewn cyflwr isel tlawd,
Heb gartref clyd, i'w noddi rhag y storm,
Yn grwydryn salw, ei wely goreu, gwellt,
Yn byw druanwas ar haelioni prin,
Os ceiff Foddlonrwydd yn gydymaith llon,
Ysgafnach yw ei galon, a llai trist,
Nac eiddo *brenin* heb y fendith hon.
"Nid oes ar ddyn ond eisiau ychydig iawn.
"Tra yma na'r ychydig hwnw'n hir,"
Ac eto cyfnewidiol yw fal gwynt,
Gan feio ffyrdd Rhagluniaeth er mor dda,
A gwneyd cadwynau erchyll iddo ei hun.

Mor ddedwydd yw y *Cristion* yn ei ran,
Yn nghanol byd o waeau o bob rhyw,
Yn dyoddef cerydd gwialen cystudd llym,
Siriola ei wyneb gan orfoledd pur,
*Boddlonrwydd* a felysa ei gwpan ef:
Ni chlywir unrhyw gwynfan byth o'i fin,
Ond mawl, am esmwyth neu am arw fyd:
Ar wely angeu, dan arteithiau dwys,
Ei ael sydd wastad, tawel yw ei fryd;
Ar olaf sain ei beraidd gân o fawl,
Ei enaid hed i drigfan uwch y nen,
I seinio bythol glod i'r Hwn fu farw ar y pren.

ISAAC LLOYD (CYNDDELW).

## BARN A MATER DA.

[Crynodeb o bregeth a draddodwyd gan y diweddar Barch. Michael Roberts, Pwllheli, yn Nghymdeithasfa y Bala, am 10 ar gloch, Meh. 16eg, 1848, ac a ysgrifenwyd wrth wrth ei gwrando.]

SALM ix. 5. "Canys gwnaethost fy marn a'm mater *yn dda;* eisteddaist ar orseddfaingc, gan farnu yn gyfiawn."

"CLODFORAF di, O Arglwydd," meddai y Salmydd. Y mae mawl yn ddyledus i'r Arglwydd. Yr oedd y Salmydd â'i "holl galon" yn canu mawl i'r Arglwydd; felly y mae yn angenrheidiol i ninau gael yr holl enaid i gyflawni holl ddyledswyddau crefydd. Yr oedd Dafydd yn agored i lygredigaethau; ond er hyny, yr oedd yn gallu dyweyd—"gwnaethost fy marn a'm mater *yn dda.*" Felly am eglwys Dduw yma yn y byd; o bob gwarth a dirmyg y mae hi yn myned iddo, fe fyn Duw ei eglwys allan o bob llygredigaeth. Bechadur, gofala di am enw Duw, a gâd rhwng Duw a thydi. Fe gafodd Dafydd ei dderchafu yn uchel iawn—ei godi o gorlanau y defaid i eistedd ar orseddfaingc; ond y peth penaf a gafodd, oedd cael ei farn a'i fater *yn dda.*

Yr oedd Dafydd yn llefain ar Dduw yn un o'i Salmau, gan ddywedyd, "Na ddos i farn â mi." "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?" Felly y mae yn darfod ar bechadur yn y fan yna, onid yw? O nac ydyw. A oes trefn i faddeu? Oes, bechadur. "Y mae gyda thi faddeuant fel y'th ofner."

Galwn eich sylw at ychydig bethau oddiwrth y tesyn fel y canlyn—

I. FOD GAN BECHADUR ACHOS A MATER, A BYDD RAID IDDO SEFYLL BARN YN RHYWLE. Dyma y mater sydd wedi llyngcu pob mater iddo ei hun. Gyda y byd a'i bethau y mae dwndwr llawer o bechaduriad. Gyda y byd a'i bleseran. Iaith llawer o bechaduriaid ydyw, "Heddyw neu y fory ni a awn i gyfryw ddinas, ac aroswn yno flwyddyn, ac

a farchnatâwn, ac a ennillwn." O! bechadur, a fuost ti erioed yn gofyn beth a ddaw o fy enaid?

II. Y MAE MATER PECHADUR YN EITHAF DRWG. Y mae yn dywyllwch dudew. Y mae yn euog o felldith deddf Duw; ond er hyny yr oedd y Salmydd yn gallu dyweyd, "gwaethost fy marn a'm mater *yn dda.*" Fe aeth Moses i dywyllwch du, ar fynydd Sinai, pan oedd Duw yn cyhoeddi y deg gorchymyn; ond fe aeth Iesu bendigedig, i dywyllwch mwy ar Galfaria, sef i *setlo* rhwng Duw a dynion. Beth fydd y canlyniad o hyn? "Y neb sydd yn gwrando fy ngeiriau i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Cofia bechadur fod yma ddeddf, y mae yma lyfr, a phechadur yn gorfod sefyll o flaen Duw. Yr hyn sydd eisiau i wneyd ein hangen i fyny yw, cael ein barn a'n mater yn dda. Yr ydym wedi cael Duw da, Iesu da, a phobpeth ynddo sydd yn angenrheidiol er iachawdwriaeth pechaduriaid. Wel ato am ein bywyd.

*Rome.* H. J. HUGHES.

---

## Y DRYDEDD GYFEILLACH AR Y BRYN.

WEL, blant, ar ol blinderus deithio trwy ddyffryn cystuddiau, awn eto i'r bryn,

"Lle bu Iesu, 'r Cyfaill ffyddlawn,
Dan yr hoelion dur cyn hyn."

A welwch chwi yr adeilad fawr acw? Wele y fan y safai y cysegr sancteiddiolaf gynt, lle y preswyliai y Dwyfol bresennoldeb am oesau. Teml Fahometanaidd ydyw, yr hon sydd yn cynnwys ynddi y gwasanaeth crefyddol mwyaf cymysglyd ac aflan o ddyfais y gau brophwyd melldigedig Mahomet, trwy gymhorth hen fynach gwrthgiliedig. Y mae ynddi lyfr gwasanaeth a elwir Alcoran. Y mae yn aruthrol o faint, yn cynnwys pedair rhan, y rhai a enwir ar enwau creaduriaid.

Y mae ynddo lawer o gynghorion da, ond llawer mwy o bethau halogedig ac ynfyd. Cymysgfa ydyw o ddychymygion hudoliaethus a darnau o'r Ysgrythyr. Addefa Dduw, ac ond un Duw, a'u fod ef a Christ yn brophwydi. Gwada Dduwdod Crist; a haera y cosbir y Iuddewon am ei wrthod, a'r Cristionogion am ei addoli. Haerai mai drychiolaeth fu âr y groes, a'r Sant diniweid wedi derchafu i'r seithfed nef. Sonia lawer am chwe' deddfwyr, Adda, Noah, Abraham, Moses, Crist a Mahomet. Dywed mai crefydd Crist oedd ffordd iachawdwriaeth am chwe' chan' mlynedd cyn ei ddyfodiad ef; ac o hyny allan mai efe yw yr arweinydd, am mai efe yw y Dyddanydd a addawyd. Addefa adgyfodiad a barn. Y mae ynddo bennod fawr am daith y Mahomet i'r seithfed nef, yn cynnwys truth o ddychymyg gelwyddog ac ynfyd, ac eto a gredir gan filoedd o ddynion fel ninau. O mor fawr yw trueni dyn arno! Dywed iddo ddyfod trwy y lle hwn a'r angel Gabriel yn ei arwain, a chanddo bedair ugain a deg o barau o adenydd; a phan wrth borth y deml, i'r saint a'r prophwydi ei anerch, a deisyf ei weddiau drostynt; a gweddiai ddwy waith, medd efe, yn y fan y mae y deml yma; ac yna teithiai fel mellten o nefoedd i nefoedd, nes cyrhaeddyd y seithfed, a gwelodd fodau rhesymol beth aneirif, ar wahanol luniau. Gwelodd yn y nefoedd gyntaf, medd efe, yr hen dad Adda, yr hwn a'i cofleidiai, ac a ddiolchai i Dduw am fab mor fawr. (Peth mawr iddo gael rhyw nef wedi gwneyd drwg mor fawr, onidê!) Hefyd, dywedai iddo weled angel a'i ben yn cyrhaedd i'r ail nef, a bod hwnw bob boreu yn cyduno â Duw i ganu anthemau nes oedd yr holl angelion trwy y nef a'r ddaear yn rhyfeddu ac yn addoli. Yn y chweched nef gwelodd Iesu Grist, ac erfyniodd ei weddiau drosto. Yno y gwelodd angel, medd efe, a chanddo ddeng mil a thriugain o benau, a deng mil a thriugain o dafodau yn mhob pen; a phob tafod yn moli Duw ddydd a nos mewn deng mil a thriugain o ieithoedd.

O ynfydion truenus yw dilynwyr Mahomet, pa rai ydynt filoedd ar filoedd o eneidiau, trwy Asia ac Ewrop. Gweddiwn, blant, am i'r Gwr fu farw yma, ac a fu yn chwysu y gwaed yn yr ardd acw, gael ei godi a'i dderchafu yn Twrci Fahometanaidd, fel y byddo ei Alcoran twyllodrus yn myned i warth byth trwy rym goleuni gair ein Duw ni a'i Grist ef.

Y mae yr Alcoran yn cymhell gweddiau, ymprydiau ac elusenau; ac annogaeth i obeithio y bydd i weddi eu dwyn yn agos at Dduw, i ympryd eu dwyn at ddrws ei balas, ac i elusen beri eu derbyniad i mewn.

Y mae Mahomet yn gwahardd yfed gwin, ac felly mae y Tyrciaid yn sobrach na llawer o'u cyd-ddynion.

Mae yr Alcoran yn dyweyd y bydd cosb yn ol natur a graddau y beiau, a saith uffern i gosbi, fel saith nef i wobrwyo; ac er y bydd i rai ddyoddef am o naw cant i saith mil o flynyddoedd, eto na byd raid i neb o ddilynwyr Mahomet ddyoddef yn dragywyddol, eithr y bydd i'w cred dda ynddo, a'i eriolaeth ef drostynt, eu cadw rhag damnedigaeth dragywyddol. Ac am y rhai sydd ffyddlawn iddo, addewir iddynt fwynderau anhraethadwy a diddiwedd; ond y cwbl yn enyn nwydau llygredig. Addewir iddynt balasau gwychion, a gwinoedd melysion, perlau, sidanau, aur a gemau; a deuddeg a deugain o'r gwyryfon glanaf i gael eu creu at wasanaeth y ffyddlonwr gwaelaf a fyddo yn deilwng o baradwys. Pob mynydyn o hyfrydwch i gael ei estyn i fil o flynyddoedd; a'r cynneddfau i gael eu cryfhau i gan cymaint, i fwynhau y dedwyddfyd. O! y fath yw uchelgais dyn llygredig.

Wel, blant, rhaid gadael ar hyn heno. Buwyd feithach na'r bwriad gyda'r gau brophwyd. Ond sicr yw, y dylem weddio mwy am i "air yr Arglwydd, redeg, a chael gogonedd," er cael buddugoliaeth lwyr ar holl gau grefyddau y byd. Brysiwn eto i'r bryn, mae yn hyfryd i arsyllu. Os aiff yr "Arweinydd" i gweryla am ein meithder, ceisiwn ymesgusodi.

*Rome.* T. W.

## DYSGEIDIAETH.

DYSGEIDIAETH yw sylfaen holl enwogrwydd dynoliaeth; canys trwy ddysgeidiaeth yn unig y mae dyn wedi bod yn alluog i ymadael a'r greadigaeth anifeilaidd, a chodi ei ben fel brenin a llywiawdwr arnynt oll. Hwynthwy ydynt yn parhau yn wastad yr un fath, pan y mae dyn o ddydd i ddydd yn dysgu pethau newyddion, ac yn ymgyraedd yn y blaen yn barhaus tuag at fwy o berffeithrwydd y naill oes ar ol y llall. Rhyfedd mor fuan y mae dyn yn cael ei osod yn yr ysgol; canys ni a'i cawn ef ar ei ymddangosiad yn y byd megys a'i lyfr dysgu yn ei law fach wywedig yn dysgu y wers angenrheidiol o sugno llaeth y fron. Pryd hyn y mae ei feddwl bach fel llen o bapyr gwyn yn agored i argraffiadau, a dyna yr adeg euraidd y dylid bod yn neillduol ofalus i roddi dysgeidiaeth dda i'r rhai sydd yn codi; canys y mae yn ddiamheu fod tueddiadau ac ymddygiadau pan ddelo mewn oedran yn ymddibynu i raddau go bell ar yr argraffiadau fyddo wedi cael eu gwneuthur ar ei feddwl pan oedd yn ieuanc. Gwelwn y dyn yn myned yn y blaen mewn dysgeidiaeth gan chwalu geiriau, ac o ychydig i ychydig dacw 'fe wedi dysgu ffurfio meddwl cyson, a'i wneyd yn adnabyddus i eraill mewn iaith ddealladwy; yr hyn sydd yn dangos yn eglur fod cynneddfau eneidiol dyn yn tyfu trwy ddysgeidiaeth, yn yr un modd ag y mae y corff yn tyfu trwy gael ei ddiwallu â digon o ymborth cyfaddas i'w natur. Felly trwy ddysgeidiaeth y mae dyn yn gallu treiddio i ystafelloedd dirgelaidd natur, ac yn ehedeg trwy eangder i blith yr aneirif fodau wybrenol, ac yn gwneyd llwybr helaeth ac adnabyddus yn y moroedd mawrion, ac yn darostwng hyd yn nod yr elfenau yn ufudd at ei waith a'i wasanaeth ei hun, ac yn chwilio croth amser am ddygwyddiadau i ddyfod, ac yn dringo yn hyderus i eithafoedd anfarwoldeb. O! mor rhyfedd yr amrywiaethau o wybodaethau

a dirgeledigaethau sydd wedi cael eu dwyn i'r amlwg yn unig trwy ddysgeidiaeth.

Pe gofynai rhyw un paham y mae cymaint o filoedd o'r Affricaniaid duon yn ymgrymu ger bron delwau o goed a maen, byddai yn rhaid i ni gyfaddef mai diffyg dysgeidiaeth ydyw yr unig achos a'r rheswm am hyny.

Beth ydyw yr achos fod llawer o frodorion Cymru hyd heddyw yn credu mewn ymddangosiadau ysbrydion, a chanwyllau cyrff, a llawer o'r fath bethau, ond yn unig o herwydd fod ofergoelion o'r fath yn cael eu dysgu iddynt, a'u planu yn eu meddyliau pan yn blant gyda llaeth y fron?

Ond, credwn fod dysgeidiaeth dda yn derchafu dynion mor uchel a'r côr angelaidd, a dysgeidiaeth ddrwg yn ei darostwng yn îs na'r greadigaeth anifeilaidd, ac nid ydyw yr oes ddynol o fwlch yr esgoreddfa hyd awr brysur marwolaeth, ond gyrfa o ddysgeidiaeth, a bod bywyd ac anllygredigaeth yn cael ei addaw i'r cyfryw a fyddo wedi defnyddio eu hamser a'u cyfleusderau er ymgyraedd am ddysgeidiaeth dda; ond y mae marwolaeth yn cael ei bygwth i'r sawl na ddefnyddia ei amser, ei dalentau, a'i freintiau er cael gafael ar ddysgeidaeth dda.

WM. G. HUGHES.

*Remsen, Ebrill 20fed,* 1858.

---

## CYBYDD-DOD.

CYBYDD-DOD fel pechod sydd bechod ysgeler iawn, y mae yn gwreiddio yn y galon, ac yn ei chaledu fel yr adamant; y mae yn serio y gydwybod megys â haiarn poeth, dacarola, a llanwa y meddwl â bydolrwydd, a gwna y dyn yn ddiwerth i bob peth ond i'r byd, yn ddigysur iddo ei hun, a'i

deulu, yn wawd i bawb o'i amgylch. Hwn yw y truenusaf o'r holl ddynion, dysgwylir am ei farwolaeth gyda hyfrydwch, ac ar ei ol nid oes neb yn wylo. "Efe a bentyrodd olud ac nis gŵyr pwy a'i casgl." Y mae cybydd-dod yn bechod disynwyr iawn. Dyn!! o berchen rheswm yn ymddigrifo mewn metel doddedig, elfen farwol y greadiaeth hon! Yn ymddiried mewn golud anwadal. Pe casglai lonaid ei dŷ, ni wnaent ond codi syched arno am ychwaneg. Y mae cybydd-dod fel y bedd nid ellir ei ddigoni, ond er cael y mae yn gwaeddi, melys, moes mwy. Hefyd, peth caled iawn yw bod dan ei arglwyddiaeth, ni âd lonydd na dydd na nos. Y mae fel Pharao yn yr Aipht gynt, pa fwyaf y byddis yn ei wasanaethu caletaf o hyd yw ei wasanaeth. Y mae yn galed wrth y gwr ieuanc, ond y mae yn saith galetach wrth yr hen. Mewn gair, nid oes i'r dyn feddiant ar ei gorff ei hun, ni âd orphwysfa iddo, rhaid bod wrthi ddydd a nos. Ac ar ol myned i'w wely nid oes modd cysgu gan rag-ofalon. Y mae yn greulon ofnadwy wrth ei wasanaethydd ffyddlonaf. Y mae y cybydd yn ymborthi ar wynt, ac yn ymlenwi ar wagedd, ynfyd yw ni wyr ddim, nid oes tosturi ynddo at ei gnawd ei hun, ymadawodd a dynoliaeth, y mae cysuron natur yn ofid calon iddo ef, y mae yn troi bendithion tymorol yn felldith i'w enaid. Nid yw dda i ddim nes y bydd farw, ac yna fel mochyn wedi y delo i'r cambren, bydd yn barod i'w ranu rhwng y teulu.

Y mae cybydd-dod a chenfigen bob amser yn gyfeillion agos, ac yn cydgyfarfod yn yr un person. Nis gall y cybydd fod yn foddlon i weled neb yn llwyddo ond ei hunan, a phe cai yr holl fyd y mae yn debyg yr eisteddai i lawr gydag Alexander fawr i wylo am fyd arall. Rhag y fath bechod gwared ni, Arglwydd daionus.

Cyfansoddwyd yr uchod yn Trenton, N. Y., Ion. 9, 1843, gan

T. R. J.

## PEIDIWCH GRWGNACH.

PE byddai i'r holl rwgnachwyr gael eu gwysio yn nghyd yn un dorf ar unwaith, y fath fintai anferth a fyddai. Ni fu dim allesia ei gydmaru a'r fath luaws o ran rhifedi er dyddiau Xerxes. Mae y blinderau diweddar wedi gwneyd yr oll sydd angenrheidiol at gadw y "fyddin reolaidd" yn gyflawn. Cewch y grwgnachwyr yn mhob man, mor lluosog a llyffaint yr Aipht. Nid oes un gelfyddyd na galwedigaeth yn rhydd oddiwrthynt.

Yn awr, y mae genym air i'w ddyweyd wrth y cyfryw ddynion; a gobeithiwn na fydd iddynt *rwgnach* am i ni wneyd hyny. Gadewch i ni eu desgrifio:—

Mae grwgnachwyr yn gyffredin yn rhai *diog* iawn. Trwy eu bod heb un awydd i weithio eu hunain, maent yn treulio eu hamser i gwyno ac achwyn o herwydd eu hamgylchiadau eu hunain a'u cymydogion hefyd.

Mae grwgnachwyr yn gyffredin flwyddyn ar ol yr oes, gan hyny pan fyddant yn ymgymeryd a rhyw anturiaeth maent yn cael eu hunain mor bell yn ol nes maent yn teimlo pob awel o gydymdeimlad, yr hyn sydd mor angenrheidiol er bod yn llwyddianus, yn eu herbyn.

Mae grwgnachwyr yn gyffredin yn rhai annibynol iawn—"yn gofalu dim am neb." Yn penderfynu "myned yn eu dallineb," maent yn cael "porth ëang" a "ffordd galed i'w theithio" lle bynag y bydd i'w camrau eu harwain.

Mae grwgnachwyr yn hawdd eu dychrynu. Maent bob amser yn gweled yn ddwbl. Mae llew ar y ffordd *yn sicr*—dim amheuaeth am y peth. Mae bob amser "rywbeth i ddygwydd." "Gwyliwch y tonau!!" yw y *gocheliad* mawr yn eu cân ddyddiol.

Mae grwgnachwyr yn rhai mwyaf awyddus am *ewyllys da* yn gystal ag ymborth, gan hyny maent bob amser yn barod wrth law i dderbyn y rhodd "oddiwrth ryw gyfaill neillduol." Eu harwydda ir cyffredin yw, "derbynir cymwynasau bychain yn ddiolchgar a rhai mwy mewn cyfartaledd."

Mae grwgnachwyr bob amser yn eiddygus iawn o'u "cymeradwyaeth a'u dylanwad mewn cymdeithas," eu bod yn gyffredin "gystal a neb." Dylent gan hyny gael ymddwyn tuag atynt gyda mawr *wyliadwriaeth*.

Mae grwgnachwyr yn gyffredin yn byw yn hir yn nhyb

eu cyfeillion, ac a ddylent, gan hyny, gael eu gwella o'u hafiechyd mor gynted ag y byddo ddichonadwy.

Yn awr, er mwyn attal cyfyngder amgylchiadol eto, a lluaws o ddygwyddiadau eraill, rhy luosog i'w henwi, dymunem roi ychydig gynghor i'n cyd-ddinasyddion o'r holl frawdoliaeth rwgnachlyd:—

1af. Peidiwch grwgnach.

2il. Codwch ddwy awr yn foreuach yn y boreu, a dechreuwch *wneyd* rhyw beth tu allan i'ch *galwedigaeth gyffredin.*

3ydd. Peidiwch grwgnach.

4ydd. Edrychwch at eich *business* eich hun, ac â'ch holl allu—gadewch lonydd i eraill.

5ed. Peidiwch grwgnach.

6ed. Peidiwch byw uwchlaw eich gallu. Gwerthwch eich ceffyl. Rhoddwch eich ci neu gwerthwch ef. Mygwch eich *segars* trwy *stove* gauad. Bwytewch yn gymedrol, ac ewch i'r gwely yn gynar.

7fed. Peidiwch grwgnach.

8fed. Soniwch lai am eich anrhegion a'ch rhinweddau eich hunain, a mwy am yr eiddo eich cyfeillion a'ch cymydogion.

9fed. Peidiwch grwgnach.

10fed. Gwnewch eich goreu i wneyd eraill yn ddedwydd. Byddwch siriol. Plygwch eich pen a'ch cefn yn fynychach wrth gyfarfod y rhai sydd tu allan i "gylch dewisedig." Cyflawnwch eich addewidion. Telwch eich dyledion. Byddwch eich hunain'yr hyn y dewisech i eraill fod. Byddwch yn *ddyn da*—Cristion cywir, yna byddwch yn rhwym, yn ganlynol i

11eg. Beidio grwgnach.—*N. Y. Independent.*

---

## PE AC OND.

ADRODDAF i chwi hanes Rhisiard Andwyedig yn ei eiriau ei hun; gwrandewch arno, fy narllenwyr ieuainc, a chymerwch addysg.

"Os nad allwn fyned trwy y byd heb elynion," ebe Rhisiard, peth da iawn fydd i ni eu hadwaen, onid ê hwy, a allant ddyfod yn fwy niweidiol nag y byddai raid iddynt fod. Gan fod genyf fi, pa fodd bynag, ddau elyn neillduol, y rhai sydd, mae yn ddigon tebyg, yn elynion i chwithau hefyd, fy amcan presennol yw eich rhoddi ar eich gwyliadwriaeth, rhag

iddynt wneuthur cymaint o ddrwg i chwi âg a wnaethant i mi. Y gelynion hyn ydynt *pe* ac *ond*. Er pan yn blentyn, gwnaethant lawer o niweid i mi; siomasant a thwyllasant fi pan yr oeddwn yn rhoi hyder ynddynt, ac ysbeiliasant fi o'm harian a'm henw da pryd yr oedd arnaf fwyaf o angen am danynt. Ond cewch glywed peth o'm hanes a barnu drosoch eich hun.

"Yr oedd fy rhieni yn dlodion o ran pethau y byd hwn, ond yr oedd ganddynt drysor yn y nef. Pan yn blentyn, yr oeddwn yn ddigon tebyg i blant eraill, er, fe allai, yn ychydig yn fwy dilûn ac aflerw na llawer; canys er gwaethaf gofal fy mam, yr hon oedd ddynes bur lanwaith yn ei harferion, byddwn i yn fynych heb gantel neu goryn i fy het, a chyda fy hosanau am ben fy nghoesau, a fy siaced wedi ei rhwygo agos yn ddeuddarn. Buaswn yn cael goruchafiaeth ar fy aflawenwch *pe* gwrandawswn ar gynghor fy mam; *ond* ni wnaethym hyny, gan fod yn eithaf difeddwl neu gan feddwl fod yn ddigon hawd d i mi wneyd fy hunan yn gryno a glanwaith pa bryd bynag y cymerwn hyny dan fy ystyriaeth. Yr oeddwn er hyny yn caru fy mam, yr hon oedd dirion iawn wrthyf, ac yr wyf hyd yn nôd yn awr yn gofidio am na buaswn yn ei pharchu yn fwy.

"Anfonwyd fi mewn amser i'r ysgol, ac yr wyf yn credu yr aethwn yn maen yn dda mewn dysg, *pe* gallaswn wneyd fy meddwl i fyny i sylwi ar fy llyfr; *ond* yr oeddwn yn dewis y chwareu oddiallan i'r ysgoldŷ yn fwy na dysgu oddimewn; a'r canlyniad ydoedd fy mod yn fynych yn gorfod sefyll ar ben y fainc gyda chap penbwl ar fy mhen, pan y gallaswn fod yn eistedd neu yn sefyll mewn anrhydedd ar ben fy nosbarth.

"Yr oedd perllan heb fod ymhell oddiwrth yr ysgol, yn yr hon yr oedd prenau o afalau cochion tra phrydferth; a rhai o'r bechgyn dyhiraf, a minnau, ysywaeth, yn eu mysg, a benderfynasant fyned y prydnawn Sadwrn nesaf, pan nad oedd yr un ysgol, yn ddirgel i'r berllan, a chymeryd ymaith rai o'r afalau cochion. Un o'm cydysgoleigion, yr hwn oedd hynach na mi, wedi clywed am ein drwgfwriad, a'm cynghorodd i beidio myned yn agos at yr afalau cochion, gan mai pechod ydoedd cymeryd dim o eiddo arall, ac na wnawn ddim ond tynu trafferth a gwaradwydd ar fy mhen. Buaswn yn sicr yn dilyn ei gynghor *pe* na chymeraswn fy mherswadio

gan fy nghymdeithion yn yr amcan anonest: ond *hwy* a chwarddasant am ben fy amheuon nes yr oedd arnaf gywilydd fy mod wedi dadleu yn eu herbyn; ac felly ar y Sadwrn, mi a aethym yn ddifeddwl gyda'r bechgyn drwg; ac i'r berllan â ni. Pan yr oeddwn wedi dringo agos i ben un o'r coedydd uchaf, clywais lais yn gwaeddi, "Holo! lladron, aiê? Dal hwy, Teigr! cydia ynddynt, Teigr!" Credais yn y fan mai yr amaethwr oedd biau y bêrllen a waeddasai felly, er wedi y cwbl nad oedd y lleisiwr yn neb amgen na'm cydysgoleigion oedd â thipyn o lid tuag ataf; a chan ofni brathiadau y ci mawr Teigr, i lawr a mi oddiar y pren, pan yn fy ffrwst y collais fy ngafael, ac y niweidiais fy ffêr fel yr wyf yn gloff byth, ac felly y byddaf tra ar y ddaear.

"Gwnaeth y ddamwain anffodus hon i mi benderfynu na byddai i mi ymyraeth rhagllaw â dim gweithred ddrwg, na chyfeillachu gyda chymdeithion drwg; a da iawn a fuasai *pe* gallaswn fod yn ddigon gwrol i gadw y penderfyniad hwnw; *ond* yr oedd fy nghyfeillion yn medru fy nhemtio yn rhy lwyddianus; a rhwng y *pe* a'r *ond*, yr oeddwn yn andwyol.

"Pan y gwnawn ryw fai, yr oeddwn o hyd yn ymaflyd mewn rhyw *pe* neu gilydd i'm hesgusodi. Pan y byddwn yn blotio fy nghopi, neu yn methu gyda fy nghyfrif swm, neu yn rhwygo fy nillad, fy esgus oedd, na fuaswn yn gwneyd hyny *pe* na chollaswn yr inc ar fy ysgrifen heb i mi feddwl, neu *pe* na buaswn wedi lluosogi fy swm trwy gamffigiwr, neu *pe* na chydiasai mieren yn fy siaced pan yr oeddwn yn neidio dros y gwrych. Ar y llaw arall, pan wedi esgeuluso cadw fy llyfrau, neu ddysgu fy ngwers, neu olchi fy nwylaw, yr oedd genyf ryw *ond* yn wastad yn lloches i droi iddi. Buaswn yn sicr o wneyd y pethau hyny, *ond* yr oeddwn yn gwneuthur rhywbeth arall, neu wedi anghofio neu mewn brys. Dywedodd fy meistr y gwnaethai efe guro yr holl *peau* a'r *ondiau* allan o honof; a buasai yn dda i mi *pe* gwnaethai efe hyny; *ond* yr ydoedd yn orchest uwchlaw ei allu, er iddo geisio yn deg.

"O'r diwedd, gadewais yr ysgol, ac a aethym yn brentis, gan benderfynu bod yn was da *pe* gwelwn fy mod gyda meistr da; *ond* os cawn ei fod ef fel arall, yr oeddwn mor benderfynol am beidio ildio iddo. Yr ymresymiad gwyrgam hwn a'm harweiniodd i lawer o flinder; o herwydd bob tro y byddai fy meistr yn anghytuno â mi, yr oeddwn wedi gwneyd fy

meddwl i fyny mai myfi oedd yn fy lle, a'i fod yntau ar y bai. Ar un achlysur, pan yr oeddwn yn ymyl dyfod yn rhydd o fy mhrentisiaeth, anghofiais fy hun can belled ag i dafodi fy meistr yn erwin, ïe, ac i estyn fy llaw i'w daro, am yr hyn y mae yn ddrwg genyf byth ar ol hyny; er ar y pryd fy mod yn fy moddloni fy hun na wnaethwn o gwbl yr hyn a wna ethym *pe* na buaswn wedi myned i ddrwg-dymher. Ar ol o eri ychydig, yr oeddwn yn haner tueddu i ofyn ei faddeuant; *ond* yr oedd y drwg wedi ei wneyd, ac nis gellid ei ddadwneyd.

"Gadewais fy meistr heb genyf y cymeriad goreu, ac a ddechreuais wasanaethu drosof fy hun. *Pe* buaswn yn ddiwyd a gofalus, gallaswn wneuthur yn dda; *ond* nid oeddwn y naill na'r llall; nid oedd dim yn benderfynol nac uniongyrchol o'm amgylch; yr oedd pob peth oedd genyf mewn golwg yn gorphwys ar *pe*, a phob peth na wneid genyf yn cael ei esgusodi gydag *ond*.

"Darfu i hen ewythr adael i mi ychydig arian, ac yr oedd hyny yn ymddangos yr gymhwys yr hyn oedd eisiau arnaf er dechreu masnach i mi fy hun. Yr oedd hwn yn gyfleusdra da *pe* yr ymochelaswn rhag bod yn ddiog mewn diwydrwydd, *ond* yr oedd yr hen reddf ddrwg yn fy meistroli yn rhy gaeth, er fy mod yn addaw diwygio bob dydd. Aeth fy mhunnoedd yn fuan yn sylltau, a'm sylltau yn geiniogau; ac erbyn hyn yr wyf trwy fy ynfydrwydd fy hun wedi cael fy ysbeilio mor llwyr gan y *pe* a'r *ond*, fel nad oes genyf nac arian na chymeriad na chyfeillion.

"Dywedais fod fy rhieni yn grefyddol; addunedais inau lawer gwaith wasanaethu eu Duw hwy; ac mi a ddilynaswn eu ffydd *pe* llwyddaswn i fwrw ymaith fy niogi a'm dideimladrwydd, a thori ymaith bob cysylltiad â chymdeithion digred; *ond* dal ynof yr oedd y naill, a dal ataf yr oedd y lleill, a minau a ymgaledais mewn pechod.

"Nac aed fy adroddiad o'm hanes hwn heibio yn ddiles. Na fydded i un *pe* nac *ond* eich attal byth i wneuthur da, na'ch temtio byth i wneuthur drwg. Ni ddylai *pe* sefyll rhyngoch â gorchymynion Duw, nac un *ond* eich rhwystro ar y ffordd i'r nefoedd. Cymerwch rybudd oddiwrth fy amryfuseddau a'm colliadau i; derbyniwch fy nghyngorion; ceisiwch ras Duw i'ch arwain a'ch nerthu, a gwasanaethwch ef a'ch holl galon."—*O'r Drysorfa.* OLD HUMPHREY.

## TRIOEDD Y MEDDWYN.

I. Tri phenderfyniad am y meddwyn:
1. Ei fod yn bechadur.
2. Ei fod yn annuwiol.
3. Ei fod ar y ffordd i golledigaeth.
II. Tri coll y meddwyn:
1. Colli ei barch.
2. Colli ei ddefnyddioldeb.
3. Colli ei enaid.
III. Tri chyngor i'r meddwyn er dyfod yn sobr:
1. Ymwrthod a'r gwlybyron meddwol.
2. Ymuno a'r gymdeithas lwyrymattaliol.
3. Cadw ammodau.

*Rome.* *Cyfl. gan* G. T. WILLIAMS.

---

## PETHAU NA WYBUM ERIOED.

NI wybum erioed i ddyn tlawd ennill gwobr mewn ffair, os byddai dyn cyfoethog yn cystadlu ag ef.

Ni wybum erioed i ddyn anonest naturiol ddyfod yn onest wirioneddol wrth ddyfod yn aelod eglwysig.

Ni wybum erioed i weinidog yr efengyl gael *galwad* oddiwrth gyflog uwch at gyflog is.

Ni wybum erioed i ddyn tlawd gael ei barchu am ei fod yn dlawd.

Ni wybum erioed i farsiandwr barhau yn ei ymddyddan gyda dyn tlawd pan ddelai dyn cyfoethog i'w *store.*

Ni wybum erioed i swyddymgeisydd penwyn fod yn gyfeillgar iawn gyda dyn tlawd ar ol yr etholiad.

Ni wybum erioed am ddyn yn cydnabod neb yn well nag ef ei hun.

Ni wybum erioed am ddyn cyfoethog nad oedd yn cael ei barchu o herwydd ei gyfoeth.

Ni wybum erioed am ddyn yn well nag y dylai fod.

Ni wybum erioed am ffasiwn rhy hyll gan rywrai ei dilyn.

Ni wybum erioed am un math o grefydd yn rhy gyfeiliornus i gael canlynwyr.

Ni wybum erioed am Abolisioniad politicaidd a roddai negro yn ei wely goreu.

Ni wybum erioed am drefn natur yn cyfnewid er boddio unrhyw ddyn.—*U. H.*

## CYMDEITHION DRWG.

NID oedd Sophronius, dysgawdwr doeth, yn caniatau i'w feibion na'i ferched, hyd yn nod y rhai oedd mewn oedran, i gymdeithasu â rhai nad oeddent o ymddygiad glân ac uniawn. "Fy anwyl dad," meddai Eulalia hynaws wrtho ryw ddiwrnod, pan wrthwynebodd iddi fyned gyda'i brawd i ymweled â Sucinda heinif, "Fy anwyl dad, mae yn rhaid eich bod yn coleddu meddwl plentynaidd iawn am danom, os ydych yn barnu y byddai i hyny ein dwyn i berygl."

Y tad mewn dystawrwydd a gymerodd löyn marw oddiar yr aelwyd, ac a'i hestynodd i'w ferch, gan ddywedyd, "Ni losga hwna chwi, fy merch—cymerwch ef."

Gwnaeth Eulalia felly, ac wele yr oedd ei llaw wedi ei diwyno a'i duo, ac fel y dygwyddodd, ei gwisg wen hefyd a gafodd ei duo. "Ni allwn fod yn rhy ofalus wrth drin glô," meddai Eulalia mewn tristwch. "Digon gwir," meddai y tad, "yr ydych yn gweled fy mhlentyn, er nad ydyw y glô, yn llosgi, y mae yn duo. Felly y mae cyfeillach y drygionus."

---

## SYLWCH AR Y LLAIS

YCHYDIG neu ddim sylw a delir i'r sain fydd gan blant pan yn siarad; mae hyn yn achosi iddynt yn rhy fynych fabwysiadu arferion anmhriodol o undoniaeth o'u babandod; a'r hyn fel y maent yn tyfu i fyny, a gamgymerir yn fynych fel eu llais naturiol. Oddiwrth y diffyg sylw priodol ar y dechreu y tarddodd llawer o'r diffyg yn y llais at ganu: ac nid anfynych mae yn achosi afiechyd yn y gwddf a'r ddwyfron. Hyn sydd yn achos mewn rhan o'r arferiad niweidiol sydd mor gyffredinol yn mhlith merched ieuainc y dyddiau hyn, o siarad mewn llais isel a gwanaidd, neu yr hyn a ellir ei alw yn ffuglais hanerog, yr hyn sydd yn achosi nad oes ond ychydig o leisiau naturiol i'w clywed. Dylid cofio fy mod yn cyfeirio yn fwyaf neillduol at foneddigesau y wlad hon, am fod tramoriaid yn gyffredin yn siarad yn eu llais naturiol. Nid wyf yn petruso dyweyd fod cannoedd o ferched ieuainc yn dwyn afiechyd angeuol i'w cyfansoddiad oddiwrth arferiad niweidiol pan yn siarad a chanu.—*Signor Ferrari.*

## YMDDYDDAN RHWNG CRIST A'R PECHADUR.

O WAITH T. DAVIES, LLANGOLLEN.

PECHADUR.

PECHADUR wyf sy'n wael ei wedd,
Y tynu beunydd at y bedd;
Cysuron bydol sy'n lleihau,
A'm nerth yn darfod i'w mwynhau.

CRIST.

Ti dreuliaist d'amser goreu 'gyd
Mewn pob rhyw wagedd yn y byd;
Tra paro nerth a gallu i ti,
Ni dde'st i 'mofyn dim â fi.

PECHADUR.

Rwy'n awr yn eiriol yn ddiffael
Am bardwn genyt, Arglwydd hael;
Llawn o drugaredd ydwyt ti,
Fy meiau mawrion maddeu i mi.

CRIST.

Nid felly mae, bechadur, clyw,
I ddyn mewn henaint droi at Dduw,
A chrefu pardwn, nawdd a hedd,
Pan mae ei draed ar fin y bedd.

PECHADUR.

Cyfaddef 'rwyf, fy Arglwydd hael,
Mai byw a wnes mewn bywyd gwael;
Ond eto i gyd ti elli di,
Os ewyllysi, faddeu i mi.

CRIST.

Mae'r gallu uchod yn fy llaw,
Ac ar y ddaear yma a thraw;
Ond eto nid wy'n rhwym o roi,
Mae'r drws i'th erbyn bron ar gloi.

PECHADUR.

Fe ddaliwyd pechadures, do,
Mewn gweithred ddrwg, mae hyn mewn co';
A'i holl gyhuddwyr ddaeth ger bron,
Maddeuaist ti yn llwyr i hon.

CRIST.

Er imi faddeu iddi hi,
'D wyf ddim yn rhwym 'wneyd felly i ti;
Mae ar fy llaw i gosbi rhai,
A'r neb a fynwyf drugarhau.

PECHADUR.

Achubaist ddrwg weithredwr bl
Mor fawr ei fai a mi fy hun;
Hwn oedd y lleidr ar y groes,
Pan oedd yn dyoddef angeu loes.

CRIST.

Fe wnaethpwyd hyny fel b'ai son
Am allu mawr y nefol Oen,
Yn cipio un o safn y fall,
A gado'r gelyn gael y llall;

Fel na b'ai neb o ddynolryw
Ryfygu ar drugaredd Duw;
Nac o'r tu arall lwfrhau,
Na gwan obeithio faddeu eu bai.

PECHADUR.

Annuwiol eraill ga'dd fwynhau
Dy nefol allu, a iachau
Eu corff a'r enaid yr un pryd,
Pan dde'st i rodio yn y byd.

CRIST.

Mae ngallu i yr un o hyd
Ag oedd pan oeddwn yn y byd;
Ond gwybydd hyn, fod rhaid cael ffydd
Cyn cael iachad, pwy bynag fydd.

PECHADUR.

'R wyf finau'n credu, Arglwydd mawr,
Mai ti yw Brenin nef a llawr,
A'r unig Grist, Mab Duw o'r nef;
Atolwg, clyw, a gwrando'm llef.

CRIST.

Trwy'th fod mor daer, ni allaf lai
Na gwrando'th lef, a thrugarhau;
Am hyny c'od, saf ar dy draed,
Maddeuwyd iti oll yn rhad.

PECHADUR.

Tra ar y ddae'r mi gana'th glod,
Ac felly gwnaf tra nef yn bod;
Dy foli a'th ganmol fydd fy ngwaith
Hyd eithaf tra'gwyddoldeb maith.

*Crab Creek, O.* *Cyf. gan* D. P. LEWIS.

## GWYLIADWRIAETH GRISTIONOGOL.

[Sylwedd pregeth a draddodwyd gan y Parch. James Hughes, Lleyn.]

MARC XIII. 37. "A'r hyn yr wyf yn ei ddywedyd wrthych chwi, yr wyf yn eu dywedyd wrth bawb, Gwyliwch."

Y MAE Crist yma, wedi bod yn llefaru am ddydd y farn, yn cymeryd y fantais i wasgu ar ei wrandawyr y ddyledswydd o wylio. Yr oedd wedi dangos fod dydd y farn yn ddydd sicr o ddyfod, ond na wyddai neb pa bryd y deuai; am hyny rhesymol oedd yr annogaeth i wylio. "Am y dydd hwnw ni ŵyr neb, na'r angelion sydd yn y nef, na'r Mab," sef fel yr oedd yn ddyn, ac fel na chafodd awdurdod i'w egluro: mae amser ei ddyfodiad yn ddirgelwch i bawb, ond y Duwdod. "Gwyliwch gan hyny."

Mae yn ymddangos fod Crist yma yn ymddyddan â rhyw bersonau neillduol. "Yr hyn wyf yn eu dywedyd wrthych chwi:" Iago, Ioan, Pedr, Andreas a'r apostolion eraill; "yr wyf yn eu dywedyd wrth bawb" o'm dysgyblion, a phawb a ddewisasant fod yn ddilynwyr i mi, "Gwyliwch."

Dyma ddyledswydd arbenig gweinidogion y gair, a blaenoriaid yn eglwys Dduw: gwyliedyddion yw y rhai hyn; maent i "wylio dros eneidiau, megys rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif." Ond nid yn unig wrthynt hwy y dywedir hyn, ond "wrth bawb, Gwyliwch." Dyma ddyledswydd angenrheidiol ar bob perchen enaid. Sylwn yn

I. AM NATUR GWYLIADWRIAETH.

Peth hollol groes i agwedd, gysglyd, esgeulus, a diofal, yw gwylio. Nis gelli wylio os na bydd dy enaid yn effro. Cawn hanes am yr Arglwydd Iesu yn yr ardd, wedi iddo fod yn ei weddi ddyfal, iddo gael y tri dysgybl oedd gydag ef yn cysgu, ac efe a ddywedodd wrth Pedr, "Simon, ai cysgu yr wyt ti? oni allit wylio un awr? Gwyliwch a gweddiwch, rhag eich myned mewn temasiwn." Dyma fel y gellir gofyn i lawer un eto, Ai cysgu yr wyt ti yn lle bod wrthi yn

gwylio a gweddio? Ni ŵyr un cysglyd beth i wylio oddi wrtho. Gwaith effro, bywiog, astud, a manwl iawn yw gwylio.

II. Gwrthddrychau Gwyliadwriaeth; neu pa bethau i wylio arnynt neu rhagddynt.

1. *Gwylia arnat dy hun.* Gelli gael mwy o niweid oddiwrthyt dy hun nag oddiwrth neb. "Edrychwch arnoch eich hunain." Oblegid diffyg gwyliadwriaeth arnynt eu hunain, cafodd llawer glwyfau na ddiangasant oddiwrth eu heffeithiau drwy ystod eu bywyd. Ni wnaeth dichellion Saul nac enllibiau Simei ddim niweid i Dafydd wyliadwrus; ond Dafyddd anwyliadwrus ar nen y tŷ a gafodd saeth y gwybu oddiwrthi tra y bu byw yn y byd. Mae ymosod mawr arnat; gwylia arnat dy hun.

(1.) Gwylia ar dy egwyddorion athrawiaethol. "Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth." Y gwirioneddau am berson mawr y Cyfryngwr, ac am holl drefn iachawdwriaeth; gwylia rhag gwyro dim oddiwrthynt. Mae athrawiaethau dyeithr a chythreulig yn y byd; "gwyliwch gan hyny."

(2.) Gwylia ar dy galon a'th feddylfryd. "Cadw dy galon yn dra diesgeulus." "Meddyliau ofer a gaseais," meddai gwyliedydd duwiol gynt; pan y cynnygient ddyfod i mewn, ni chaent ddim croesaw ganddo.

(3.) Gwylia ar dy dafod. Nid oes modd i ni grefydda yn iawn, heb fod yn wyliadwrus ar ein geiriau a'n hymddyddanion. "Os yw neb yn eich mysg yn cymeryd arno fod yn grefyddol, heb attal ei dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer yw crefydd hwn." Dylem wneuthur yr un penderfyniad a'r Salmydd, "Dywedais, Cadwaf fy ffyrdd rhag pechu â'm tafod."

(4.) Gwylia ar yr holl synwyrau, a'r holl byrth sydd yn perthyn i ti. Gwylia ar dy glust. "Edrychwch beth a wrandawoch." Gwylia ar dy lygaid: o eisiau hyn y syrth-

iodd Adda, y collwyd Achan, ac y clwyfwyd Dafydd. Job a ganfu y perygl o bell, ac a wyliodd mewn pryd. Gwnaethum ammod â'm llygaid."

2. *Gwylia ar bawb a ymddiriedwyd i'th ofal.* Os nad wyt yn bregethwr, neu yn swyddwr eglwysig arall, efallai dy fod yn benteulu; yn dad neu yn fam, yn feistr neu yn feistr-es; â siars eneidiau arnat. Yr oedd Josuah am gael ei deulu i wasanaethu Duw gydag ef. Mae llawer o benau-teuluoedd, na wyddant, ac nad ydynt yn gofalu, i ba le y mae eu plant a'u gwasanaethwyr yn myned ar ddydd yr Arglwydd; maent yn eu gadael i fyned i rodiana i rywle. Gwyliwch rhag y gofynir eu gwaed oddiar eich llaw.

3. *Gwyliwch, i ochelyd pob peth sydd yn peri anfantais i wyliadwriaeth.* "Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymâu trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bŷwyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth."

4. *Gwyliwch rhag yr achlysuron sydd yn arwain i bechodau amlwg a dinystriol yr oes.* "Ymgedwch rhag pob rhith drygioni." "Gan gasâu hyd yn nod y wisg a halogwyd gan y cnawd." Os wyt am fod ar dir diogel rhag meddwdod, "nac edrych ar y gwin pan fyddo coch." Os mynit ti fod yn ddiangol rhag y fenyw ddrwg, "na thueddед dy galon at ddrws ei thŷ hi." Diffyg gwylio rhag yr achlysur a barodd i Dinah gwympo, a mawr y gofid a ganlynodd ei diofalwch hi.

III. Rhesymau paham y dylai pawb wylio.

1. Mae hon yn ddyledswydd orchymynedig gan Fab Duw; ac y mae awdurdod a phwys yn ei holl orchymynion ef.

2. Mae y peryglon yn agos. "Byddwch sobr, gwyliwch; oblegid y mae eich gwrthwynebwr diafol, megys llew rhuadwy, yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyncu." Fe lyncodd y llew hwn filoedd yn ein gwlad, ac y mae o'n cwmpas ninau. Gwyliwn.

3. Cafodd llaweroedd golled fawr o herwydd diffyg gwylio. Pa fodd yr aeth Samson heb ei ddau lygad, yn wawd gan y Philistiaid? Diffyg gwylio. Pa fodd y cwympodd Noah, Lot, Dafydd. Pedr, ac enwogion eraill? Diffyg gwylio. Mae yma rai yn ddiau a wyddaut beth yw colli ysbryd gweddi, darllen a gwrando; o herwydd colli ysbryd gwylio. Addas gwaeddi ar lawer crefyddwr. "Bydd wyliadwrus, a sicrâ y pethau sydd yn ol, y rhai sydd yn barod i farw."

4. Mae y Duw byw yn gwylio arnom ni, ac yn syllu arnom yn mhob man. "Y mae yr hwn sydd yn uwch na'r uwchaf yn gwylied." Mae Duw yn gwylio ar dy feddwl, dy eiriau, a'th holl ymddygiadau a'th weithredodd, ddydd a nos, gartref ac oddi cartref, yn mhob lle, a phob amser. Bydd wyliadwrus; yr wyt yn cerdded pob cam o flaen llygaid Duw. "Os pechaf, ti a'm gwyli." Ystriaeth ddifrifol a pharhaus o hyn a barai effeithiau dymunol arnom.

---

## EFFAITH CYMDEITHAS.

NID oes dim ag y gellir ei ganfod yn fwy eglur yn ngweithrediadau ac ymddygiadau dyddiol a beunyddiol dyn na'i fod yn greadur cymdeithasgar, ac y mae y duedd hono yn gref iawn yn enwedig pan yn ieuanc. Gyda phriodoldeb y gellir ei hystyried hefyd, yn un o'r prif foddion trwy ba rai y mae dyn yn mwynhau mwyaf o gysûr a mwynhad; sef, yn ei ymwneyd â'i gyd-ddynion trwy offerynoliaeth cymdeithas. Amddifader dyn o allu cymdeithasu a'i gydgreadur, chwi a'i hamddifadwch ef hefyd ar yr un pryd o'r cysur penaf a fedd.

Peth arall y gellid ei ystyried mewn cysylltiad â dyn ydyw, ei fod yn greadur ag sydd ar gynnydd parhaus, i raddau mwy neu lai—hyny ydyw, mai nid peth ydyw y meddwl dynol ag sydd yn aros yn yr unman yn barhaus; ond peth ydyw sydd yn sicr o weithredu mewn rhyw gyfeir-

iad neu gilydd, a chan sicred a hyny hefyd o weithredu yn gydweddol â natur a thuedd y gymdeithas y bydd yn troi ynddi. Gan hyny, y pwys mawr i ni ydyw, sef, bod yn ofalus iawn yn newisiad ein cymdeithion yn ein cychwyn cyntaf. Bydded i ni ddewis y fath gymdeithas ag a fyddo yn ei heffeithiau yn adeiladol, ac nid yn ddinystriol—y fath gymdeithas ag a fyddo yn anrhydedd, ac nid yn warth i ni gael ein rhestru yn eu plith; ïe, mewn gair, bydded i ni ymdrechu bod yn aelodau o'r fath gymdeithas, ag a fyddo yn ei heffeithiau yn cyfateb i urddasolrwydd dyn fel creadur galluog, moesol, a chyfrifol.

Peidied neb mewn un modd ychwaith a llwfrhau a digaloni, gan feddwl fod unrhyw gylch anrhydeddus o gymdeithas yn anghyraeddadwy iddo o herwydd iselder ei sefyllfa neu sefyllfa ei rieni. Mae yn ddiamheu genyf na raid i'r rhan fwyaf o ddarllenwyr yr "Arweinydd" ddim myned o'r gymydogaeth lle y maent yn byw ynddi i gael gwrthbrawf o hyny—oes y mae llawer bachgen digon tlawd a dystadl ar ei gychwyniad cyntaf wedi dyfod yn ddyn o gyfoeth ac anrhydedd; a'r cam cyntaf tuag at hyny, ond odid, oedd bod yn ofalus gyda pha gymdeithion yr ymwn'ai â hwynt pan yn ieuanc; pryd y mae un arall fe allai wedi cael ei ddwyn i fyny yn yr un ardal, ac wedi bod yn gyfranog o'r un manteision ag yntau, ond trwy fod yn ddibris a diofal yn nghylch ei gymdeithion pan yn fachgen, y mae wedi dinystrio ei hun; ac felly yn lle bod yn anrhydedd iddo ei hun ac i'w rieni, y mae yn warth iddynt.

Heblaw hyny hefyd, yn gymaint a bod cymdeithas yn gwneyd y fath effaith arnom, y mae dyn trwy ei ymwneyd â chymdeithion drwg yn annghymwyso ei hun tuag at gael yr un mwyniant mewn cymdeithas goethedig a rhinweddol. Pe baem ond meddwl yn awr am y cyfryw un mewn unrhyw gynnulliad, os daw yno ryw ofyniad ger bron ag y bydd yn ofynol cael meddwl wedi ei ddiwyllio i raddau tuag at ymdrin ag ef, yn lle mwynhau hyny, cewch ef naill ai yn sisial â'r

nesaf ato, neu yn gofyn rhyw ofyniad ynfytach na'i gilydd, nes y bydd yn ddigon a pheri i'r rhai mwyaf diwylliedig wrido a chywilyddio yn yr olwg ar ei ymddygiad ffol ac aflywodraethus. Gan hyny ieuenctyd, pa hyd y dinystriwch eich hunain trwy y fath ddiofalwch?

Bydded i chwithau, rieni plant, gymdeithasu yn y fath fodd â'ch plant ar yr aelwyd gartref, nes eu cymhwyso i wneyd iawn ddewisiad o'r cyfryw beth a nodwyd. Y mae eich dyledswydd yn wir bwysig. Bydded i chwi eu hegwyddori yn y fath fodd, fel y galloch ddywedyd yn ngwyneb eu hymddygiadau anheilwng a phechadurus,' gyda chydwybod dawel, eich bod yn ddieuog oddiwrth eu gwaed—ïe, bydded i'ch hegwyddorion chwi fod iddynt megys *tarian* i wrthsefyll y byd a'i demtasiynau afrifed.

*Rome.* E. G.

---

## GAIR AT BLANT AM FARW.

MARW! Gair oer yw marw, a gwaith anhawdd fydd gollwng unrhyw beth i farw. Ond rhaid gwneyd, a hyny yn fuan. Yr ydym oll yn rhwym i farw; ac y mae plant yn meirw. A chofiwch fy anwyl blant na wyddoch pa bryd y byddwch feirw, fe allai mai o fewn y flwyddyn hon. Bydd yn beth mawr i chwi pan fyddo tad a mam yn gwrthod, fod yr Arglwydd yn derbyn. Ac os ydych chwi am iddo ef eich derbyn chwi y pryd hwnw, derbyniwch chwi ei gynghorion ef yn awr yn yr Ysgol Sabbothol, ac yn y Beibl, a chan eich rhieni duwiol, o herwydd mi obeithiaf fod genych dad a mam duwiol, gwnewch yn fawr o honynt, dichon y byddwch wedi eu colli yn fuan, neu hwy wedi eich colli chwi. Y mae marw wrth y drws.

T. R. J.

## GWEDDI Y FFYDD.

YCHYDIG ddyddiau yn ol adroddwyd yr hyn a ganlyn gan foneddwr yn *Spring Chapel*, Boston, er dangos gallu gweddi y ffydd. Sicrhai wrth y gynnulleidfa fod y cwbl yn wirionedd, ac wedi dygwydd yn ddiweddar, trwy ei wybodaeth ef ei hun.

Ar ddiwedd cyfarfod gweddi mewn pentref yn y wlad, sylwai y gweinidog fod geneth fechan oddeutu deuddeng mlwydd oed yn parhau i aros ar ei gliniau, pan oedd y rhan fwyaf o'r gynnulleidfa wedi ymadael. Yn tybied ei bod wedi syrthio i gwsg, cyffyrddai â hi, a dywedai ei bod yn amser i fyned adref. Er ei syndod, canfyddai ei bod yn ddyfal mewn gweddi, a dywedai, "Beth bynag a ofynoch mewn gweddi, *gan gredu, chwi a'i derbyniwch.*" "A ydyw felly? A ydyw Duw yn dyweyd *hyny?*" meddai hithau, Efe a gymerodd Feibl a darllenodd yr adnod hono yn uchel. Yna hi a ddechreuodd weddio, "Arglwydd danfon fy nhad i'r capel. Arglwydd, danfon fy nhad yma!" Parhaodd fel hyn am tua hanner awr, yn tynu sylw y rhai oedd yn sefyllian oddeutu y drws trwy ei llefain difrifol.

O'r diwedd, rhuthrodd dyn i'r capel, a rhedodd yn mlaen, a syrthiodd ar ei liniau, dan lefain, "Beth sydd arnat eisiau genyf fi?" Taflodd ei dwylaw am ei wddf, a dechreuodd weddio, "O Arglwydd, dychwel fy nhad!" Yn fuan toddodd calon y tad, a dechreuodd weddio drosto ei hun. Atebiad grasol i weddi ffyddiog o enau plentyn! Bydded hyn yn galondid i Gristionogion i fod yn fwy syml a difrifol fel plant bychain yn eu gweddiau, gan gofio geiriau yr Arglwydd Iesu, pan ddywedodd, "Beth bynag oll a geisioch wrth weddio, *credwch* y derbyniwch, ac efe *fydd i chwi.*"

Cafwyd sicrwydd ar ol hyny fod tad y plentyn dair milldir oddiwrth y capel pan oedd hi yn dechreu gweddio drosto. Yr oedd yn llwytho ei gerbyd, a theimlai awydd anghyffredin am fyned adref. Ar ol gyru yn gyflym at ei tŷ, gadawodd y llwyth yn y wagen, a brysiodd i'r capel, lle y cafodd ei ferch yn llefain yn rymus ar Dduw ar ei ran, ac arweiniwyd ef felly at yr Iachawdwr.

Gyd-deithiwr tua byd tragywyddol! a wyt yn teimlo awydd o'th fewn i droi oddiwrth dy ffyrdd drygionus, ac ymofyn am gael Grist yn rhan? Dichon fod rhyw un anwyl

genyt yn awr yn dadleu trosot ger bron gorsedd gras, a'r Ysbryd, mewn atebiad i weddi, yn sisial wrthyt, "Dyma y ffordd, rhodiwch ynddi." Paid a gwrthsefyll y dylanwad grasol, ond ymostwng yn dy galon ger bron y Gwaredwr, a chaiff yr angelion mewn llawenydd ddadgan y newyddion da, "Wele, y mae yn gweddio!"—*N. Y. Independent.*

---

## ESGOB GEORGE A'R PREGETHWR IEUANC.

AR brydnawn gwresog yn mis Awst, pan oedd yr haul ar fachludo dros y bryniau, yn nghymydogaeth Springfield, Ohio, yr oedd teithiwr oedranus, yn flin a diffygiol, wedi bod yn marchogaeth am bymtheg milldir ar hugain o ffordd. Pan yn Fairfield cafodd dderbyniad croesawus gan rywun oedd yn ei adnabod, yr hwn a gyfranai iddo er adgyfnerthu ei natur luddedig; ac yna aeth yn mlaen, a'i ysbryd wedi adfywio. Ond ar ol teithio amryw filldiroedd yn mlaen, a thywyllwch y nos wedi ymledu o'i amgylch, teimlai ei babell oedranus yn diffygio, ac awyddai gael lle i orphwys.

Cyn hir trodd yr hen wr ei geffyl at ddrws y fan y bu yn dra awyddus am ei weled i gael gorphwys. Yr oedd gwraig tua chanol oedd gerllaw, â'r hon yr ymofynai yn ostyngedig am letty iddo ef a'i anifail.

"Nis gwn," atebai hithau yn oeraidd, ar ol syllu am beth amser ar ymddangosiad y teithiwr, yr hyn nid oedd y mwyaf deniadol, "a allwn eich lletya, hen wr. Yr ydych yn edrych yn flinedig, fodd bynag, a mi a af i mewn i edrych a wnaiff pregethwr y gylchdaith, yr hwn sydd yma heno, adael i chwi gysgu gydag ef.

Daeth y pregethwr ieuanc yno yn fuan, a chydag ymddangosiad coegaidd aeth yn mlaen at yr hen wr, gan ei holi mewn dull ymhongar; yna gofynai rai cwestiynau anmherthynol, ac ar ol trefnu ei wallt tua haner dwsin o weithiau, a theimlo ei wyneb eilliedig gymaint a hyny, cydsyniodd i'r dyeithrddyn gael rhan o'i wely, yna trodd yn union i'r tŷ.

Disgynai y teithiwr oedranus a blinedig, ac arweiniai ei anifail i'r ystabl, a rhwbiai ef â'i ddwylaw ei hun, a'i ddyfrhau a'i borthi, yna trodd i'r anedd lle yr oedd yn dysgwyl cymaint o garedigrwydd. Yr oedd y teulu yn Fethodistiaid, a chan fod pregethwr y gylchdaith i fod yno y diwrnod hwnw,

yr oedd llawer o baratoadau wedi ei gwneyd i'w groesawu, ac amryw o ferched ieuainc Methodistaidd y gymydogaeth oedd wedi eu gwahodd, nes bod cryn *barty* yno erbyn i'r dyeithrddyn ddyfod i fewn, ac nid oedd un o honynt yn gwneyd un sylw o hono ef; ac yr oedd yntau yn eistedd yn lluddedig mewn congl, heb fod yn amlwg iawn, eto yn canfod y cwbl oedd yn myned yn mlaen—ac yr oedd ei lygaid tanbaid yn dangos nad oedd yn hollol ddiystyr o'r hyn oedd yn myned yn mlaen o'i amgylch.

Chwareuai y pregethwr ieuanc ei ran cystal ag un ysgogyn gwamal ellid gael, ac ni ddeuai dim tebyg i grefydd dros ei wefusau. Weithiau byddai yn cellwair a siarad mewn dull disynwyr gydag un ferch ieuanc, yna byddai yn brysur yn ffraeth-siarad gydag un arall, yr hon oedd yn bryderus am gael denu ei serch.

Y dyeithrddyn, ar ol eistedd am awr, heb ddim ymborth yn cael ei barotoi iddo, a ofynai am gael ei gyfarwyddo i'w ystafell i orphwys; i'r hwn le yr aeth heb neb yn sylwi arno —yn gofidio ac yn arswydo wrth ymddygiad y teulu a'r pregethwr. Gan gymeryd Beibl treuliedig yn ei law o'i sypyn, eisteddai mewn cadair, a chafodd yn fuan ei lanw â meddyliau uchel a derchafedig, ac ymborth yr hwn na wyddai y rhai oedd o'i amgylch ddim am dano. Aeth awr ar ol awr heibio, heb neb yn gwahodd y teithiwr blinedig i fwynhau cyfran o'r swper dantethiol oedd wedi ei barotoi yn yr ystafell islaw.

Oddeutu un ar ddeg ar gloch daeth y pregethwr i fyny y grisiau, ac heb wneyd un arwydd o ymostyngiad na gweddi tynai ei ddillad oddiam dano, mewn dull brysiog, ac ymollyngai yn union ar ganol gwely bychan, yr hwn oedd i fod yn orphwysle i'r hen ŵr yn gystal ag ef ei hunan. Cyn hir cyfodai yr hynafgwr dyeithr, ac ar ol dechreu dadwisgo, ymostyngai ar ei liniau, lle y bu am amser. Dechreuai y pregethwr ieuanc sylwi ar ocheneidiau yr hen ŵr, nes bod ei gydwybod yn ei gyhuddo o'i ddiofalwch ei hun o'r ddyledswydd hon. Yna cyfodai yr hen ŵr, ac ar ol dadwisgo yn araf aeth i'r gwely, neu yn hytrach ar yr ymyl, oblegid yr oedd y pregethwr ieuanc yn y canol, ac ni fynai symud modfedd. Gorweddai yn y sefyllfa anghysurus hon yn ddystaw am beth amser. Cyn hir gwnaeth yr ieuangaf ryw sylw, pryd y cafodd atebiad priodol nes tynu ei sylw; yna symudodd fodfedd neu ddwy er mwyn iddo gael mwy o le.

"Pa faint o ffordd a ddarfu i chwi deithio heddyw, hen wr?"

"Pymtheg milldir ar hugain."

"O ba le?"

"O Springfield."

"Felly yn wir! Rhaid fod un o'ch oed chwi yn flin iawn ar ol y fath daith."

"Ydwyf, mae yr hen gorffyn tlawd hwn wedi myned yn lled isel wrth drafaelio cymaint yn barhaus, ac y mae y daith heddyw wedi fy ngwanhau yn fawr."

Dechreuodd y pregethwr ieuanc symud tipyn eto.

"A ydych yn cartrefu yn Springfied?"

"Nag ydwyf, nid oes genyf gartref pennodol."

"Pa fodd felly?"

"Nid oes genyf ddinas barhaus. Mae fy nghartref uwchlaw y dyffryn adfyd hwn."

Y pregethwr yn symud tipyn eto yn mhellach.

"Pa faint ydych chwi wedi ei deithio y tro presenol?"

"O Philadelphia."

"O Philadelphia!" (mewn syndod.)

"Yr oedd Cynnadledd Gyffredinol y Methodistiaid yno yn ddiweddar—a oedd wedi terfynu pan ymadawsoch?"

"Yr oedd wedi terfynu ddiwrnod cyn fy ymadawiad."

"Felly yn wir!" (gan symud yn nes eto i'r erchwyn, er mwyn i'r dyeithr-ddyn gael mwy o le.)

"A oedd yr Esgob George wedi ymadael pan oeddech yn cychwyn?"

"Oedd, cychwynodd yr un amser a minau!—daethom yn nghyfeillach ein gilydd."

"Felly yn wir!" (Erbyn hyn gadawodd y pregethwr ieuanc lawn haner y gwely, gan ddeisyf yn foesgar ar y dyeithr-ddyn gymeryd mwy o le."

"Pa fodd yr oedd yr Esgob yn edrych? Mae yn myned yn lled hen erbyn hyn, onid ydyw?"

"Mae yn dal ei oed yn weddol, ond mae ei lafur yn galed, ac mae arwyddion fod ei nerth yn dechreu pallu."

"Dysgwylir ei weled ffordd hyn o fewn wythnos neu ddwy. Mor dda fyddai genyf gael ysgwyd llaw a'r hen filwr da i Iesu Grist. Ond dywedasoch eich bod wedi cychwyn yn ngyfeillach yr hen bererin. Faint o ffordd y darfu i chwi deithio gyda'ch gilydd?"

"Buom yn teithio ein hunain am ychydig o ffordd."

"*Chwi* deithio eich hunan gyda'r Esgob?"

"Do, yr ydym wedi bod yn gyfeillion er ys blynyddoedd?"

"Chwi yn gyfeillgar gyda'r Esgob George?"

"Ydwyf, paham nad ydwyf.?

"Rhyfedd iawn! paham na chawswn wybod hyny? Ond a gaf fi fod mor hyf a gofyn eich enw?

Ar ol petruso ychydig atebai dyeith-ddyn, "George."

"George! nid Esgob George?"

"Maent yn fy ngalw Esgob George," atebai yr hen ŵr yn ostyngedig.

"Beth, beth, gwarchod ni, Esgob George!" meddai y pregethwr cywilyddgar erbyn hyn, gan neidio allan o'i wely. "*Yr ydych heb swper!* mi a alwaf y teulu i fyny yn union. Paham na ddywedasoch wrthym pwy oeddech?

"Aroswch, aroswch, fy nghyfaill," meddai yr Esgob yna rafaidd, "nid oes arnaf eisiau swper yma, ac ni fwytawn ddim pe c'ai ei barotoi i mi. Os nad yw hen ŵr blin a diffygiol,ar ol teithio trwy yr holl hir-ddydd hâf, yn cael ei ystyried yn deilwng o bryd o fwyd gan y teulu hwn, a hwythau yn proffesu eu bod wedi codi allor i Dduw yn eu tŷ, nid yw Esgob George beth bynag. Nid yw yntau ar y goreu ond dyn, ac nid oes ganddo un hawl amgen na dyn arall."

Ni chafodd y pregethwr ieuanc y fath noswaith anghysurus erioed yn ei fywyd. Cynghorai yr Esgob ef mewn modd tirion, a rhybuddiai ef o'r mawr angen iddo anrhydeddu athrawiaeth Crist, trwy ei ddilyn yn ddifrifol a gostyngedig. Ceisiai yn bwyllog, ond gyda thaerineb, ei ennill yn ol o'i wamalrwydd, gan ei annog i ymddiried mwy yn Nuw, a llai yn ei nerth ei hun.

Yn y boreu aeth yr Esgob i weddi gydag ef mewn modd difrifol a thaer cyn iddo adael yr ystafell, ac yr oedd yn llawenhau wrth weled ei galon yn toddi mewn edifeirwch. Yn fuan aeth yr Esgob i lawr, a chyfarfyddwyd ef gan berchenogion y tŷ gyda mil o esgusodion difrifol. Gwnaeth yntau iddynt dewi mewn dull esmwyth, a gofynai am i'w geffyl gael ei ddwyn allan, yr hyn a wnaed yn fuan, yna parotödd ei sypyn i gychwyn ymaith.

"Ond, yn sicr, Esgob," cymhellai y wraig drallodus, "nid ydych am ein gadael fel hyn? Aroswch ychydig fynydau, mae y bwyd ar y bwrdd."

"Na wnaf, chwaer L——, nid allaf gymeryd boreufwyd

yma. Nid oeddech yn ystyried teithiwr blinedig yn deilwng o bryd o fwyd, ac nid oes gan eich Esgob un hawl ond yr hyn y mae dynoliaeth yn ofyn." Ac felly aeth ymaith, gan adael y teulu a'r pregethwr mewn dyryswch a thristwch.

Nid oedd ei ymddygiad fel hyn yn tarddu oddiar ddigofaint, oblegid nid oedd y fath gynhyrfiad yn tarddu o'i galon, ond ewyllysiai ddysgu gwers iddynt nad anghofient mo honi yn fuan,

Yn mhen chwe' mis ar ol hyn yr oedd Cynnadledd Flynyddol Ohio yn cyfarfod yn Cincinnati, ac yr oedd y pregethwr ieuanc i ymddangos yno i gael ei ordeinio yn ddiacon, a'r Esgob George i fod yr Esgob llywyddol. Ar ddydd cyntaf y Gynnadledd, toddai calon y pregethwr ieuanc o'i fewn pan ganfu yr Esgob hybarch yn cymeryd ei eisteddle. Cymaint oedd ei gyffro fel y gorfu arno yn fuan adael yr ystafell. Yr hwyr hwnw, pan oedd yr Esgob ei hunan yn ei ystafell, hysbyswyd iddo fod y Parch. Mr. —— gerllaw, a galwai am iddo ddyfod ac ymddangos. Ymaflodd yn llaw y dyn ieuanc gydâ'r fath garedigrwydd na ddysgwyliodd ei gael, oblegid yr oedd wedi ymholi yn fanwl, a chafodd allan fod cyfnewidiad mawr wedi bod ynddo er pan welodd ef o'r blaen. Yr oedd yn awr mor ostyngedig ag oedd o'r blaen mewn hunan-ymddiried a meddwl cnawdol. Derbyniai ef fel y derbyniai tad ei blentyn anufudd, ond edifeiriol. Cymysgasant eu dagrau yn nghyd, ac wylai y pregethwr fel plentyn. Ordeiniwyd ef fa hono, ac y mae yn awr yn un o'r gweinidogion mwyaf yn y gymanduwiol a defnyddiol yn Ohio.

## HANES JOHN CRAIG.

JOHN CRAIG a anwyd yn Scotland yn y flwyddyn 1512; yn fuan wedi hyny lladdwyd ei dad yn mrwydr Flodden Field; ac yn 1537 ymadawodd Craig â'i wlad enedigol, ac a aeth i Ffrainc ac Itali. Efe a aeth i fynachdy yn Bologna, lle yr enillodd enw mawr. Yn llyfrgell y fynachlog hon cafodd hyd i waith Calfin; a darllenodd ef yn ddyfal, a thrwy hyny argyhoeddwyd ef nad yr eglwys Rufeinig oedd y wir eglwys. Ond anghofiodd mor beryglus oedd ymddyddan yn rhydd ar y pwnc hwn yn Itali, ac hysbysodd ei feddwl i'w frodyr y mynachod. Costiasai hyn yn ddrud iddo, oni buas-

ai i dad oedranus yn y fynachlog, yr hwn oedd gydwladwr iddo, ei gynnorthwyo i ddianc o'r lle. Wedi hyny cafodd le i addysgu teulu boneddig mawr yn y gymydogaeth, ag oedd yn bleidiol i'r grefydd Brotestanaidd. Nid hir y bu yno cyn i'r gŵr boneddig ac yntau gael eu cyhoeddi yn hereticiaid, a'u dal gan swyddogion y chwil-lŷs, a'u cymeryd i Rufain. Bu yno naw mis mewn daeargell dywell ddu; ac wedi iddo nacau ymwrthod â'i broffes, dedfrydwyd ef ac amryw eraill i gael eu llosgi. Cyhoeddwyd y ddedfryd ar yr 20fed o Awst, 1559; ond rhyfeddol yw ffyrdd rhagluniaeth Duw—ar y prydnawn cyn y diwrnod yr oedd Craig i gael ei losgi, bu farw y pab, Pius IV., o ganlyniad yn ol hen ddefod, taflwyd holl ddrysau y carchar yn Rhufain yn agored. Ond tra y caniateid i'r carcharorion am ddyled a throseddau gwladol ymadael, dygid yr hereticiaid yn eu hol i'w daeargelloedd, wedi iddynt fyned unwaith o'r tu allan i furiau y carchar. Pa fodd bynag torodd gwrthryfel allan y noson hono; a hyn a roddodd gyfle i Craig a'i gydgarcharorion i ddianc: a hwy a ffoisant i dŷ cyfagos i'r ddinas. Ni buont yno yn hir cyn i'r milwyr ddyfod o hyd iddynt. Pan aethant i'r tŷ, y cadben edrychai yn graff yn ngwyneb Craig, a'i cymerodd ef o'r neilldu, ac a ofynodd iddo, a oedd efe yn cofio cynnorthwyo milwr archolledig yn agos i Bologna. Yr oedd Craig wedi cynhyrfu gormod i gofio yr amgylchiad: "Ond yr wyf fi yn cofio yn dda," ebai y swyddog, "a myfi yw y person a gynnorthwyasoch. Mae Duw yn fy ngalluogi inau yn awr i ddychwelyd y caredigrwydd i ddyeithrddyn anffodus. Cymerwch eich rhyddid—ni feiddiaf ollwng eich cyfeillion yn rhydd; ond er eich mwyn chwi, myfi a wnaf yr hyn a allwyf iddynt." Yna efe a roddes iddo yr holl arian a feddai yn ei bwrs, ac a'i rhoddes ar y ffordd ddiogelaf i ddianc. Ymadawodd Craig âg ef yn ddiolchgar. Ac yn ei daith trwy Itali nid â'i yn agos i'r prif-ffyrdd rhag cael ei ddal, a'r arian a gawsai gan y milwr oeddynt o'r diwedd wedi eu treulio. Eisteddodd i orphwys dan gysgod coeden i fyfyrio beth a wnai, pan y rhedai ci ato â phwrs yn ei geg. Ceisiodd Craig yru y ci ymaith, gan y tybiai i rywun ag oedd yn ymguddio yn y bont ei ddanfon gydag amcan drygionus; ond ni symudai y ci hyd oni chymerodd Craig y *pwrs*, yn mha un y cafodd ddigon o arian i'w gynnorthwyo ar ei daith. Aeth oddi yno i Vienna, lle y ceisiwyd ganddo bregethu o flaen Maximilian, y pryd hyny Arch-

dduc Awstria, ac wedi hyny yr ail ymerawdwr o'r enw hwnw. Pe gallasai y tywysog hwn, efe a noddasai Craig yn ddiogel; ond gan fod y pab o hyd yn ei felldithio, ac yn cyflogi ysbiwyr i chwilio am dano, efe a ymadawodd oddiyno, ac a gyrhaeddodd Scotland yn y flwyddyn 1560, lle y derbyniwyd ef yn weinidog i'r eglwys ddiwygiedig; ond bu ei ymadawiad o'r wlad am bedair-blynedd-ar-hugain yn achos iddo yn mron anghofio ei fam-iaith ei hun, ac ar y cyntaf pregethai yn Lladin o flaen y rhai a allasent ei ddeall. Wedi hyny aeth yn gydweithiwr â'r enwog John Knox, ac yn gynnorthwy mawr i gwblhau a pherffeithio y diwygiad yn ei wlad enedigol—*P. L. J.*

---

## EGLWYSI NEW YORK.

DYWEDIR fod nifer yr eglwysi yn ninas New York fel y canlyn :—Protestaniaid Esgobawl, 50 ; Methodistiaid Esgobawl, 34 ; Presbyteriaid, 41 ; Bedyddwyr, 29 ; Is-Ellmyn Diwygedig, 23 ; Cynnulleidfaol, 7 ; Lutheraidd, 7 ; Synagogau Iuddewig, 16 ; Presbyteriaid Cymdeithasol, 4 ; Presbyteriaid Cymdeithasol Diwygedig, 3 ; Presbyteriaid Diwygedig, 5 ; Cristionogion Cyntefig, 2 ; Pabyddion, 25 ; Unifersalaidd , 4 ; Undodaidd, 2 ; Ail Ddyfodiaid, 2 ; Methodistiaid Wesleyaidd, 2 ; Cyfeillion, 3 ; Methodistiaid Protestanaidd, 1 ; Jerusalen Newydd, 1 ; Methodistiaid Affricanaidd, 4 ; ac amrywiaethau eraill, 21.

---

## ARWYDDION CYWIR.

PAN oeddwn yn ieuanc, byddwn yn arfer clywed llawer am arwyddion :—arwyddion yn y tân, yn y ganwyll, yn y llaw, y trwyn, ac mewn llawer o bethau a manau eraill rhy luosog i'w rhifo, a rhy wirion i'w cyhoeddi allan i'r byd Y syndod ydyw fod yr un eneth ieuanc gyda gronyn o synwyr yn rhoddi coel i'r fath arwyddion. Ond y mae genyf ymddiried yn yr arwyddion canlynol; a fy nghred ydyw y byddai merched yn well o sylwi arnynt.

Arwydd 1. Pan y gall merch ieuanc *chwerthin* ar *bechod*, y mae yn *arwydd* ei bod yn debyg o'i gyflawni.

2. Pan nas gall geneth ieuanc fod yn hapus, os na bydd llanciau yn myned ar ei hol, mae yn *arwydd* o ben gwan neu feddwl gwag.

3. Pan bydd morwyn yn myned ar ol lle gyda llawer o ribanau o gwmpas ei phen, *boa* am ei gwddf, ac *artificials* yn ei bonnet, y mae yn *arwydd* na chaiff hi y lle.

4. Nid yw llawer o ystumiau yn *arwydd* o foneddigeiddrwydd.

5. Pan nas gall morwyn gadw dirgeledigaethau y teulu y bu hi gydag ef ddiweddaf, y mae yn *arwydd* nad yw hi yn debyg i fod yn well wedi ymadael â'i lle presenol.

6. Pan nad yw gweinidog, wrth farnu am le, yn cymeryd sylw o'r breintiau crefyddol sydd ynddo, y mae yn *arwydd* ei bod yn gwerthfawrogi rhywbeth yn fwy na diogelwch ei henaid.

7. Pan y mae morwyn yn ddibris o'i *centiau*, y mae yn *arwydd* nad yw hi yn debyg i feddiannu doleri.—*Modryb Deborah.*

## DETHOLION.

Gweddi.—Un awr o neillduedd yn cael ei threulio mewn gweddi ddwys a difrifol, neu mewn ymdrech â, a chael buddugoliaeth ar un nwyd neu bechod yn y fynwes, a ddysg i ni fwy o feddwl, a ddeffroa y cynneddfau mewn modd mwy effeithiol, ac a'n dwg yn fwy i'r arferiad o ystyried, na blwyddyn o astudiaeth yn yr ysgolion hebddynt.—*Coleridge.*

Gweddio yn fynych.—Gweddia yn fynych, oblegid yr wyt yn pechu yn wastadol; edifarha yn fuan, rhag ofn y byddi farw yn sydyn. Yr hwn sydd yn edifarhau am bechod am fod arno eisiau nerth i'w gyflawni, nid yw yn edifarhau am dano nes bod wedi ei adael; yr hwn sydd eisiau gallu i gyflawni ei bechod, nid yw wedi gadael ei bechod, ond ei bechod wedi ei adael ef.—*Quarles.*

Cyflog pechod.—Y cyflog mae pechod yn addaw i'r pechadur yw, bywyd, pleser ac elw; ond y cyflog mae yn dalu iddo yw, marwolaeth, poen a dinystr. Y neb a fyn wybod twyll a ffalsedd pechod, rhaid iddynt gydmaru ei addewidion a'i daliadau a'u gilydd.—*Dr. South.*

**Pabyddiaeth a'r Beibl.**—Mae Eglwys Rufain wedi cadw y gyfrol ag sydd wedi ei bwriadu i'w dystrywio hi. Mae fel merch Pharaoh, wedi codi plentyn Duw, a'i feithrin fel yr eiddo ei hun, er dinystr i'w theyrnas ei hun.—*Carson.*

---

### YR ASYN ANFODDLAWN.

Yn ei gut yn nhrymder *gauaf*,
Cwyno'n dost wnai asyn llwyd—
"Genyf mae y lletty oeraf,
A rhyw wreiddiach sych yn fwyd:
O na ddeuai gwanwyn bellach!
Cysur fyddai hyny'n wir;
Mi gawn wed'yn hin dyneraoh,
A chegeidiau o laswellt ir."

Daeth y *gwanwyn* a'i gysuron,
Do, a'i lafur yr un wedd;
Cwyna'r asyn gan orchwylion
Ar y meusydd yn ddi hedd:—
"Gyrir fi yn awr yn erwin,
Ac esmwythder ddim ni chaf;
Cefais ddigon ar y gwanwyn;
O na ddeuai hyfryd haf!"

Daeth yr *haf*—a ydyw'r asyn
Wedi caffael dyddiau gwell?
Na, nid yw'n foddlonach ronyn;
Hawddfyd sydd oddiwrtho 'mhell:
Achwyn mae â'r nâd druanaf—
"Och y gwarth, ac och y gwres;
O na ddeuai y *cynauaf!*
Dyma dymhor llawn er lles."

Daeth yr *hydref*—ond siomedig
Ydyw'r asyn dan ei lwyth:
"Druan oedd fy nghefn blinedig;
Wedi'r haf rhaid cludo ei ffrwyth;
Cyrchu tanwydd erbyn gauaf,
Cario mawn a chario coed;
Och! yn nhymor y cynauaf,
Blinach ydwyf nag erioed."

Wedi troedio cylch y flwyddyn,
Mewn anghysur dwys o hyd,
"Gwelaf bellach (meddai yr asyn)
Nad mewn tymhor mae gwyn fyd;
Yn lle achwyn ar dymhorau,
Fel y maent cymeraf hwy;
Dyna fel y daw hi oreu;
Felly byddaf ddiddig mwy."

R. E.

## PREGETH FER.

MAT. xi. 28. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch."

YR oedd tuedd gymhelliadol yn ngweinidogaeth Iesu Grist. "Deuwch ataf fi." Mae yn parhaus alw, "Deuwch." Ato ef yn unig y mae i bechadur droi ei wyneb am ei fywyd. Galwai yr Iuddewon ato oddiwrth y gyfraith seremoniol a'u beichiau trymion, ac annogai hwy i droi ato oddiwrth y traddodiadau Iuddewig, pa rai a'u gwnant "yn flinderog ac yn llwythog." Dan eu beichiau y teithiai yr addolwyr i'r gwyliau, ac felly y dychwelent adr ef. Yr oedd Crist yn cyhoeddi iddynt gyfundrefn newydd, esmwyth, a hawdd ei dwyn. Mae ein testyn yn dysgu y pethau canlynol:—

I. Bod Crist, yn galw ar bechaduriaid colledig ato ef. "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog." Mae yn cymhell yn bresenol yn daer ar bawb sydd yn clywed yr efengyl i wynebu ato. Nid i'r eglwys yn unig ond ato ef fel Gwaredwr i ymorphwys arno am fywyd tragywyddol, yn unol â thystiolaethau yr efengyl.

II. Y rhai a elwir arnynt, "Pawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog." Mae llawer yn gwneyd eu hunain yn flinderog, ac yn llwythog, trwy y pethau canlynol:—

1. Awydd gormodol am gyfoeth.
2. Syched am anrhydedd.
3. Tori addunedau.
4. Halogi y Sabboth.
5. Mynwesu pechodau dirgel, &c.

Pan fydd llais croch y gydwybod yn rhuo, gwna y Gwaredwr grasol alw "Deuwch ataf fi." Dyma fan i droi am nodded rhag blinfyd yn nyffryn galar.

III. Yr annogaeth a ddefnyddir er mwyn ein perswadio i ddyfod ato, "Ac mi a esmwythaf arnoch." Nis gall neb arall wneyd hyn, ond ei hunan. Mae ef yn esmwythau cydwyb-

odau pechaduriaid euog trwy faddeu eu holl bechodau. Rhaid cael maddeuant, neu ddyoddef cosb dragywyddol am bechod mewn byd arall. Nis gellir cael esmwythdra i'r enaid yn un man ond yn yr aberth anfeidrol roddwyd ar y groes. Mae yn yr Iawn fodd i ddileu camwedd.

Dysgwn y pethau canlynol:—

1. Bod galwad yr efengyl yn derfynol. Fe fu miloedd yn ei gwrandaw yn eu cymhell at y Gwaredwr; ond ni chânt ei chlywed mwy. Fe'u daliwyd ar dir yr oedi gan angeu, ac fe'u gyrwyd ymaith i'r byd tragywyddol.

2. Mor werthfawr yw yr alwad, "Deuwch ataf fi." Llais gras y nef yw sain efengyl, ac mae yn hyfryd lais i'r holl saint. Tyred at Grist, fy nghyd bechadur, paid oedi dim yn hwy. Tyred, y mae efe yn dy alw di.

Y mae Iesu yn uchel alw,
"Deuwch ataf lwythog rai;"
Eich holl flinder a ddileir,
Cewch faddeuant o bob bai:
Ato brysiwch, &c.
Y mae'n galw arnoch oll.

*Ohio.* HEN ATHRAW.

---

## CYNGHORION A RHEOLAU

### I DDYN IEUANC AR EI FYNEDIAD ALLAN I'R BYD.

O WAITH DR. WATTS.

WEDI i ŵr ieuanc a elwid Curino ddyfod i oedran a gwybodaeth addas i ddechreu galwedigaeth yn y byd, ymofynodd â châr agos iddo a elwid Serenus, yr hwn oedd enwog mewn cymeriad a duwioldeb, am gyfarwyddiadau i ddwyn ei alwedigaeth yn mlaen er gogoniant i'w Greawdwr a llesâd iddo ei hun. Yr oedd gan Serenus gymaint o barch i'w gâr ieuanc fel y gosododd ei holl feddwl ar waith yn ei achos. Ac wedi iddo gyfarch Curino mewn dull tirion a theimladwy nes iddo dywallt dagrau, gosododd yn ei law bapyr yn

cynnwys y cynghorion goreu. Ymaflodd Curino yn ei alwedigaeth, a thrwy fendith y nef daeth yn feddianol ar etifeddiaeth ëang. Wedi einioes hir o lwyddiant, defnyddioldeb, a duwioldeb yn y byd, bu farw mewn tawelwch sanctaidd, dan ddylanwadau gobaith Cristionogol. Rhyfeddai rhai wrth ei lwyddiant a'i ddedwyddwch yn y byd, a hyny yn fwy oblegid ei haelioni a'i ddiniweidrwydd. Ond ar ol ei farwolaeth cafwyd yn ei ystafell y papur hwnw a roddwyd iddo gan ei gâr, a thybiwyd yn ganlynol i hwnw gynnyrchu rhan fawr o'i ddedwyddwch a'i lwyddiant. Ei gynnwysiad oedd fel y canlyn:—

I. Fy nghâr, tybiwyf dy fod yn dymuno bod yn ddedwydd yn y byd hwn a'r byd a ddaw. Ti a wyddost fod mil o anhawsderau i gyrhaedd hyn: dichon dy fod yn rhagweled rhai o honynt; ond y mae lluaws nas gellit byth feddwl am danynt. Gan hyny, nac ymddiried i'th ddeall dy hun yn nghylch pethau y byd hwn, lle y gellit gael cyfarwyddyd cyfaill doeth a ffyddlawn. Er dim nac anturia ymddiried achos pwysig dy enaid, a'th sefyllfa dragywyddol yn y byd a ddaw, i oleuni natur yn unig, nac i hyfforddiadau dy reswm dy hun, tra mae gair Duw a chyngor y nef yn dy law. Gwag ac anystyriol yn ddiau ydynt y beilchion hyny a ddewisant fod yn baganiaid yn nghanol gwlad efengyl, y rhai sydd yn byw ar grefydd natur yn unig, ac ar eu gwreiddyn eu hunain, a hwythau wedi eu dwyn i fyny yn nghanol holl ragorfreintiau Cristionogrwydd, a bendithion dwyfol ddatguddiad a gras.

II. Beth bynag fyddo dy amgylchiadau yn y byd hwn, gwerthfawroga dy Feibl fel dy drysor goreu; a pha beth bynag fyddo dy alwedigaeth yma, bydd gyda chrefydd fel dy alwedigaeth benaf. Mae dy Feibl yn cynnwys bywyd tragywyddol ynddo, yn nghyda holl gyfoeth y byd uchod; a chrefydd yw yr unig foddion i ddyfod yn feddiannydd arnynt.

III. I gyfarwyddo dy ddynesiad at Dduw, ymgynghora yn

benaf â Llyfr y Salmau; yr oedd Dafydd yn ŵr cywir a dysglaer mewn duwioldeb. Tuag at ymddwyn yn gywir yn mhlith dynion, gwna dy hun yn gydnabyddus â Llyfr y Diarebion: yr oedd Solomon yn ŵr helaeth mewn profiad a doethineb, Ac i'th berffeithio yn hyn, darllen yr Efengylwyr a'r Actau, a thi a gei ynddynt y rheolau a'r esiamplau, a'r rhai hyny y mwyaf cyfaddas i fywyd Cristionogol.

IV. Fel dyn dilyn ddirwest a sobrwydd, trwy ddoeth lywodraeth ar dy flysiau a'th nwydau; fel cymydog ennill a rhwyma bawb o'th amgylch i fod i ti yn gyfeillion, trwy dymher ac ymddygiad doeth a daionus; a chaffed y tlawd gyfran benodol o'th ennill blynyddol; fel masnachwr, cadw o'th flaen bob amser y rheol euraidd hono o eiddo ein Hiachawdwr—"Beth bynag a ewyllysiech wneuthur o ddynion i chwi, gwnewch chwithau iddynt hwy."

V. Yn mhob gorchwyl tymhorol, dechreu gyda Duw. Ymofyn ag ef yn mhob peth a berthyn i ti. Golyga ef fel ffynonell fawr dy holl fendithion, a'th holl obaith; fel dy gyfaill goreu a'th dragywyddol ran. Myfyria arno yn yr olwg hon gyda pharhaus adnewyddiad o'th ymddiried ynddo; ac ymrodda yn feunyddiol iddo, hyd oni theimlech dy fod yn e garu a'th holl galon, fel y gwasanaethech ef gyda hyfrydwch diffuant, ac fel nas gallech fyw un diwrnod yn y byd heb Dduw.

VI. Bydded gweddi yn bleser i ti, ac nid yn faich, yna nis gelli ei anghofio na'i esgeuluso. Os buost ti erioed yn byw mewn teulu gweddi, na fydded y bai arnat ti o beidio byw yn y cyfryw bob amser. Cofia fod y dydd, yr awr, neu y mynyd hwnw yn cael ei hollol gamdreulio a'i golli, pryd y bydd i unrhyw esgusodion tymhorol dy hudo i esgeuluso addoliad cyhoeddus yr eglwys, cyson ddyledswydda uyr ystafell, neu unrhyw wasanaeth rhwymedig i Dduw a duwioldeb. Gochel rhag i felldith ei ganlyn, ac nid bendith. Oni fuasai i Dduw gadw un dydd o saith iddo ei hun, ofnwyf y collasid crefydd

o'r byd, ac y mae pob dydd o'r wythnos yn agored i felldith pryd na byddo addoliad boreuol.

VII. Cofia fod yr anrhydedd sydd yn dyfod oddiwrth Dduw, cymeradwyaeth y nef o'th gydwybod dy hun, yn anfeidrol werthfawrocach na holl barch a chlod dynion. Na ryfyga anturio un cam allan o ffordd y nef, rhag ofn cael dy wawdio am rodio yn fanwl ynddi. Crefydd dlawd yw hono nas gall sefyll yn erbyn gwawd.

VIII. Cofia bob amser mai byd o wagedd yw yr hwn yr wyt yn byw ynddo; gwag a thywyllodrus ydyw ei weniaeth a'i addewidion: blin a gofidus ydyw lluaws o'i ddamweiniau: gan hyny, ymbaratoa i gyfarfod â siomedigaethau. Yn mhob terfysg allanol, mewn amynedd meddiana dy ysbryd, a bydded pob peth yn bwyllog a thawel oddifewn. Yn yr awyrgylch isod yn unig y mae y cymylau a'r tymhestloedd: mae y nefoedd uchod yn oleu a dysglaer. Preswylied dy galon a'th obaith dithau lawer yn y broydd tawel hyn. Rhodia megys dyeithr yma ar y ddaear, ond megys dinasydd y nef, os myni gadw dy ysbryd mewn tawelwch.

IX. Bydded ynot bob amser y fath deimlad o gyfnewidioldeb pob peth yn y bywyd hwn, ac hefyd o fywyd ei hun, fel nad esgeulusech unrhyw beth hyd y fory a allech yn gyfleus ei gyflawni heddyw. Mae dynion hwyrfrydig yn agored yn aml i ddyryswch a brys yn mhob peth a berthyn iddynt; yna pan ddaw yr amser y maent hwy yn anmharod. Bydded achos dy enaid, dy siop, dy fasnach, a'th grefydd, yn y fath drefn bob amser, hyd y byddo yn bosibl, fel na byddo dyfodiad dysymwth angeu yn un achlysur o derfysg dychrynllyd yn dy ysbryd, ac fel y gallech ochel y cyfyngder o edifeirwch chwerw yn awr marwolaeth. Bydd wych.

Dygwyddodd i Phronimus, un o fasnachwyr cyfrifol yr India Ddwyreiniol, ganfod copi o'r cynghorion uchod yn nghylch yr amser y caniataodd efe i'w fab ddechreu cyfranogi ag ef yn ei fasnach. Ysgrifenodd hwynt â'i law ei hun, ac anrhegodd

y gŵr ieuanc â hwynt, yn nghydag ammodau y gyfranogaeth. "Wr ieuanc," ebai efe, "dyma i ti bapyr mwy ei werth na'r ammodau hyn. Darllen ef drosodd bob mis, hyd oni ffurfier ef yn dy enaid a'th dymher. Rhodia wrth y rheolau hyn, yna gallaf ymddiried fy etifeddiaeth i'th law Gwna y cynghorion hyn, a thi a wnei dy hun a minau yn esmwyth a dedwydd."

## IAWN SYNIED YR YSGRYTHYR.

DYMA fater o fawr bwys ag sydd yn cael ei ystyried gan ond ychydig, sef iawn synied yr Ysgrythyr; rhai mewn un ffordd, ac eraill mewn gwahanol ffyrdd eraill. Clywir rhai yn dywedyd ei bod (sef yr Ysgrythyr) yn gwrthddywedyd ei hun; ond cofiwch, er ei bod yn anhawdd i chwi ei deall, mai eich tywyllwch eich hun yw yr achos, ac nid yr Ysgrythyr sydd heb fod yn gyson. Y sawl sydd yn cario meddwl caled fel hyn am air Duw sydd ag arwydd arno tebyg i fod yn ol, os na newidia ei farn.

Hefyd mae dosbarth arall cyffelyb, sef y sawl a ddarllenant ryw ranau o hono, ond yn esgeuluso rhanau eraill, am fod rhyw beth ynddo sydd yn eu hanfoddio hwy. Ond cofiwch chwithau, mai yr un a lefarodd y naill ran o hono fel y llall, ac mai nid wrth ryw ranau ag ydych chwi wedi ei ddewis o hono y byddwch yn gorfod sefyll o flaen eich Barnwr i gael eich barnu yn y dydd mawr sydd yn eich haros.

Mae eraill yn cyfnewid ambell i linell, er mwyn amcanu am ei synwyr. Ond Un hollwybodol sydd wedi ei lefaru, ac a fwriedi di ei wella?

Eraill a benderfynant yn rhy fyrbwyll, ac a'u cadarnhant ond er do'd a hwy i weled nad ydynt ar yr iawn, nis addefant am eu bod yn rhy hunanol. Ond byddwch yn ostyngedig er eich bod yn tybied eich hun yn wybodus. "Na wrthodwch berl o ben llyffant."

Mae eraill a dynant ambell i air neu linell er mwyn, meddant hwy, gael ei synwyr. "Ond o thyn neb ymaith ddim oddiwrth eiriau llyfr y brophwydoliaeth, Duw a dyn ymaith ei ran ef allan o lyfr y bywyd."

*Floyd.* Z. R. Evans.

---

## Y PAB.

Wel, blant, wedi sylwi ychydig ar dwyll y gau brophwyd efallai nad anfuddiol fyddai sylw ar y bwystfil Pabaidd a'i egwyddorion a'i greulonderau.

Esgob Rhufain, yn yr Eidal, ydyw. Ystyrir ef gan ei ddeiliaid yn ben goruchaf yr eglwys gyffredinol, canlyniedydd Pedr, a ffynonell gwirionedd duwinyddol ac anrhydedd eglwysig.

Y mae yn cadw ei lys mewn rhwysg mawr yn Mhalas Vatican, a deg a thriugain o gardinaliaid yn ei wyddfod, fel ei gyfrin-gynghorwyr, er dynwared deg dysgybl a thriugain ein Harglwydd.

Amddifadwyd y Pab o lawer o ddegymau, &c., gan Buonaparte, yn amser y Chwyldroad Frengig. Ond adferwyd urdd y Jesuitiaid a'r Chwilys gan Pius VII., fel y mae ei fri a'i gyfoeth yn fawr eto.

Mae egwyddorion y grefydd Babaidd yn gymysgfa lygredig a melldigedig; eto mae miloedd yn glynu wrthi a'u holl galon.

Prif egwyddorion y grefydd hon yw—

1. Fod Crist wedi sefydlu eglwys ar y ddaear, a'r cyfryw eglwys ydyw hono ag sydd yn dal cymundeb ag esgobaeth Rhufain. yr hon sydd yn un eglwys sanctaidd gyffredinol ac apostolaidd.

2. Ein bod o dan rwymau i fod yn ddeiliaid o'r eglwys hon. Ei bod yn anffaeledig (drwy arweiniad y Duw Hollalluog) yn ei barnau am ffydd.

3. Mai Sant Pedr, trwy Ddwyfol osodiad, ydoedd pen yr

eglwys o dan Grist, ei sylfaenydd; ac mai y Pab, neu Esgob Rhufain, fel dilynydd Pedr, a fu o'r blaen, ac sydd eto, trwy hawl awdurdodedig a Dwyfol, yn ben yr eglwys hono,

4. Fod yr Hen Destament a'r Newydd, fel y'u gosodir ger eu bron yn yr eglwys hon, yn air Duw; a'i thraddodiadau mor ysbrydoledig ag yw y Beibl, am eu bod wedi eu cadw mewn dilyniad gan yr eglwys gatholig o oes i oes.

5. Fod anrhydedd ac addurniant yn deilwng i angelion a saint Duw: eu bod yn danfon eu gweddiau at Dduw drosom, eu bod yn dra manteisiol i ni gael rhan yn eu heiriolaeth, a bod gweddillion marwol gweision arbenig Duw yn gysegredig, ac felly yn teilyngu parch.

6. Na faddeuwyd, ac na faddeuir byth unrhyw bechod ond trwy drugaredd Duw trwy Iesu Grist; ac am hyny fod cyfiawnhad pechadur yn orchwyl Dwyfol ras.

7. Fod y gweithredoedd da a gyflawnom yn derbyn eu holl rinwedd oddiwrth Dduw; a'u bod trwy y cyfryw weithredoedd nid yn unig yn cyflawni y gorchymyn Dwyfol, ond hefyd yn rhyglyddu bywyd tragywyddol.

8. Y gallwn, trwy weithredoedd a gyflawnwyd mewn ysbryd penydiol, wneyd iawn i Dduw am gosbedigaeth dymhorol sydd yn aml yn ddyledus i ni, ar ol i'n pechodau trwy ddaioni Dwyfol gael eu maddeu.

9. Fod Crist wedi gadael yn ei eglwys awdurdod i roddi maddeuant-lythyrau, sef rhyddhad (trwy allu yr agoriadau a ymddiriedwyd i'r eglwys), os bydd pechod yn yr egwyddor wedi ei faddeu.

10. Fod purdan, neu sefyllfa ganol, a bod eneidiau Cristionogion anmherffaith ag sydd yn cael eu cadw yno, yn cael eu cynnorthwyo gan weddiau ffyddloniaid.

11. Fod saith o sacramentau wedi eu sefydlu gan Grist (Pe nodwn hwy oll a'u cynnwys byddent yn faich i'r "Arweinydd.")

12. Fod y sacrament o Swper yr Arglwydd, yn yr elfenau o fara a gwin, yn wir gorff a gwaed, yn enaid a Duwdod ein

Harglwydd Iesu Grist, yn bersonol a sylweddol; a bod ymchweliad yn cael ei wneyd o'r bara i'w gorff, ac o'r gwin i'w waed ef, yr hyn a elwir yn draws-sylweddiad.

13. Fod Crist i'w dderbyn yn gyflawn a hollol drwy y naill neu y llall o'r elfenau.

14. Fod yn yr offeren aberth gwirioneddol a chymmodol yn cael ei offrymu dros y byw a'r meirw.

15. Mai yn y sacrament o benyd, trwy drugaredd Ddwyfol, y maddeuir y pechodau a gyflawnom wedi bedydd.

O! dryblith o egwyddorion a thraddodiadau sydd a'u dylanwad gorthrymus yn llusgo miloedd i bob trueni! Gochelwch y Bwystfil, blant anwyl.

Oni buasai fod ein "Arweinydd" yn fychan, a'i amser yn fyr, buaswn yn rhoddi i chwi fyr olwg ar y miloedd ar filoedd o ddynion y trochodd ei balfau bwysfilaidd yn eu gwaed. Cewch hyn y tro nesaf.

Os cymera yr "Arweinydd" ein sypyn, ei waith ef yw ei gario i blant, ac nid i'r bobl fawr ddysgedig nad oes ganddynt flas ar ddim ond maith draethodau mewn iaith ddolenog, uchel a chwmpasog. Ni fwriadwyd ef i hyny; a dylai ei ddarllenwyr a'i ohebwyr a'i olygwyr gofio hyn. Nid cymhwys gweled y dduwinyddiaeth a'r athrawiaeth uwchaf yn fwyd i blant. Tybiwyf ein bod yn ein traethodau gemawg am wahanol bethau yn uwch na'r werinos. Pe deglurem beth yw y pethau yr ydym yn traethu arnynt, byddai yn fwy o les.

*Rome.* T. W.

[*I'w barhau.*]

---

## TELWCH EICH DYLED.

1. OS mynwch gael eich cyfrif yn onest, *telwch eich dyled.*

2. Os na fynwch warthruddo y blaid grefyddol y perthynech iddi, *telwch eich dyled.*

3. Os ewyllysiwch gael y nwyddau goreu am y prisiau iselaf, nac oedwch i *dalu eich dyled.*

4. Os mynwch fyw yn gyfeillgar â'r rhai yr ydych yn masnachu â hwynt, *telwch eich dyled.*

5. Os na fynwch ddyrysu eraill, *telwch eich dyled.*

6. Os mynwch ochelyd camgymeriadau ac ymgyfreithio, *telwch eich dyled.*

7. Os mynwch wneyd i eraill fel yr ewyllysiwch i eraill wneyd i chwi, *telwch eich dyled.*

8. Os na fynwch gael eich gyfrif yn gelwyddog ac yn euog o wneyd esgusodion twyllodrus, *telwch eich dyled.*

9. Os mynwch dawelu meddwl â heddwch cydwybod, *telwch eich dyled.*

10. Os mynwch gael eich hystyried yn gyfiawn yn ngolwg Duw a dyn, *telwch eich dyled.*

11. Pa mor hen bynag allai eich dyledion fod, ïe, os ydych wedi cymeryd mantais yr "*Act,*" os oes genych foddion, nid ydych yn gyfiawn, os na *thelwch eich dyled.*

12. Bydded eich dull o fyw yn blaen, ac nid yn dreulgar: gochelwch wisgoedd costus; ymwrthodwch yn llwyr â diodydd meddwol; na threuliwch eich arian i gynnal *tea parties*, os mynwch *dalu eich dyled.*

I'ch galluogi chwi *i dalu*, cymerwch y cynghor canlynol o'r "Traethodydd:"—

"Gan hyny, anwyl ddyn, os gwerthfawr genyt dy barch a'th gysur, dy enw da fel dyn gonest, a'th gymeriad fel dyn crefyddol, na fydd yn nyled neb o ddim. Na thriged cyflog y gweithiwr gyda thi hyd y boreu. Ac i'r dyben o gyrhaedd hyn, na phryn ddim ar na fo eu heisiau arnat, pe ceit hwynt am hanner a dalont. Na âd ddim yn îs na'th sylw. Na âd tàn y fory yr hyn a ddylit ac a ellit ei wneyd heddyw. Na chais neb i wneuthur yr hyn a ellit ac a ddylit ei wneyd dy hun. Na fachnïa dros neb am bris yn y byd. Na ddos ychwaith i gyfraith â neb dros dy flingo yn fyw; yma y mae yr enillwr yn colledwr. Bydd gymydogol. Dod elusen. Bydd dosturiol. Bydd gymwynasgar. Gwasanaetha dy genedlaeth. Ac uwchlaw y cwbl gwasanaetha dy Dduw. Ymdrecha am ei adnabod; derbyn ei Fab; cred ac ymddiried ynddo; ymostwng iddo; cymer ei Ysbryd yn arweinydd, a'i air yn rheol dy ymarweddiad yn mhob peth. Gwna hyn oll mewn cariad, a dedwydd fyddi yn dy fywyd; byddi farw hefyd o farwolaeth yr uniawn, a bydd dy ddiwedd fel yr eiddo yntau."

## BACHGEN Y PAGAN A MAB Y GWEINIDOG.

YR oedd gan weinidog yr efengyl fab diofal ac anghrefyddol, yr hwn a adawodd ei gartref, a aeth ar fwrdd llong, ac a hwyliodd tua gwlad dramor. Yr oll a allasai ei rieni trallodedig wneuthur yn awr oedd gweddio drosto, ac anfon iddo gynghorion da mewn llythyrau ato. Y llestr yr oedd eu bachgen ynddo a gyrhaeddodd yn llwyddianus i borthladd pellenig "yn ngwlad y paganiaid;" a thra yno yn aros am lwyth ychwanegol, aeth y morwyr i'r lan, ac a ddygasant yn ol i'r llestr fachgen bychan brodorol, yr hwn oedd yn gallu chwareu yr hyn oedd i'r morwyr yn fath ddyeithr a digrif o beroriaeth. Y bachgen a'u difyrodd am hir amser; ond o'r diwedd efe a ddywedodd—

"Rhaid i chwi yn awr fy nwyn i'r lan yn ol."

Dywedai y morwyr nad oedd wiw iddo feddwl am fyned ymaith eto; fod yn rhaid iddò chwareu ychwaneg o'i beroriaeth iddynt.

"Na, yn wir," ebe y bachgen du, "nis gallaf aros yma ddim yn hwy, ac mi ddywedaf i chwi paham. Mae cenadwr caredig—dyn Iesu Grist—wedi dyfod yn agos i'r pentref lle yr wyf yn byw. Ganddo ef y dysgais y cwbl yr wyf yn ei wybod am Iesu Grist, yn yr hwn yr wyf yn dymuno credu. Ac yn bresenol y mae oddeutu yr awr y bydd efe yn cyfarfod â ni o dan gysgod coeden i ddywedyd ychwaneg wrthym; ac O! mae arnaf eisiau myned i'w glywed yn ddioedi."

Yr oedd yr apeliad cynhyrfiol hwn o eiddo y bachgen yn anorchfygol, fel nas gallasai y morwyr ond ar unwaith ei rwyfo i'r lan.

Aeth geiriau y bachgenyn du i galon mab difeddwl y gweinidog; ac nis gallasai mewn un modd eu hysgwyd ymaith. "Dyma fi;" meddai wrtho ei hun, "mab i weinidog yr efengyl yn Lloegr, yn gwybod llawer mwy am Iesu Grist na'r bachgen truan hwn, ac eto yn meddwl a gofalu llawer llai am dano! Mae y pagan bychan yn awr yn gwrandaw yn awyddus ar air y bywyd, tra yr wyf fi, a fagwyd yn nghanol breintiau crefyddol, yn hollol ddiofal am fater fy enaid!" Mewn cyfyngder meddwl annhraethadwy yr aeth efe y noson hono i'w wely crôg; yr oedd cwsg yn mhell oddiwrtho; ac yno uwchben y dyfnfor, daeth hen addysgiadau a rhybuddion ei dad duwiol adref yn fyw i'w feddyliau. Dwysach yr

aeth ei argyhoeddiadau, ac ni chafodd dawelwch nes rhoddi ei hun i'r Hwn a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid; ac o hyny allan yr oedd ei fywyd newydd yn brawf ei fod wedi cael calon newydd.

Mawr, fel y gellid dysgwyl, oedd y llawenydd yn nhŷ ei dad pan y derbyniwyd y newydd da am droedigaeth y mab afradlon.—*O'r Drysorfa.*

---

## HANESYN DIFYRUS.

YN y ganrif ddiweddaf, yr oedd yn trigo yn ninas Bath, ellynwr (*barber*), o'r enw William Reed, yr hwn (fel y mae llawer yn ein dyddiau ni, ysywaeth) oedd yn dilyn ei alwedigaeth ar ddydd yr Arglwydd. Un boreu Sabboth, pan oedd yn myned i'w orchwyl, efe a aeth i mewn i dŷ addoliad, ac yn y fan yr oedd y gweinidog yn darllen ei destyn—"Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth," &c. Gwrandawodd nes i'w gydwybod ei gyhuddo ei fod yn tori y gorchymyn sanctaidd hwn yn wastadol. Aeth ymaith cyn diwedd yr oedfa yn anesmwyth iawn, ac â chalon drom efe a gyflawnodd ei orchwylion Sabbothol. Ar ol hir ymboeni yn nhyflawniad o'r pechod, cymerodd gaion o'r diwedd, ac a aeth i ymgynghori â'r gweinidog a glywsai efe yn pregethu ar y geiriau; yr hwn a'i cynghorodd i roi i fyny ei alwedigaeth ar y Sabboth. Atebodd yntau, pe gwnai efe hyny y byddai diwedd ar y fywioliaeth gysurus yr oedd efe yn ei fwynhau y pryd hyny. Ond ar ol treulio llawer noswaith yn wylo ac yn gweddio, ëangwyd ar ei feddyliau, nes y penderfynodd fwrw ei faich ar yr Arglwydd, gan ymddiried iddo am yr amser i ddyfod. O hyny allan nid aeth mwy i'w waith ar y Sabboth, ond elai yn gyson hwyr a boreu i dŷ yr Arglwydd. Eithr yn ol ei ofnau, felly y daeth iddo. Ymadawodd ei *gwsmeriaid* goreu oddiwrtho, gan ei lysenwi yn Fethodist. O'r diwedd aeth mor dlawd, nes gorfod rhoi ei *shop* i fyny, a'i newid am *seler* dan yr hen farchnadfa.

Un prydnawn Sadwrn, rhwng hwyr a goleu, disgynodd gwr dyeithr oddiar y cerbyd cyffredin, a gofynodd am ellynwr, cyfarwyddwyd ef i'r seler gyferbyn. Gan fod yr amser yn brin, erfyniodd ar yr ellynwr i frysio, canys, ebe efe, "*Ni ddymunwn mewn un modd dori y Sabboth.*" Yr oedd hyn

yn taro teimlad y *barber* tlawd, nes tori i wylo. Gofynodd y *barber* i'r gwr boneddig am fenthyg dimai i brynu canwyll. Ar ol darfod, dywedodd y gwr dyeithr,

"Rhaid fod rhywbeth hynod iawn yn eich hanes chwi, yr hyn nid oes genyf amser yn awr i wrando arno. Dyma i chwi hanner coron; ar fy nychweliad mi a ymwelaf â chwi. Beth yw eich henw?"

"William Reed," ebe y *barber* synedig.

"William Reed!" ebe y dyeithr; "William Reed! meddyliwn oddiwrth eich tafod eich bod o'r ardal a'r ardal?"

"Ydwyf syr; o Kingston, yn agos i Taunton."

"William Reed, o Kingston, yn agos i Taunton! beth oedd enw eich tad?"

"Thomas."

"Oedd ganddo frawd?"

"Oedd, syr, galwyd fi ar ei enw; efe a aeth i'r India, a chan na chlywsom erioed oddiwrtho, meddyliasom ei fod ef wedi marw."

"Deuwch gyda mi," ebe y gwr dyeithr, "yr wyf fi yn awr yn myned at un sydd yn galw ei hun yn William Reed, o Kingston, yn agos i Taunton, deuwch ger ei fron ef, fel y gwybyddaf pa un yw y cywir. Ac os profwch, er boddlonrwydd i mi, mai chwychwi yw yr hwn yr wyf yn ei geisio, mae genyf newydd hynod o gysurus i chwi; mae eich ewythr wedi marw, a gadael i chwi ei holl gyfoeth."

Aethant yn ddioed gyda'r cerbyd; a phrofasant y gwr arall yn dwyllwr.

Gosododd y gwr deithr (yr hwn oedd gyfreithiwr duwiol) y *barber* tlawd mewn meddiant o gyfoeth lawer. Bu William Reed byw wedi hyn lawer o flynyddoedd, yn wr hynod o haelionus i achos Duw a'i bobl, ac yn ddi-achos galar i'r eglwys, na thramgwydd i'r byd.—*O'r Geiniogwerth.*

*Bridgewater.* *Cyfl.* *gan* UN O BLANT YR YSGOL SUL.

---

## RHAG-GYFEILLACH MEWN TY ADDOLIAD.

YN gymaint ag mewn capel y dygwyddodd yr hyn a ganlyn, yr ydwyf yn ei gofnodi o herwydd ei gywreinrwydd, ac nid o herwydd fy mod yn cymeradwyo y fath ymddygiad mewn tŷ addoliad.

Yr oedd mab ieuanc unwaith, yr hwn a arferai fyned i'r un lle o addoliad a merch ieuanc, yr hon hefyd oedd yn eistedd heb fod yn mhell oddiwrtho. Yn gymaint a bod y ferch wedi ennill ei serch ef i raddau lled helaeth; ac o herwydd eu dyeithrwch y naill i'r llall, yr oedd y mab mewn gradd o bryder yn nghylch pa fodd y gwn'ai hyny yn hysbys i'r ferch; a thuag at ddwyn hyny oddiamgylch estynodd iddi y Beibl, yr hwn oedd ganddo yn agored ar ail Epistol cyffredinol Ioan, ac a wnaeth amnaid iddi ddarllen y 5ed adnod yn y bennod, yr hon sydd fel y canlyn—"Ac yr ydwyf yn atolwg i ti, arglwyddes, nid fel *un* yn ysgrifenu gorchymyn newydd i ti, eithr yr hwn oedd genym o'r dechreuad, garu o honom ein gilydd." A hithau, fel arwydd iddo yntau o'i chydsynied â'i gais, yn ddiymaros a estynodd yr un Beibl yn ol iddo, yn agored ar Ruth, ac a ddangosodd iddo yr 16eg adnod o'r bennod gyntaf, yr hon sydd fel hyn—"Nac erfyn arnaf fi ymado â thi, i gilio oddiar dy ol di: canys pa le bynag yr elych di, yr âf finau: ac yn mha le bynag y lletyech di, y lletyaf finau: dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di, fydd fy Nuw inau" A'r canlyniad fu, i'r moddion hyny eu dwyn mor hoff y naill o'r llall nes eu huno mewn glân briodas.

*Rome.* *Cyfl. gan* HEN LANC.

---

## ROSE FECHAN WEDI TROI YN ATHRAWES.

UN hwyr Sabboth eisteddai Rose fechan ar fainc isel wrth ochr ei thaid oedranus i ddarllen y Beibl iddo, pryd y daeth yr hen Mr. Grey i mewn, yr hwn oedd yn fynych yn arfer dyfod ar nos Sabbothau i ymgomio gyda'i gymydog.

Teimlai Rose yn ddrwg weled Mr. Grey yn dyfod. Yr oedd ei thaid yn bur hen, a gwyddai Rose na fyddai yr hen wr fyw yn hir, ac nid oedd yn Gristion. Yr oedd yr hen Mr. Grey yn sicr o siarad rhywbeth na wn'ai ddim lles i'w thaid. Soniai yn aml am ei amheuaeth o wirionedd y Beibl, a gwrthwynebiad i'r hyn a bregethai gweinidogion yr efengyl.

Can gynted ag y daeth i mewn, dechreuai son am y bregeth y boreu hwnw. "Yn awr," meddai, "os wyf fi i gael fy achub, oni *chaf?* ac nid yw o un dyben i mi wneyd dim; ac os wyf i fod yn golledig, mi a *fyddaf* golledig ac nid oes

dim allaf fi ei wneyd i achub fy hun. Gan hyny ni waeth heb geisio."

Ar ol iddo siarad fel hyn am amser, gwelai Rose fod ei thaid yn edrych yn gynhyrfus, heb ddim i'w ddyweyd, ac aeth yn union i eistedd wrth ochr Mr. Grey.

Anfynych y siaradai Rose yn mhresenoldeb rhai hŷn na hi; ond methai ddal i weled y ddau hen wr yn twyllo eu hunain â gau grediniaeth. Yna dywedai:—

"Mr. Grey, a ydych yn cofio eich bod yn sâl o'r Colera yr haf diweddaf?"

"Ydwyf, blentyn, nid anghofiaf y selni; os bu neb erioed yn agos i farw, bum i y pryd hwnw."

"Yr wyf yn cofio i chwi anfon am fy nain, a hi a arosodd gyda chwi trwy y nos; a phan ddaeth adref dywedai fel yr oeddech yn deisyf ar y meddygon wneyd rhywbeth i achub eich bywyd. O'r diwedd hi ddaeth adref, a dywedodd, 'Mae Duw wedi bendithio y moddion i Mr. Grey, mae yn gwellau.' Mr. Grey, i ba beth yr oeddech yn cymeryd meddyginiaeth?"

"Er mwyn gwella, bid siwr," atebai Mr. Grey.

"Ond yr oedd Duw wedi *trefnu* pa un a wnaech ai byw ai marw; pa les oedd *gwneyd* dim?"

"Wel, wel, gwelaf beth sydd genyt mewn golwg, Rose. Nid wyf yn amheu nad wyt yn iawn, blentyn."

"Mae fy athrawes wedi fy nysgu," meddai Rose, "nad yw Duw wedi gorchymyn y naill beth mwy na'r llall. Os trefnodd i ddyn fod yn gyfoethog, mae wedi trefnu iddo arfer y moddion i hyny; ac os yw wedi trefnu i'r claf wellau, mae wedi trefnu iddo arfer moddion i wellau; ac os yw wedi trefnu i ddyn gael ei achub, mae wedi trefnu iddo edifarhau am ei bechodau a chredu yn Nghrist, i fod yn gadwedig. A gwnaeth i ni ddysgu y wers hon, 'Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain trwy ofn a dychryn; canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef.'"

Dystawodd Mr. Grey. Cyn hir aeth adref yn ddoethach, a gobeithiwn yn well dyn, ar ol y genadwri a gafodd o enau Rose fechan.—*Child's Paper.*

---

AMSER.—Nid oes dim mor werthfawr ag amser, ac eto dim yn cael ei ddibrisio gymaint.—*Bernard.*

## DETHOLION.

**Byd arall.**—Edrychai ysgogyn ieuanc ar feudwy o... ranus yn myned heibio iddo yn droednoeth. "Fy n... ," meddai, "yr ydych mewn sefyllfa druenus os nad oes ... arall." "Gwir fab," atebai y meudwy, "ond beth fydd ... sefyllfa chwi os oes?"

**Gwneyd ai peidio gwneyd.**—Pan na fyddo gan ... reswm da dros wneyd rhywbeth, y mae ganddo un rh... da dros ei adael heb ei wneyd.—*Thomas Scott.*

**Rhodiad.**—Y mae y byd yn edrych ar bregethwyr ... o'r pwlpud, i wybod beth oeddent yn feddwl pan yn y ... pud.—*Cecil.*

---

### CALFARIA.

O destyn mawreddus llawenydd angelion,
Ar fynydd Calfaria caed bywyd i ddynion;
Pa dafod all dewi, pa galon na theimla,
Wrth gofio yr aberth fu ar glogwyn Calfaria
Y Mab mewn cyfammod â'i Dad a ymrwymodd;
I dalu ein dyled—ein hachos gymerodd,
Gadawodd ogoniant y nefoedd a phobpeth
Er mwyn rhoi ymwared i gaethion marwolaeth,
A neidiodd i'r ddaear, dibrisiodd bob cysur
A'i freichiau ar led i gofleidio pechadur.
Mae purdeb i'r aflan, i'r euog mae noddfa,
A bywyd i'r truan yn aberth Calfaria,
Cerubiaid, seraphiaid, a seintiau yn lluoedd:
Edrychynt yn syn dros ganllawiau y nefoedd
Gwel'd awdur y bydoedd yn marw rhwng lladron
Dan ddwylaw'r annuwiol, ddychryna'r angelion,
Y creigiau yn hollti gan boethed y frwydr,
Ond rhyfedd mor galed yw calon pechadur!
Cleddyf yr Arglwydd mewn llid wedi deffro
Ac uffern yn crynu, a'r ddaear yn siglo,
Yr haul yn tywyllu mor erch yr olygfa
Y dydd y bu'r frwydr ar fynydd Calfaria;
Y rhuddwaed yn ffrydio o ystlys yr Iesu,
Ac yntau mewn poenau arteithiol yn trengu;
O le ofnadwy! mae'r nefoedd mewn cyffro,
A dynion mor gelyd, mor gelyd a gwawdio:
Er dygned y poenau, dolefodd "Gorphenwyd!"
Adseiniai y nefoedd yn ol fe'm "Boddlonwyd!"
Dechreuwyd yr anthem, a byth ni ddarfydda
Y clod a'r gogoniant am aberth Calfaria.

C...

## GWASANAETHU YR ARGLWYDD YN IEUANC.

[Crynodeb o bregeth a draddodwyd gan y Parch. Thos. R. Jones, Ebensburg, Pa., yn Rome, nos Sabboth, Mehefin 27ain, 1858, ac a ysgrifenwyd wrth ei gwrando gan H. J. Hughes.]

1 Sam. iii. 1. "Ar bachgen Samuel a wasanaethodd yr Arglwydd ger bron Eli."

Y MAE y testyn yn son am fachgen, a bachgen mewn gwasanaeth. Ac y mae arnaf finau awydd eich cael chwithau oll, sef bechgyn a merched ieuainc y gymydogaeth hon i wasanaeth yr Arglwydd yn ieuainc. Mae rhywbeth hoff iawn yn y bachgen hwn, ac yn y gwasanaeth a ddewisodd.

Sylwn oddiwrth y testyn yn y dull canlynol—

I. Y BACHGEN—Samuel.

II. GWAITH Y BACHGEN—gwasanaethu yr Arglwydd.

III. MEISTR Y BACHGEN—yr Arglwydd.

IV. CYFLOG Y BACHGEN.

I. Y BACHGEN—Samuel. Sylwn yn

1. Ar ei enw—Samuel.

2. Dygiad y bachgen i fyny, yr hyn a wnaed gan ei fam. Cychwynwyd y bachgen hwn i fyny yn

(1.) Yn y ffordd sydd yn arwain i fyny. Rhyw ddwy ffordd sydd; sef un yn arwain i fyny, a'r llall i waered; ond 'fe gafodd y bachgen hwn ei gychwyn yn y ffordd sydd yn arwain i fyny.

(2.) I dangnefedd.

(3.) I ddefnyddioldeb.

(4.) I gysur presenol, a dedwyddwch tragywyddol.

3. Cyflwyniad y bachgen hwn trwy aberth i'r Arglwydd.

4. Yr oedd yn hunanymwadiad yn y fam yn ei hymddygiad tuag at y bachgen.

II. GWAITH Y BACHGEN—gwasanaethu yr Arglwydd. Un mewn gwasanaeth yn foreu oedd hwn. Efe a drodd allan y mae yn debyg pan yn dair oed. Nid oedd gan ddynion ddim iddo i'w wneyd; ond, yr oedd gan yr Arglwydd waith

iddo y pryd hyn. Fe gafodd le ger bron Eli i wasanaethu yr Arglwydd.

Os ydych yn foddlon, mi ddiolchaf i Dduw pob gras am dri pheth yn y fan yma: yn

1. Am le.
2. Am waith.
3. Am le a gwaith yn foreu.

1. Am le. Wel, efallai fod rhyw un yn barod i ofyn, pa le sydd genych i blant? Lle yn

(1.) Yn addewid Duw.
(2.) Yn nghyfammod Duw.
(3.) Yn nhŷ Dduw.
(4.) Yn nefoedd Duw.

2. Am waith. Ië, ond a oes gwaith i blant ar y ddaear? Gwaith, oes, y mae gwaith i blant.

(1.) I ddysgu adnabod Duw.
(2.) I ofni Duw.
(3.) I garu Duw.
(4.) I barchu Duw.
(5.) I addoli Duw.

3. Am le a gwaith yn foreu.

(1.) Ti gei waith pleserus.
(2.) Ti gei waith trwy y dydd.
(3.) Ti gei dâl yn ol dy waith.
(4.) Ti gei gwmpeini difyr yn y gwaith.

III. Meistr y bachgen—yr Arglwydd. Yn awr feehgyn a merched, dewiswch eich meistr.

1. Y mae yn un tyner iawn.
2. Y mae yn un cyfoethog iawn.
3. Y mae yn un gonest i gyflawni i holl addewidion.
4. Y mae yn un ffyddlon.
5. Y mae yn un trugarog iawn.

Yn bresenol, dywedwn ychydig am yr hen feistr: yn

1. Y mae yn un creulon.

2. Y mae yn un tlawd.

3. Y mae yn euog, dan gondemniad y gyfraith.

4. Y mae yn gelwyddog.

5. Y mae yn ddidrugaredd.

IV. Cyflog y bachgen.

1. Y mae yn rhoddi y cyflog mwyaf o neb. Cofiwch feibion a merched na chewch y cyflog oni weithiwch.

2. Y mae y talwr goreu o bawb. Yn wastad yn brydlon, ni fyn fod yn nyled neb o ddim; ond, cofiwch, ei fod yn talu yn ei amser ei hun.

Y mae y newydd goreu o gwbl ar ol eto, a dyna 'fe—y mae yn ymofyn am ychwaneg o weithwyr heddyw, y mae y cynhauaf yn fawr, a'r gweithwyr yn anaml; ac yr wyf fi wedi dyfod yma drosto i gyflogi gweithwyr newyddion. A fynwch chwi yr ernest fechgyn a genethod?

---

## DYLEDSWYDD AC YMARFERIAD.

CYN y gall unrhyw ddyn gyflawni ei ddyledswydd mewn modd teilwng, mae yn anhebgorol angenrheidiol iddo fod yn rhyddweithredydd, a thuag at fod yn gyfryw mae yn angenrheidiol bod yn feddianol ar ysbryd barn, fel y gallo trwy hyny fod yn alluog i gymeradwyo neu gondemnio unrhyw beth oddiar ei deilyngdod neu ei anheilyngdod; ac nid pinio a chaethiwo ein hunain wrth farn nac opiniwn neb arall; a'r rhai hyny fe allai heb well rheswm dros farnu felly, ychwaneg na'u bod wedi arfer eu clywed yn cael eu hystyried felly: ac felly y maent wedi myned mor bell i afael yr ymarferiad hono nes y maent mewn perygl o esgeuluso eu dyledswydd trwy beidio edrych ar unrhyw beth yn ol ei werth a'i deilyngdod priodol ei hun. Mae yn ddiameu pe byddai mwy o'r ysbryd canmoladwy hwn yn bodoli yn enwedig yn ein ieuenctyd; y byddai yn ganlynol i hyny, y byd yn myned

rhagddo yn fwy cyflym. Y mae yn ddyledswydd arnoch chwithau athrawon yr Ysgolion Sabbothol a blaenoriaid eglwysig, gefnogi y fath dueddiad i'r gradd y mae yn debyg o ateb dyben daionus; a byddwch yn barotach i gefnogi y fath ymddygiad yn lle diystyru y sawl a'i coledda, a'i gymhwyso at ryw gauddyben mwy anfad na'u gilydd, fel y mae yn dygwydd yn aml. Y mae eich dyledswydd yn wir bwysig, a gwyliwch rhag ei hesgeuluso.

Y mae dyn hefyd, pan yn ngafael ag unrhyw ymarferiad, mewn perygl o esgeuluso ei ddyledswydd, oblegid y mae ganddi y fath arglwyddiaeth arno, y mae fel ail natur iddo—y mae ganddi y fath ddylanwad mór gref arno, nes y bydd yn well gan yr hwn sydd dan ei llywodraeth esgeuluso ei ddyledswydd er ei fod yn ei gwybod nag ymadael a'r arferiad. Gan hyny, os ydym am fod yn anrhydedd i ni ein hunain ac i'n rhieni, bydded i ni fod yn wyliadwrus ar ein harferion. Gorchwyl lled hawdd ar lawer golygiad yw syrthio i ryw arferiad, bob yn ychydig ac ychydig efallai, a hyny yn ddigon difeddwl ar y cyntaf: ond y fan gyntaf y canfyddwn ein hunain ond odid, fydd wedi ein sicrhau yn ei gafael, a hyny mewn modd creulawn. Pa sawl un a allem alw i'n côf y fynyd hon ag sydd wedi dinystrio eu hunain trwy gellwair yn y fath fodd â themtasiynau?

Pa beth ond ein cynefindod â phethau natur drachefn a barai i ni edrych ar waith y Duw mawr yn y greadigaeth gyda'r fath ddibrisdod, fel pethau braidd islaw ein sylw, pryd y mae wedi ei gwisgo â'r fath harddwch a gogoniant, nes y mae hollalluowgrwydd a doethineb ei Chreawdwr i'w weled fel yn argraffedig ar bob gwrthddrych o'i mewn? Beth hefyd ond ein cynefindod a'r cyfryw bethau gogoneddus? Adwaenai ysgrifenydd hyn o linellau amryw, pa rai oeddent wedi cael eu geni a'u magu o fewn ychydig filldiroedd i'r lle hynod hwnw, sef y Wyddfa yn ngwlad ein genedigaeth, lle y mae cymaint o filoedd yn flynyddol o'r gwledydd cymyd-

ogaethol yn myned yno a hyny trwy draul nid bychan: pryd y byddai fel y nodwyd y rhai oedd wedi cael eu dwyn i fyny fel wrth ei godrau mewn cydmariaeth o herwydd eu cynefindod â hwy ddim yn ystyried myned i'w phen i gael golwg ar yr haul ar ei ymddangosiad cyntaf yn y boreu, pan fel yn ymgymeryd a gwaith y dydd (yr hyn sydd o ddyddordeb nid bychan), yn werth y drafferth, heb son am y draul. Gan hyny, na fydded i ni trwy ein cynefindod a'n hymarferiad âg unrhyw beth, ddibrisio ei deilyngdod a'i werth priodol, a thrwy hyny esgeuluso ein dyledswydd trwy beidio gwneuthur defnydd priodol o'r cyfryw beth.

Ond y perygl mwyaf i ni fel deiliaid gwlad *efengyl*, ydyw, esguluso ein dyledswydd yn ein cysylltiad â moddion grâs a breintiau yr efengyl, sef edrych arnynt o herwydd ein mynych ymarferiad a'n hymwneyd â hwy, fel pethau rhy gyffredin, a thrwy hyny eu hesgeuluso fel moddion ein hiachawdwriaeth a'n tragywyddol heddwch rhyngom a Duw. A ydym ni, ddeiliaid yn Ysgol Sabbothol, yn yr oes oleu hon, yn peidio bod yn euog o'r esgeulusdod echryslon a dialw yn ol hwn?

GWR IEUANC.

---

## CYNGHORION A FFRAETH-DDYWEDIADAU CATO.

Y CYFFREDIN bobl a dybiant fod Duw i'w heddychu âg aberthau o anifeiliaid a phethau corfforawl: ond gan mai Ysbryd yw Duw, hyny yw, meddwl, y mae yn beth cyson i gyffelyb gael ei foddhau â'i gyffelybrwydd. Gan hyny y mae i'w addòli yn benaf â phurdeb meddwl. Hefyd y cyffredinolrwydd o'r Cristionogion a addolant Dduw hyd yn nod yn y dyddiau hyn â rhyw seremoniau allanol corfforawl, pan mai gwasanaeth mwyaf cymeradwy yw duwioldeb y meddwl. Y cyfryw addolwyr y mae y Tad yn geisio, sef yr rhai a'i haddolant ef yn yr Ysbryd, am mai Ysbryd yw efe.

Nid oes duwiolfrydedd mwy cymeradwy gan Dduw nac efelychu ei fywyd; sef ei hirymaros, addfwynder, purdeb, &c., yr hyn bethau ydynt weithrediadau y meddwl.

Gan mai oriadur (fel y dywed Pliny) yw ein heinioes, dylem ofalu na chollom y rhan fwyaf o honi trwy gysgu; yn enwedig gan fod llawer o ddrygau y corff a'r meddwl yn deilliaw o ddiogi.

Y rhinwedd uchaf a phenaf ydyw llywodraethu y tafod na lefaro bethau yn annoeth. Canys ni lefara y Duw unig ddoeth ond yn anfynych, nac un amser ond yr hyn sydd eisiau pan y gwel ac y gwybydd bob peth. Gan hyny yr agosaf at Dduw yw yr hwn a ŵyr pa fodd i lywodraethu ei dafod mewn doethineb a synwyr.

Y neb a wrthddywedo ei hun, ac sydd yn annghyson âg ef ei hun, sydd annghyson âg eraill hefyd. Y neb sydd anwadal yn ei ffyrdd a'i amcan, sydd islaw i neb ymddyddan yn ei gylch.

Marwolion a nodant feiau ereill, ond ni welant yr eiddynt eu hunain; pan nad oes neb heb ei fai, os edrych yn fanwl ar ei fuchedd a'i ymarweddiad.

Buddiol weithiau yw bwrw ymaith y pethau anwylaf a feddwn os dygant ni i berygl. Megys taflu ein haur a'n pethau gwerthfawr i gadw ein bywyd, ac ymadael â'n pleserau i gadw ein hiechyd. Canys ni ddylid edrych ar bleser, ond ar fuddioldeb.

Gallwn ymddwyn yn wahanol yn ol natur ac amgylchiadau pethau. Weithiau dylem sefyll yn wrol, bryd arall rhaid i'n hamcan gael ei newid yn ol yr amserau.

Os â'r doeth yr ymresymi, nid rhaid i ti wrth lawer o ymadroddion; os â'r ffol, ni etyb i ti un dyben, am fod ffolineb bob amser yn llawn geiriau.

Nid digon yw cynghori cyfaill a fo yn cyfeiliorni, yn garedig; ond rhaid ei ddirgymhell yn bwysig, ac ymosod yn egnïol arno, fel y llwydder gydag ef hyd yn nod trwy haerllug-

rwydd, os bydd yr achos yn dwyn perthynas â'i enw da neu ei lwyddiant.

Ymddwyn at dy gyfeillion yn y fath fodd fel ag i gadw y caredigrwydd penaf i ti dy hun; gwna dda i eraill, ond nid i'th niweido dy hun.

Na thaena unrhyw chwedl ar led yn mysg y cyffredin bobl, canys mynych y dygwydd i chwedl ddychwelyd yn ol ar ben ei thraethwr. Os nad oes perygl mewn unrhyw chwedl, eto nid oes perygl mewn peidio â'i hadrodd; ond os bydd niwed ynddi, bydd niwed o'i thraethu.

Nac addaw unrhyw beth yn sicr, gan rhoddi hyder ar addewid un arall. Yr hyn sydd yn dy allu dy hun a elli ei gyflawni, ond nis gelli gyflawni addewid un arall. Y bobl barotaf i addaw a fethant yn fynych yn y cyflawniad.

Na farna dy hun wrth y clod a gei gan eraill, ond wrth dy gydwybod dy hun. Hola dy hun pa fath un ydwyt, ac os etyb dy gydwybod dy fod yn un hollol wahanol i'r hyn y mae eraill yn dy ystyried, dylit ei choelio, canys y mae hi yn dy adnabod yn well nâ neb arall.

Y mae hen bobl a welsant ac a glywsant lawer yn arfer adrodd geiriau a gweithredoedd ereill. Ond dylem ymddwyn yn ein hieuenctyd yn y fath fodd nid yn unig fel y derbyniom glod gan eraill, ond fel y bo i'r hyn sydd genym droi yn gysur i ni yn ein hen ddyddiau.

Pan gweli rai yn sibrwd yn ddystaw â'u gilydd, na thybia yn y fan eu bod yn siarad drwg am danat ti; canys y mae hyn yn arwydd am un sydd yn gwybod ei fod yn ddyn drwg.

*Cyf.* Dewi Glan Ogwen.

---

## "GWEDDIWCH YN DDIBAID."

YN ystod tywalltiad helaeth o'r Ysbryd yn Coleg ——, galwyd fy sylw at ddyn ieuanc hynod o annuwiol ei fuchedd. Gwir ei fod yn fab i rieni duwiol; ond eu gweddiau, yn hytrach na meddalhau ei galon, a ym-

ddangosai yn ei galedu. Yr oedd hwn yn un o'r tywalltiadau grymusaf o Ysbryd Duw a welais erioed. Yr oedd ffenestri y nefoedd wedi eu hagor mewn gwirionedd, a Duw yn tywallt y fath fendithion fel y gellid meddwl nad oedd lle i'w derbyn.

Yn nghanol y cwbl yr oedd un a'i galon fel adamant yn erbyn dylanwadau Ysbryd Duw, sef A. M——, yr hwn oedd fab i rieni duwiol. Yr oedd llawer o weddiau taerion wedi esgyn i fyny ar ei ran, ond ymddangosai nad oedd dim yn tycio. Po fwyaf a weddiai Cristionogion ar ei ran, caletaf yn y byd oedd ef yn myned. Synai y rhai mwyaf anystyriol wrth ei weled mor ryfygus yn galw ar Dduw mewn modd difrifol i *ddamnio* ei enaid yn hytrach na'i *achub*.

Cymaint oedd ei ryfyg a'i ddrygioni yn myned fel y byddai yn fynych, pan fyddai eraill o'r myfyrwyr gyda'u gilydd yn cydweddio, casglai yntau ychydig o'i gyfoedion drygionus i ystafell gerllaw, i *ddynwared cyfarfod gweddi*. Onid yw yn rhyfedd fod Duw heb ei daro yn ei anystyriaeth? Ond fel Paul, yr oedd yn llestr etholedig. Yr oedd gan Dduw, waith mawr iddo eto i'w gyflawni.

Pan yn nghanol un o'r cyfarfodydd hyn daeth saeth argyhoeddiad i'w galon galed, nes ei ddwyn i'r llawr wrth draed y groes i ofyn am drugaredd.

Mawr oedd y llawenydd yn mhlith y myfyrwyr, pan ddaeth y newydd hyfryd o enau i enau fod A. M——, wedi dyfod at Iesu, a syrthio wrth ei draed. Yr oedd yno lawer yn gollwng dagrau mewn llawenydd.

Daeth y newydd da yn fuan i glustiau y fam. Gorlenwai ei chalon gan lawenydd, a dagrau gorfoledd a redai yn gyflym dros ei gruddiau. Dywedai wrth gyfaill, "*Nid oeddwn un amser yn plygu fy nglin heb ofyn i Dduw ddychwelyd fy machgen cyndyn; ac yn awr mae fy ngweddiau wedi eu hateb. Diolch, diolch, diolch!* Yn awr gad i'th lawforwyn ymadael mewn tangnefedd. Mae fy mab yn Gristion."

Mae y bachgen cyndyn hwn yn awr yn weinidog ffyddlon dros Grist, ac wedi myned i gyhoeddi newyddion da yr iachawdwriaeth i'r trueiniaid hyny sydd yn wasgaredig ar hyd eithafoedd y tiriogaethau gorllewnol.

Dadau a mamau Cristionogol, brodyr a chwiorydd Cristionogol, *gweddiwch yn ddibaid* dros y rhai sydd yn anwyl genych. Cewch atebiad i'ch gweddiau.—*T. W. W.*

## TLODI EIN HARGLWYDD IESU GRIST.

TYB isel ac annheilwng rhai ydyw, fod ein Hiachawdwr yn byw ar elusenau tra y bu yma ar y ddaear. Buasai yn chwith gan yr hwn a gymerodd arno agwedd gwas, gymeryd arno arferiad cardotyn. Y mae gwasanaeth yn alwedigaeth gyfreithlon, ond cardota nid yw felly. Gallasai y Gŵr a roddodd fywyd i'r holl greaduriaid, gael ei gynnaliaeth oddiwrthynt, a hyny heb ei ofyn; a buasai yn fwy dewisol gan yr hwn a orchymynodd i'r pysgodyn ddwyn arian y dreth drosto ei hun a'i ddysgyblion, ac a fendithiodd ychydig o dorthau a physgod i borthi miloedd, godi cynaliaeth iddo ei hun yn hytrach nâ chardota. Yr oedd llawer o'i ddylynwyr cyfoethog, y rhai a iachwyd, ac a gawsant warodigaethau gwyrthiol, heblaw gwrando ar ei athrawiaeth nefolaidd, yn gweini iddo o'r pethau oedd ganddynt, Luc viii. 2, 3; ac ac nid o elusen, ond o ddyledswydd. Wrth anfon ei ddysgyblion allan, ddau a dau, i bregethu, dywedodd fod yn deilwng i'r gweithiwr ei wobr. Oni allwn feddwl fod y rheol hon yn perthynu iddo ef yn fwy nâ neb arall? Os nad oedd ef a'i deulu bychan yn cael eu cynaliaeth yn y dull hwn, pa gôd oedd yr hon a ddygai Judas, a pha fodd y gallasai fod yn lleidr yn ei swydd, os oedd y gôd yn wag? Diau y dywedasai yr hwn a ddywedodd, "Dedwydd yw rhoddi, yn hytrach na derbyn,"—roddi yn hytrach nâ derbyn, pan y gallasai wneuthur felly. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder," ac y mae yn ei rhanu fel y gwelo yn dda rhwng meibion dynion. O'm rhan fy hun, yr wyf yn foddlon i unrhyw ran a ddygwyddo i mi; ond fy ngweddi a fydd, nad elwyf at neb ond Duw i gardota.—*Hall.*

---

## I FEITHRIN TANGNEFEDD MEWN TEULU.

1. COFIWCH fod ein hewyllys yn agored i gael ei wrthwynebu bob dydd, gan hyny parotowch gogyfer a hyny.

2. Mae natur ddrwg gan bob un yn y tŷ, yn gystal a ni ein hunain, gan hyny ni ddylem ddysgwyl gormod.

3. Dysgwch beth yw gwahanol dymher a thueddiad pob person yn y teulu.

4. Edrychwch ar bob aelod yn y teulu fel un y dylai fod genych ofal am dano.

5. Llawenhewch pan ddygwyddo rhyw ddaioni i unrhyw aelod yn y teulu.

6. Pan fyddoch yn cael eich tueddu i roddi ateb sarug, "gorchfygwch ddrygioni trwy ddaioni."

7. Os, o herwydd afiechyd, poen, neu lesgedd, eich bod yn teimlo yn anfoddlon, cedwch wyliadwriaeth fanwl drosoch eich hunain.

8. Sylwch pan fyddo eraill yn dyoddef, a rhoddwch air o gydymdeimlad a charedigrwydd iddynt.

9. Edrychwch am ychydig gyfleusderau i foddhau, a symud y rhwystrau bychain oddiar y ffordd.

10. Cymerwch yr olwg obeithiol ar bob peth, hyd yn nod o'r tywydd a meithrinwch obaith.

11. Siaradwch yn fwynaidd wrth y gwasanaethyddion—canmolwch hwynt am bethau bychain pan alloch.

12. Yn mhob ychydig ddyfyrwch a ddygwydd, rhoddwch eich hunain yn olaf.

13. Ceisiwch roi yr "ateb arafaidd a ddetry lid."

14. Os cewch eich blino gan air neu weithred angharedig, gofynwch i chwi eich hunain, "Oni wnaethym inau yr un peth lawer gwaith a chael maddeuant?"

15. Peidiwch derchafu eich hunain wrth ymddyddan; ond rhoddwch eraill ar y blaen.

16. Byddwch dirion wrth yr ieuainc, gan ymddwyn tuag atynt gyda pharch,

17. Peidiwch rhoi barn fyrbwyll y naill ar y llall, ond priodoli egwyddor dda pryd y galloch i bawb.

## EDIFEIRWCH GWELY ANGEU.

YN hydref y flwyddyn 184–, cafodd y Parch. Mr. —— ei alw i ymweled, fel y tybid â dyn ieuanc ar ei wely angeu, yr hwn oedd wedi bod yn nodedig mewn anfoesoldeb, ac yn nghanol ei anghymedroldeb oedd wedi ei daflu o'i gerbyd a'i niweidio yn drwm. Pan yn sefyll megys ar fin y bedd, ymddangosai yr hyn aeth heibio o'i fywyd mewn modd na wnaeth erioed o'r blaen, pryd yr oedd y dyfodol yn ei lanw â dychryn ac arswyd. Danfonodd am y gweinidog, a buan

y dywedid am y claf, "Wele y mae yn gweddio." Ymweled ag ef gan amryw, a chynghorai bawb i edifarhau, pryd y dangosai ei fod yn teimlo yn ddwys a difrifol o herwydd ei fywyd gwamal ac annuwiol ei hun; a chwynai yn ddwys ei anallu i wneyd dim dros y Gwaredwr, yr hwn yr oedd wedi ei ddibrisio cyhyd.

Er syndod i bawb, y dyn ieuanc, ar ol nychu am rai wythnosau, a ddechreuodd wellau; a thrist yw dywedyd, fel yr oedd iechyd yn dychwelyd daeth y tueddiadau cyntefig i lywodraethu y galon; yr hen arferion llygredig a uchel alwant am yr'oll o'r dyn fel cynt, a buan y gwelid nad oedd dim o waith grâs wedi cymeryd lle yn ei galon. Trwy fod angeu yn ymddangos eto yn mhell, dechreuai ei arswyd gilio ymaith: a chan fod ei argyhoeddiadau wedi cyfodi oddi ar ofn, felly pan oedd yr achos yn cilio darfyddent oll. Yn ei ddigywilydd-dra nid oedd un pechod yn rhy erchyll ganddo i'w gyflawni; dangosodd ei fod yn ddeng waith yn fwy ufudd was i'r diafol yn awr nag erioed, ac y mae yn awr yn byw mewn hollol anystyriaeth a gwawdlyd o fuchedd dduwiol, ac ewyllysgar i lygru eraill.

Dymunem i'r rhai sydd yn oedi dychwelyd hyd ryw amser dyfodol, gymeryd eu perswadio i beidio troi heibio y peth angenrheidiol hyd y diwedd, rhag i'w hedifeirwch fod yn gau a thwyll; neu, ar ol cellwair âg Ysbryd Duw, iddynt gael eu gadael i gyflawni mesur eu hanwiredd, i gael eu caledu yn eu drygioni, ac felly i "fwyta o ffrwyth eu ffordd eu hunain, â'u llenwi a'u cynghorion eu hunain."—*A. Messenger.*

---

## ANFFYDDIAETH.

RHAID i mi addef fy mod yn rhyfeddu yn wyneb ardderchawgrwydd a mawredd yr Ysgrythyrau—fel y mae purdeb yr efengyl yn dylanwadu ar fy nghalon. Olrheinir gweithiau ein hathronwyr athrylithgar, hen a diweddar; mor wael, mor ddirmygus yr ymddangosant, wrth eu cydmaru â'r Ysgrythyrau! A ddichon fod y fath lyfr, sydd mor syml, ac eto mor aruchel, yn ddim ond dychymyg dynol? A ydyw yn ddichonadwy i'r fath berson sanctaidd a'r hwn y crynhoir ei hanes ynddynt, ei hunan fod yn ddim amgen na dyn? A allwn ni ganfod ynddo ryw debygrwydd i

benboethyn yn ceisio ffurfio plaid? Y fath addfwynder a phurdeb a arddengys ei agwedd! Y fath raslonrwydd serchiadol yn ei ymddyddanion! Y fath ddoethineb gorddwfn yn ei bregethau! Y fath bresenoldeb meddwl! Y fath gyfrwysder! Y fath gywirdeb yn ei atebion! Mor dawel yr ymddygai yn ei ddyoddefiadau! Pa le y mae y dyn, yr athronydd, yr hwn a allai fyw a marw mor ddilesg, ac mor ddirodres ag y gwnaeth hwn? Pan y darlunia Plato ei ddyn da dychymygol, yr hwn oedd wedi ei lwytho â phob gwaradwydd a chywilydd; er ei fod yn teilyngu gwobrau uchel rhinwedd, darlunia yn gymhwys gymeriad Iesu Grist. Y fath ragfarn, y fath ddallineb a raid fod i gydmaru mab Sophroniscus i fab Mair! Y fath anghyfartaledd anfesurol sydd rhyngddynt! Hawdd oedd i Socrates tra yn marw heb na phoen na gwaradwydd, gynal ei gymeriad i fyny hyd y diwedd; a phe na buasai i'w farwolaeth er mor esmwyth goroni ei fywyd, gallesid amheu a oedd Socrates gyda'i holl ddoethineb yn rhywbeth mwy na gwag dwyllwr. Efe meddir a ddyfeisiodd ddamcaniaeth moesau. Pa fodd bynag darfu i eraill o'i flaen ei rhoddi mewn gweithrediad; gan hyny ni wnaeth ef ond dywedyd yr hyn a wnaethant hwy, a dychwelyd eu hesiamplau hwy i orchymynion. Yr oedd Aristotle wedi bod yn gyfiawn cyn i Socrates egluro cyfiawnder. Yr oedd Sconidus wedi rhoddi ei fywyd i lawr dros ei wlad, cyn i Socrates ddadgan fod gwladgarwch yn rhinwedd. Yr oedd y Spartiaid wedi bod yn bobl sobr, cyn i Socrates ganmol sobrwydd. Cyn iddo ef gymaint ag egluro rhinwedd, yr oedd Groeg yn oludog mewn dynion rhinweddol; ond, pa le y gallasai Iesu ddysgu yn mysg ei gydymgeiswyr, y moesoldeb pur a goruchel hwnw, o'r hwn efe yn unig a roddodd i ni orchymyn ac esiampl hefyd?

Dangoswyd y ddoethineb arwaf yn mysg y penboethiaid mwyaf gorgrefyddol, ac a symledd y rhinweddau mwyaf arwraidd yr anrhydeddwyd y bobl waethaf ar y ddaear.

Marwolaeth Socrates tra yn athrawiaethu yn heddychol gyda'i gyfeillion a ymddengys y fwyaf boddhaol a ellid ddymuno; yr eiddo Iesu tra yn trengu yn nghanol poenau ingol, yn cael ei ddifrio, ei sarhau a'i gyhuddo gan genedl gyfiawn ydyw y fwyaf erchyll a ellir ofni. Socrates, yn wir, wrth dderbyn y cwpan gwenwyn, a fen-

dit hiai y dienyddwyr wylofus a weinyddent arno; ond Iesu yn nghanol poenau arteithiol a weddiai dros ei boenydwyr didrugaredd; ïe, os oedd yr eiddo Socrates yn fywyd a marwolaeth, yr oedd yr eiddo Iesu yn fywyd a marwolaeth Duw. A allwn ni dybied hanesyddiaeth efengylaidd yn ddim ond ffugddyfais yn unig, yn wir nid yw yn dwyn nodau y cyfryw; ac nid oes neb yn cymeryd arno amheu hanes Socrates, er nad yw y dystiolaeth geir am dano haner mor gywir, ac am Iesu Grist. Nid yw y fath dybiaeth mewn gwirionedd, ond yn unig yn newid yr anhawsder heb ei ragflaenu; canys mwy anhygoel yw fod nifer o bersonau wedi cyduno i ysgrifenu y fath hanes, na bod un yn unig wedi bod yn destyn yr hanes. Yr oedd yr awduron Iuddewig yn anheilwng o'r ymadroddion, ac yn estroniaid i'r moesoldeb a gynnwysir yn yr efengyl, yr arwyddion o wirionedd pa un sydd mor nodedig o anghydmarol.—*Rosseau.*

*Cambria.* *Cyf.* *gan* J. R JONES.

## DELHI A'I BRENIN.

BU Delhi yn ddinas ardderchog. Gorchuddiai gymaint o dir a Llundain, Wesminster, a Southwark; ac yr oedd yn enwog am bob peth a allai wneyd i fyny fawredd dwyreiniol. Fel hyn yr arosodd hyd ymosodiad Nadir Shah. Darfu i'r cyfoeth ydoedd yn ei thrysorfäu, a rhwysgfawredd ei boneddwyr gyrhyrfu trachwant y buddugoliaethwr hwnw. Aeth y Persiaid i'r India. Safai yr Hindwaid yn dawel yn rhy hir. Gorchfygwyd yr India, a gwnaed y brenin yn garcharor yn ei ddinas ei hun. Nid pell oddiwrth y palas y mae *mosque* o geryg cochion, a thair cromen euraidd ar ei phen. O'r lle hwn edrychai Nadir Shah ar y trigolion yn cael eu llofruddio, yr hyn a attaliwyd o'r diwedd drwy erfyniad y penaeth gorchfygedig.

Yn ol Abul Fazel, nid oes llai na saith o ddinasoedd wedi bod yn sefyll ar y tir ar ba un y saif Delhi yn bresenol. Cymerwyd ac anrheithiwyd hi gan Mahmoud Chiznee yn 1011; gan yr Affghaniaid yn 1193, a bu yn eisteddle wyth brenin cyntaf y llywodlin hono; yn 1398, gan Timour; yn 1525, gan Baber, yr hwn a sylfaenodd y llywodlin Fogulaidd. Lloegwyd hi mewn rhan gan Mahrattas yn 1736; ac yn mhen tair blynedd drachefn, cymerwyd ac ysbeiliwyd hi gan Nadir Shah.

Brenin presenol Delhi a osodwyd i fyny gan y gwrthryfelwyr, yn ddigon discremoni, ydyw Akbar Shah, yr hwn, er's llawer o flynyddoedd, sydd wedi bod yn derbyn blwydd-dal o tua £150,000. Diau y bydd ychydig o'i hanes ef a'i hynafiaid yn dderbyniol gan ein darllenwyr.

Yr ydoedd sylfaenydd y teulu o'r un enw ag ef, ond o gymeriad hollol wahanol. Efe ydoedd Solomon Delhi. Drwy ei athrylith y derchafwy d yr amerodraeth i bwynt uchaf enwogrwydd. Ymddangosai cyfoeth y teulu yn anhysbyddadwy; oblegid ar achlysur priodas, rhoddid i'r briodasferch filiwn mewn arian, gemau o werth haner miliwn, a £150,000 yn y flwyddyn o arian llogell. Aurungzebe, ŵyr i'r galluog Akbar, ydoedd frenin galluog arall, yr hwn a laddodd ei dri brawd, ac a draws feddianodd yr orsedd. Nassir-ud-din, yr hwn a adnabyddir yn well fel yr un a orchfygwyd gan Nadir Shah, ydoedd ddisgynydd uniongyrchol Aurungzebe. Rhwng y ddau hyn, teyrnasodd pedwar neu bump o freninoedd, y prif hynodrwydd a berthynai i ba rai oedd y dull rhyfedd y lladdai y naill y llall. Y cyntaf, Jehander Shah, ydoedd adyn a lywodraethid gan fenyw o'r enw Lalkur, ac a alwai ei hun, "*Y brenin a biau y byd.*" Lladdwyd ef gan ei nai, a llusgwyd ei gorff drwy heolydd Delhi. Yr oedd ei nai hefyd, Ferokhsiar, yn hoff o fenywod; ac yr ydoedd wedi llenwi ei buteinfa â merched harddaf y dwyrain. Ond un noswaith pan yn eu mysg, rhoddodd un o honynt ei braich am ei wddf, tra yr ymaflai y llall am ei ganol, a gorchymynai eraill iddo gau ei lygaid. Ufuddhaodd y brenin. Seriasant ei lygaid yn ddisymwth a didrugaredd â haiarn poeth. Dyoddefodd y truan y noswaith hono, meddant hwy, yr un arteithiau ag a weinyddwyd ar un o freninoedd Lloegr yn Berkeley Castle. Gwenwynwyd ei gefnder a'i ddilynydd; a dyoddefodd ei frawd hefyd, yr hwn a'i dylynodd, yr un dynged, o fewn ychydig o ddyddiau ar ôl ei esgyniad.

Bu farw tad brenin presenol Delhi yn *bensioner* i Gwmpeini yr India Ddwyreiniol. Dywedir yr ymddygid tuag ato yn dra dirmygus gan weision y Cwmpeini, a'i fod wedi marw o doriad calon. Treuliodd ei dad, Shah Alum, ei fywyd mewn ceisio dianc oddi ar ei elynion; ond daliwyd ef gan benaeth Rohillaidd, yr hwn a dynodd ei lygaid. Yr oedd hwn yn ŵyr i Nassir-ud-din, yr hwn a syrthiodd yn aberth i loddest Hindwaidd, a thrachwant Persiaidd. Fel hyn, er eu holl

gyfoeth—eu trysorfa wedi ei llenwi ag aur, eu gorsedd yn dysgleirio gan berlau a gemau, a'u llys yn arddangosiad o wychder anghydmarol, y mae breninoedd Delhi wedi bod yn dra anffortunus; ac y mae tynged yr olaf o'r llinell yn cyfateb i eiddo ei dadau. Ganwyd hwn tua'r flwyddyn 1777. Yr oedd ei dad y pryd hwn mewn caethiwed; ac yr oedd efe gyda'i daid pryd y tynwyd ei lygaid gan y Rohilliaid.

Ar farwolaeth ei dad, cymerodd y titl o ymerawdwr Delhi, yr hwn sydd i ddarfod gydag ef. Derbyniai flwydd-dal anferth gan Gwmpeini John. Cadwai ei elephantiaid, a llu o fenywod. Llanwai heolydd pendefigaidd Delhi â haid o ganlynwyr trystiog pan yr elai allan ar ei elephant. Y mae wedi bod yn dra hoff o dderbyn cwmpeini. Y mae bob amser yn dysgwyl i bob ymwelwr roddi rhodd iddo; a chan fod y dreth hon yn drom, y mae gweision y Cwmpeini wedi anghefnogi yr arferiad o alw gyda ei Fawrhydi. Cwynai oblegid y diystyrwch; a dywedai wrth ei ymwelwyr ei fod yn dysgwyl yn wastadol clywed fod y Cwmpeini yn bwriadu cymeryd ei balas, ei drysorau, ei warchodlu, ei elephantiaid, neu ei foneddigesau. Clywyd yr hen ŵr yn dyweyd, er yr holl niweid a dderbyniodd ei deulu oddi ar law y Saeson, ei fod yn cael ei wrthbwyso i raddau gan y cysuron a ddygasant i'r Indiaid. Y mae yn cysgu ar wely, yn ciniawa gyda llestri, ac yn eistedd mewn cadair Saesonig; ac â allan i saethu â gwn o Burmingham. Ond o holl foethau y Saeson, gwell ganddo ei *pale ale*, ac ystyrid ef y beirniad goreu arno, a'r yfwr helaethaf o hono yn Delhi.—*Cronicl.*

## DETHOLION.

Hunanlywodraeth.—A fyni i'th gnawd ufuddhau i'th ysbryd? os felly gad i'th gnawd ufuddhau i Dduw. Rhaid i ti gael dy lywodraethu fel y byddo i ti gael llywodraethu.—*Augustine.*

Rheol Dda.—Yr wyf yn penderfynu i beidio son am rinwdddau dyn yn ei wyneb, na'i waeleddau tu ol i'w gefn.—*Esgob Berkley.*

Tymherau.—Fel yr ydym yn galw ein iaith gyntaf yn fam iaith, felly gallwn yn gyfiawn alw ein tymherau cyntaf ein mam dymherau; ac efallai y byddai yn haws genym

anghofio yr iaith, nag ymadael yn gwbl â'r tymherau a ddysgasom yn ein mabandod.—*Law.*

CYFEILLGARWCH.—Gadewch i gyfeillgarwch ddringo yn araf i uchder; os rhuthra yno, gall redeg ei hunan yn fuan allan o wynt.—*Fuller.*

GWG A GWEN.—Mae yn fynych fwy o gariad mewn gŵg nag all fod mewn gwên. "Y neb wyf yn eu caru yr wyf yn eu ceryddu."

UFFERN.—Pa le mae uffern? gofynai oferddyn. Atebai Cristion mewn modd doeth, "Yn unrhyw le tu allan i'r nefoedd."

GWEDDI.—Yr hwn sydd yn fawr mewn gweddi a gyfoethoga mewn gras, ac a gaiff fwyaf o nefoedd ar y ddaear.

CYBYDD-DOD.—Cybydd-dod oedd rhan fawr o'r pechod cyntaf a gyflawnwyd yn ein byd ni. Gwelodd Efa, yna hi a chwenychodd ac a gymerodd. Cybydd-dod oedd pechod cyntaf yr oruchwyliaeth batriarchaidd, fel y gwelir yn Lot. Cybydd-dod Achan oedd pechod cyntaf yr Israeliaid yn Canaan. Cybydd-dod Ananias a Sapphira oedd y pechod cyntaf yr Eglwys Gristionogol. Cybydd-dod yn mherson Judas a fradychodd Fab Duw am ddeg-ar-hugain arian.—*Harris.*

---

## CYMERADWYAETH I'R "ARWEINYDD."

LLWYDDIANT a ddymunaf beunydd
I'r cyhoeddiad tlws "ARWEINYDD;"
A ffyddlon fyddo ei ohebwyr,
Ei dderbynwyr a'i olygydd.

Cawn ynddo bethau buddiol,
Tra dwys ac adeiladol,
I'n dysgu a'n hyfforddi'n ddoeth—
Mewn iaith y mae'n rhagorol.

Plant Cymry, dewch yn ëon
I bleidio hwn yn ffyddlon;
Rhydd ini gysur ar ein taith,
O waith y gwych lenorion.

*Charlestown.* IOAN AP DEWI.

## PREGETH FER.

SALM xxxvi. 7. "Mor werthfawr yw dy drugaredd, O Dduw! am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd."

MAE trugaredd yn brin yn aml ar y ddaear; ond mae yn helaeth gyda yr Arglwydd. "Dy drugaredd, Arglwydd, sydd hyd y nefoedd." Adn. 5.

Mor dda i feibion Adda,
Fod Duw yn trugarhau.

Oddiwrth y geiriau sylwn:

I. Yr hyn sydd gan Dduw, "Trugaredd."

1. Mae yn trugarhau trwy Crist, fel Cyfryngwr, ar sail yr Iawn.

2. Natur trugaredd Duw. (1.) Mae yn ysbrydol a naturiol. (2.) Mae yn fawr, ïe, anfeidrol fel efe ei hun. "Duw trugarog" yw efe. Diolch iddo am ei fawr drugaredd; hyny yw yr achos ein bod ar y ddaear, a'n gobaith i gael nefoedd i breswylio ynddi am dragywyddoldeb.

3. Mae trugaredd Duw, yn werthfawr. Nis gellir ei phrisio. Mae felly yn ngolwg pob pechadur argyhoeddedig. Mor werthfawr i'r afradlon oedd bod ei Dad yn un trugarog. Mae ei fod felly yn werthfawr i ninau; gallwn ddymuno cael ei faddeuant.

II. Bod meibion dynion yn ymddiried dan gysgod adenydd Duw, fel un trugarog. "Am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd."

1. Yr ymddiriediad. (1.) Meibion dynion, neu "feibion Adda," sydd yn ymddiried yn yr Arglwydd fel un trugarog. Er ei fod ef felly, nis gall yr angelion colledig ymddiried dim ynddo; nid oes ganddynt un gobaith am drugaredd. O mor ddiolchgar y dylem ni fod, am fod gobaith i ni gael ein cadw trwy Grist, i fywyd tragywyddol.

2. Gwna y saint ymddiried yn nhrugaredd Duw bob amser,

yn mhob amgylchiad. Mae siamplau yn profi hyn. Hab. iii. 17, 18.

3. Dan gysgod ei adenydd yr ymddiried meibion dynion. Dichon mai oddiwrth fod adenydd y cerubiaid yn estyn uwch yr arch, lle yr amlygid trugaredd Duw i'r euog, y llefarwyd ein testyn. 1 Bren. viii. 6, 7.

Gellir golygu ei ragluniaeth fawr fel adain yn cysgodi, dan yr hon yr ydym yn wastadol.

Hefyd ei iachawdwriaeth fawr, lle mae cysgod rhag digofaint deddf doredig. Dywedai Mab Duw, "Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir atat, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant ynghyd, megis y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech!" Mat. xxiii. 37. Pobl sydd yn gwrthod cysgod dan adenydd trugarog yr Arglwydd, yw y rhai sydd yn lladd cenadau Duw ar y ddaear, yn mhob lle, ac yn mhob oes. Gochelwn fod o'u nodweddiad.

ADDYSG YMARFEROL.

1. Gan fod Duw yn drugarog dylem wynebu ato mewn gweddi i ymbil am iddo drugarhau wrthym ninau a maddeu i ni ein dyledion, canys yr ydym ni yn maddeu i bawb. Dyma yw nodweddiad y gwir Gristion.

IVOR.

---

## AMSER A THRAGYWYDDOLDEB!

OCH! mor fyr-olwg ydyw dyn! Mor ddall yw ef i'r pwnc cyntaf o bwysigrwydd! Mor awyddus yw ei holl feddyliau, ei obeithiau, a'i ofnau, i gael eu gosod ar waith i ffurfio a dyfeisio cynlluniau megys am fwynhad tranoeth, neu y flwyddyn ddyfodol, neu am yr hanner can mlynedd nesaf! Nid yw o bwys pa un a gymerwn—y maent oll yn ymadroddion o'r unrhyw ystyr; y maent oll yn gyfartal fel mynydyn

amser gyda golwg ar dragywyddoldeb. Ond och! mor ynfyd ydyw fod y fath ofal am y corff, yr hwn sydd farwol; y byd, yr hwn sydd ddarfodedig o flaen ein llygaid; amser, yr hwn sydd yn barhaus yn diflanu, a ninau yn ystyried mor ychydig am y sefyllfa dragywyddol yn yr hon y byddwn *byw byth*, pan yr â y breuddwyd hwn heibio! Pan y cawn fodoli *ddeng mil* o flynyddoedd yn y byd arall, pa le y bydd ein holl ofalon, a'n hofnau, a'n mwynhad o hwn? Yn mha oleuni felly y gwnawn ni edrych ar y pethau sydd yn awr yn ein llawenhau gyda gorfoledd, neu yn ein llethu gyda gofid! Pa fath oferedd y gwnant hwy oll ymddangos! Ac yn awr maent yn ymddangos mewn cydmariaeth yn oferedd i'r meddwl, yr hwn a'u myfyria yn ddyladwy, ac a sylweddola dragywyddoldeb.

Tragywyddoldeb!—gair arswydus, wrth swn yr hwn y deffrown fel megys o'n cwsg! Tragywyddoldeb!—o flaen ei olygiad y gwna cynghorfa tywysoges, cydfwriadau o uchelgais, chwyldroad llywodraethau, a thynghedfen amherodraethau, encilio i ddyddymdra! Chwi eneidiau anfarwol, y rhai ydych yn darllen hyn, ar fater sydd o'r pwysigrwydd mwyaf, ystyriwch, yr ydwyf yn deisyf arnoch, y sefyllfa dragywyddol i'r hon yr ydych yn myned gyda'r cyflymdra mwyaf, gan gael eich cario gan ffrwd amser! Yr ydych yn gweled eich cydgreaduriaid o'ch cwmpas chwi yn marw; yr ydych yn cymeryd golygiad prysur ar y darluniadau symudol o'ch cwmpas—y cydgordiad a'r diwedd nid ydych yn eu gweled; yr ydych yn gofyn, Paham y gwnaed dyn yn ofer! paham y daeth ef i fod? ai yn unig i gael ei ddattod drachefn? Och! yr ydych yn cyfeiliorni; yr ydych yn gweled dyn yn myned allan trwy borth marwolaeth, ond nid ydych yn gweled pellder y wlad tu ol. Y mae holl lwythau prysur o ddynion pa rai y mae eu coffadwriaeth wedi diflanu er's llawer o amser yma; ond y mae y rhai hyn oll yn byw mewn sefyllfa arall, lle y mae eu dedwyddwch a'u trueni, eu gwrthddrychau a'u cyr-

aeddiadau, oll mewn graddoliaeth anfeidrol fwy na holl bethau darfodedig y byd hwn. A ydyw felly, yn sicr, fod eich dedwyddwch yn y sefyllfa hòno yn ymddibynu ar eich bywyd yn hon? Pwy a all felly ddywedyd, mewn ymadroddion digon pwysfawr, werth y bywyd presenol hwn? Deffro di, yr hwn wyt yn cysgu!—deffro di, yr hwn wyt yn breuddwydio am ddyddiau a blynyddoedd; deffro i fyfyrio ar oesoedd! Tydi yr hwn wyt yn edrych ar deulu, ar blaid, ar lwyth, arolyga gynulleidfa o fydoedd! Tydi yr hwn wyt wedi dy orlwytho gyda phoenau, a doluriau, a gwendidau y corff gwael hwn, edrych ar gorff ysbrydol, pur, a glân oddiwrth bob gwendid ac anmherffeithrwydd! Tydi yr hwn wyt yn claddu dy holl obeithiau yn y ddaear ar yr hon y mae dy droed yn sathru, gwel y fath sefyllfa o anfarwoldeb a gogoniant sydd yn weddill ar ol i'r ddaear hon gael ei llosgi i fyny, a'r elfenau gael eu toddi gan wir wres! Gad i'th holl obeithiau gydgyfarfod i gyrhaeddyd y dedwyddwch, yr hwn yn unig a ddechreua fodoli pan y bydd i'r holl gynlluniau o fawredd a gwynfydedigrwydd bydol gael eu dyddymu i beidio bodoli byth mwy.—*Cyf Elijah.*

---

## DYLEDSWYDD GWRANDAWYR YR EFENGYL I'W CHREDU.

EFENGYL yw newyddion da, neu genadwri dda. Mae yr e engyl yn newyddion da, am ei bod yn cyhoeddi fod gan Dduw drefn i waredu dyn truenus o'i golledig gyflwr. Mae yn yr efengyl bob cyflawnder sydd yn angenrheidiol ar y pechadur truenus er llanw ei holl ddiffygiadau. Yr hyn sydd yn an genrhe diol er dwyn dyn i werthfawrogi yr efengyl, yw ei ddwyn i weled ei drueni. Nid oes dim sydd mor werthfawr gan y claf, fyddo yn teimlo ei afiechyd, na chlywed am

feddyg fyddai yn abl i'w iachau, ac yn foddlon i gymeryd ei achos. Nid oes dim mor werthfawr gan y newynog, na chlywed am ddarpariaeth o basgedigion, a chroesaw i'w fath ymborthi arnynt, na dim a lawenhai y sychedig yn fwy na gweled y ffynon ddysglaer yn bwrw allan ei dyfroedd grisialaidd, a chlywed ei meddianydd yn gwaeddi, "O deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno." Ni fyddai dim mor werthfawr gan y tlawd a'r dyledog, na chlywed am fŵnglodd-iau o aur a pherlau, a'u perchenog yn gwaeddi ar y tlodion, "Prynwch genyf fi aur wedi ei buro drwy dân fel y'ch cyfoethoger."

Mae pob cyflawnder yn yr efengyl, sydd angehrheidiol er gwneuthur dyn yn ddedwydd am amser ac am byth; ac y mae yn ddyledswydd wreiddiol yn ol natur pethau ar bob dyn gredu a derbyn yr efengyl.

Sylfaen y ddyledswydd hon yw perthynas wreiddiol dyn â Duw fel ei Greawdwr. Pwysigrwydd y ddyledswydd hon yw bod gogoniant Duw wedi ei gysylltu ag achub pechaduriaid; ac y mae Duw yn eiddigeddus dros ei ogoniant, ac 'fe fydd yn sicr o gyfarfod a rhai a wrthodant ei Fab, gwrthddrych mawr yr efengyl, yn ei ddigofaint fel Duw y dial, a'i galon yn llawn eiddigedd am y sarhad a'r dirmyg a gafodd ei gariad mawr at lwch truenus y llawr. Bendithion cysylltiedig ag ufuddhau i'r ddyledswydd hon, yw mwynhad o holl gyflawnder trysorau grâs fel ag y maent wedi eu trysori yn Nghrist, en mawr yr eglwys. Nid oes tafod all draethu, na chalon ddychymygu, pa faint yw gwerth y bendithion sydd yn dyfod i ran y pechadur colledig trwy gredu yr efengyl—caiff fwynhau heddwch yn ei gydwybod, a thangnefedd yn ei fynwes, yn lle yr euogrwydd a ddygodd pechod i'w fynwes i'w gnoi yn annyoddefol, yr hwn pan gaffai ei lwyr ddeffroi, fyddai yn rhuo yn ofnadwy fel arthes wedi colli ei chenawon. Mae can' cymaint mewn addewid iddo yn y byd hwn, ac yn y byd ddaw fywyd tragywyddol—caiff eistedd ar ddeheulaw y

Barnwr yn y dydd mawr, a chaiff fod yn mhlith y dorf wynfydedig yr hon y dywed y Barnwr wrthynt, "Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi cyn seiliad y byd." Dywed ei Dduw wrtho "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Felly caiff fynedfa helaeth i fewn i dragywyddol hedd, a bydd rhyw ddadblygiadau newyddion o ryfeddodau yn cael eu dangos iddo yn barhaus. Ar ol iddo dreulio myrdd miliynau o genedlaethau i syllu ar ryfeddodau Duw a'i waith, ni bydd ond dechreu bod yn llawen, a dechreu "myned i mewn i lawenydd ei Arglwydd."

Dechreu canu "Iddo ef yr hwn a'n carodd ac a'n golchodd yn ei waed ei hun," &c.

Dylai gwrandawyr yr efengyl ei chredu oblegid y draul fawr ac yr aeth yr Anfeidrol Jehofa iddi er cael allan drefn cadw pechadur.

Rhoddodd Duw ei anwyl a'i Briod Fab ei hun. Rhoddodd Crist ei hunan i farw yn aberth ac iawn yn lle a thros bechaduriaid o ddynion colledig.

Dim llai na gwerthfawr waed. Crist gafodd ei dywallt er arbed bywyd pechadur oedd wedi haeddu ei ddamnio. (Nid â dim llai na'i briod waed ei hun y pwrcasodd Duw ei eglwys.) Bu raid i'r hwn oedd gyfoethog fyned yn dlawd mewn trefn i gyfoethogi tlodion y codwm mawr. Ac er dangos y draul yn fwy grymus nag y gall ein geiriau anghyfiaith ni ei gosod allan, rhoddwn eiriau Duw ei hunan i'w desgrifio. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel ac y rhoddodd efe ei unig anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Yr hwn yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes. Yr hwn ac efe yn ffurf Duw ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch a Duw; eithr efe a'i dibrisiodd ei hun gan gymeryd arno agwedd gwas. Gan fod yn ufudd hyd angeu, &c. Anchwiliadwy olud Crist sydd yn cael ei gynyg yn yr efengyl. Mawr amryw ddoethineb Duw, sydd wedi cael ei amlygu yn

iachawdwriaeth pechadur. Rhagorol fawredd nerth cadernid yr Hollalluog, sydd o blaid credu yn Nghrist. "Nid a phethau llygredig megys arian neu aur y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, ond â gwerthfawr waed Crist." Am hyny wrandawr yr efengyl dychryna rhag gwrthod y ddarpariaeth a gostiodd gymaint i Dduw.

M. J. M.

---

## Y PAB.

[*Parhad o du dalen* 198.]

WEL, blant, yn ol fy addewid wele i chwi ychydig o hanes y Bwystfil Pabaidd yn lladd wŷn a defaid Crist.

Yr oedd ar y Cyfandir yn y flwyddyn 1200 filoedd o Gristionogion da, a adwaenid wrth yr enwau Albigensiaid a Waldensiaid, pryd y cododd y Pab Innocent III. ryfel, a alwyd Rhyfel y Groes; ac yr oedd ei allu yn ddigon i ddyfetha pob crefyddwr oni chydsynient â Phabyddiaeth. Alltudiodd lawer iawn, a merthyrodd filoedd o'r bobl onest hyn. Methodd eraill a dal yr ystormydd a throisant at Babyddiaeth. Un hen wr cyfoethog o'r enw Pedr Mernus a drodd, a chymerasant ei diroedd; ei balasau a'i gestyll a ddrylliwyd, am eu bod yn lle addoliad gan yr Albigensiaid, a gorfu iddo ddwyn ei benyd mewn dull cywilyddus i'w adrodd, a thalu iddynt ei arian, a myned i Jerusalem am dair blynedd i weini i'r tlodion. Llwyddodd y Pab gyda Phillip Augustus, brenin Ffraingc, i'w dyfetha. Dinystriodd dri chant o dai boneddigion talaeth Picardy. Dyfethodd hefyd drefydd caerog, a llosgodd lawer o addolwyr ynddynt. Llosgwyd pymtheg ar hugain o fwrdeistiaid yn yr un tân. Llosgwyd deunaw yn Bingham. Llosgwyd cant yn nhwr Casas. Drylliwyd cannoedd yn ddarnau gan y rhai a alwent eu hunain yn filwyr y Groes, pa rai oeddent yn dri chan' mil o wyr gwaedlyd. Eto

gwnaed tân mawr a llosgwyd cant a thriugain. Yn nyffryn Jerisner llosgwyd pedwar ugain.

Yn y flwyddyn 1400. yn nyffryn Pragela, daeth byddin i ddyfetha y crefyddwyr hyn, a llwyddasant i ddianc i'r mynyddoedd; ac erbyn y boreu yr oedd pedwar ugain o'u babanod wedi trengu, a bu eu mamau feirw agos oll; a llawer eraill a fuont feirw y pryd hyn: a'u gelynion a ladratasant eu tai a'u meddianau, a chrogwyd hen wyr a hen wragedd wrth goedydd, sef y rhai oeddent yn analluog i ffoi! Yn nyffryn Leise y cafwyd pedwar cant o fabanod wedi eu mygu yn eu crydau gan deulu melldigedig y chwil-lys. Yn fyr, dyfethwyd mwy na thair mil o bobl yn y lleoedd hyn!!!

O blant anwyl, beth a dalwn i'r Arglwydd am ein rhyddid gwerthfawr? a pha faint a ddylem ddiolch am fod ei gadwyn wedi byrhau, i'r graddau y mae? Cenwch lawer ar Gwymp Babel, a gweddiwch lawer ar i Dduw yn ei ras drefnu ymwared buan i'r miloedd sydd yn ddeiliaid ffyddlawn dan ei iau orthrymus, yn myned rhagddynt yn eu tywyllwch, gan dwyllo, a chael eu twyllo.

Nid yw yr hyn a nodwyd ond ychydig mewn cydmariaeth i'r hyn a wnaed gan y Pabyddion. Gallem lenwi yr "Arweinydd" am fisoedd â hanes (gwir) am y creulonderau a wnaethant yn ngoleu haul. Ond beth yw hyny wrth a wnaethant yn eu chwil-lysoedd, eu abatau a'u daeargelloedd melldigedig, pa rai a ddadguddir oll pan ddwg Duw bob gweithred i farn, a phob peth dirgel i'r amlwg. Ofnwyf fod Cymry yn llithro i weled eu hudoliaethau, ac yn cael eu swyno gan eu caniadau. Gwyliwch, ieuenctyd anwyl.

*Rome.* T. W.

[*I'w barhau.*]

---

Nid oes neb yn cael eu derbyn yn rhydd ddinasyddion y Jerusalem nefol, ond y rhai a wasanaethasant eu hamser o sancteiddrwydd, rhai fwy, a rhai lai o flynyddoedd ar y ddaear.—*Esgob Hopkins.*

## YMGAIS OFER.

MI geisiaf wneuthur fy hun yn addas i gael fy achub. Ymgais ofer. Cystal y gelli droi y dwfr yn win, a gwneyd dy hun yn addas i iachawdwriaeth heb Iesu Grist. Yr wyt yn bechadurus wrth natur ac ymarferiad, ac ni theimli byth o honot dy hun un gwir ddymuniad am gael maddeuant. Ti elli deimlo rhyw râdd o arswyd pan y meddyliech am dy bechodau, eithr ni ddaethost erioed at yr Arglwydd Iesu Grist, trwy ffydd fel y byddit gadwedig yn y ffordd a drefnodd efe. Mae calon dyn yn ddrwg wrth natur. "Oblegid syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw: canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw; oblegid nis gall chwaith." Rhuf. viii. 7. Y mae yn hollol wrthwyneb i bob gwirionedd ar ba un y mae iachawdwriaeth pechadur yn ymddibynu trwy ofer geisio achub ei hun, ac ymorphwys ar dy ymdrechiadau. Yr wyt yn gwrthwynebu Iesu Grist, yr wyt yn esgeuluso cyngorion trugaredd, ac yn dibrisio yr unig ffordd a drefnodd Duw ei hun er iachawdwraeth pechadur. "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion. Pa faint mwy cosbedigaeth (debygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrod d Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras?" Heb. x. 28, 29.

Na orphwys ynte yn hwy ar dy ymdrechiadau dy hun. Os arosi hyd oni wnelech dy hun yn gymhwys i gael dy achub, ni elli ac nis gellir dy achub byth. Gwrando ar wahoddiad Duw, yr hwn sydd yn gwybod gwendid dyn. "O deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytêwch; ïe, deuwch prynwch win a llaeth, heb arian, ac heb werth." Esa. lv. 1.

Clywch eiriau anwyl y bendigedig Iesu. "Os chwychwi

gan hyny, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch plant chwi; pa faint mwy y rhydd *eich* Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofonent iddo?" Luc xi. 13.

"Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ioan iii. 16.

Y mae ein Prynwr yn dywedyd—"Hebof fi, ni ellwch chwi wneuthur dim." Ioan xv. 5.

Ni elli ddyfod at yr Arglwydd Iesu Grist a phwyso arnat dy hun. Rho i fyny, ynte, dy galon yn hollol iddo ef, ïe, dywed gyda Job, "Wele gwael ydwyf, pa beth a dalaf i ti." Job xl. 4.

Ni ddichon dyn gael eu gyfiawnhau trwy ei gyfiawnder ei hun. "Yr ydym ni gan hyny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb weithredoedd y ddeddf." Rhuf. iii. 28; a x. 9.

"Eithr yr ydym ni oll megys *peth* aflan, ac megys bratiau budron *yw* ein holl gyfiawnderau; ac megys deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megys gwŷnt a'n dug ni ymaith." Esa. lxiv. 6.

J. J. W.

---

## DARLITH FER I WYR IEUAINC.

CYMDEITHASWCH â chyfeillion o werth, neu ynte a neb. Na fyddwch byth yn segur. Dywedwch y gwir bob amser. Byddwch araf yn eich addewidion, a chyson yn eich cyflawniadau. Mynwch fyw heb redeg i ddyled. Cedwch eich cyfrinachau eich hunan, os bydd genych rai. Llwyrymwrthodwch a diodydd meddwol. Os dywed rhywun ddrwg am danoch, bydded eich bywyd y fath fel na choelio neb mo hono. Na phrysurwch i ymgyfoethogi; y pwyllog a'r cyson sydd myned ymlaen bellaf. Na ddywedwch ddrwg am neb, ac yn enwedig yn ei gefn. Cynnilwch pan yn ieuanc, fel y galloch wario pan yn hen. Na chwareuwch a theimladau y rhyw fenywaidd. Nac eled un diwrnod heibio heb i chwi

ddarllen rhyw gyfran o'r Beibl. Gwnewch eich cartref yn nhŷ yr Arglwydd. Rhoddwch eich hunain bob boreu a hwyr i Dduw yn Nghrist.—HEN EWYTHR.

## RHAID I MI EI GAEL.

PA fodd y gall dyn sydd yn gweithio yn galed wneyd heb gwrw? oedd y gofyniad a roddai saer unwaith at ei wraig pryd y dygwyddodd nad oedd y *pint Porter* ar y ford bryd ciniaw. "Na fyddwch anynad, fy anwylyd," ebe y wraig, "canys tra fyddo Willi bach yn sal, y mae arnaf angen am bob *cent* a allaf arbed, er mwyn ei gysuro ef."

"Na ddywed felly: canys gelli gynnilo rhyw ffordd arall: rhaid i mi ei gael, a mynaf gwrw."

"O! William, pa fodd y gellwch fod mor angharedig? yr ydwyf fi yn ymwadu a mi fy hun yn hollol er mwyn y bachgen claf. Gellwch chwithau, siwr, wneyd heb gwrw yn awr ac yn y man."

"Ni allaf wneuthur heb gwrw; dywedais hyny wrthyt drosodd a throsodd drachefn."

"Treiwch am ychydig. Galwodd y meddyg yma heddyw a dywedai nad oedd y bachgen bach ddim gwell. Treiwch am unwaith, canys yr ydych yn gweled fy mod i yn gallu gwneyd hebddo."

"Yr wyf yn dyweyd wrthyt fod yn rhaid i im ei gael; ac os nad wyt ti yn dewis myned i'w geisio, myfi a âf lle y caf ef."

"Ond ystyriwch," meddai y wraig, "yr ydych yn gwario chwe' cheiniog neu swllt bob nos yn y dafarn. Gwyddoch, fy anwylyd, y carwn wneyd pob peth yn fy ngallu er eich cysur, ond fod yn rhaid gofalu am y plentyn yma."

Y fynyd hono, plentyn bychan yr hwn oedd yn y cryd yn rhyw gongl i'r tŷ, a gymerwyd yn glaf gan bangfa ddirdynol, (*convulsion*). Y fam, gan roi gwaedd, a redodd ato, gan alw ar ei dad i lenwi twb â dwfr cynnes; a'r bach a ddodid ynddo.

Nid oedd un arogl bywyd am ryw enyd, cyffyrddodd hyn â chalon y tad, canys ni feddyliasai fod ei fachgen mor sâl; canys yr oedd ganddo y dyb fod y merched, gan amlaf, yn dueddol i osod y peth allan yn waeth nagydoedd mewn gwir-

ionedd; ond yn awr efe a blygodd ar ei liniau yn ochr y twb, gan rwbio gliniau y bachgen, a'i ddwrdio ei hunan dan gywilyddio yn achos ei drachwant.

Adferwyd y bachgen yn mhen ychydig, ac wedi ei ddodi eilwaith yn ei gryd, efe a gysgodd.

Yr oedd yr awr giniaw bron drosodd erbyn hyn; bwytaodd y tad ychydig, ac aeth at ei waith heb ddim cwrw. Parodd yr olygfa ar y plentyn claf iddo feddwl; cofiodd dynerwch a thymher hynaws ei wraig yn gwrandaw ar ei gwynion chwantus, gan amcanu at gyflawni ei ddymuniad.

Cyn bod y bachgen allan o berygl, gwelodd y tad y gallai aros gartref yn gydymaith i'w wraig yn y prydnawniau, yn lle myned i dafarndai. Yr arian hefyd y gallasid bod wedi eu gwario am gwrw fel arferol a ddefnyddid bellach i dalu i'r meddyg.

Cyn hir yr oedd y bachgen wedi hollol wellau, arferiad feddwol y tad wedi ei thori, a William yntau yn ei gael ei hunan, nid yn unig heb fod ddim yn waeth o'r cyfnewidiad, ond yn llawer gwell ei iechyd a'i amgylchiadau: ac ni flinir y wraig mwyach, trwy glywed ei gŵr yn dywedyd "Mi fynaf ei gael."—*O'r Geiniogwerth.*

*Cyfl. gan* HOFFWR YR "ARWEINYDD."

---

## ATEBIAD CYMHWYS.

BACHGENYN o forwr unwaith a ddychwelwyd at yr Arglwydd tra ar y môr. Dechreuodd ei gymdeithion annuwiol ei wawdio a phoeni ei feddwl yn mhob modd ag oedd ddichonadwy; ond yr oedd efe yn dal ei ffordd yn ddiysgog. O'r diwedd aeth rhai o swyddogion y llestr mor iselwael a dryg-ionus ag i geisio dymchwelyd ei ffydd. Arferai un o honynt anfon am y bachgen yn ystod yr unig gyfleusdra oedd ganddo i ddarllen a diwyllio ei feddwl, ac yna ei brofi â chwestiynau celyd. Un tro gofynodd iddo, "yn mha le y cafodd Cain ei wraig?" Atebiad y cristion ieuanc hwn, ydoedd—

"Syr, yr wyf yn anwybodus. Yr unig ateb a allaf roddi i chwi ydyw y gŵyr fy Nuw pa le y cafodd Cain ei wraig, ac na ofynais i mo'r cwestiwn hwn iddo pan y teimlais faich fy

mhechodau; yn unig mi a waeddais, 'O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur!'"

Nid oedd bosibl rhoddi ateb cymhwysach. Nid cwestiynau dibwys ac anmherthynasol sydd yn blino enaid argyhoeddedig am bechod. Mae y gwirioneddau mawrion am Dduw, pechod, y farn a fydd, iachawdwriaeth, a'r cyffelyb, yn argraffedig ar y meddwl a'r gydwybod, fel nad oes le ar y pryd i byncian dadleugar a chywrain. Nid oedd y morwr ieuanc y pryd hyn yn gwybod atebiad cyffredin a digonol yr esbonwyr i gwestiwn y swyddog; ond nid oedd ei anwybodaeth yn hyny yn un rhwystr i'w ffydd yn Nuw a'i wirionedd. Gwyddai y gallai ei Dduw ateb pob gwrthddadl; a'i bwnc mawr ef oedd sicrhau ffafr y Duw hwnw i'w enaid.

Gallai pobl sydd henach mewn dyddiau, ac wedi eu breintio â mwy o fanteision na'r bachgenyn hwn, gael gwers dda oddiwrtho ef.

---

## Y DYN CYFOETHOCAF.

ADRODDAI brodor o'r Alban yr hanesyn canlynol. Dywed ai gyda theimladau drylliedig, a'r dagrau yn treiglo i lawr ei ruddiau, oblegid teimlai fod y cymhwysiad yn rhybudd dwys iddo ei hun.

"Y dyn cyfoethocaf," meddai, "yn fy mhlwyf genedigol a gafodd freuddwyd arswydus. Cafodd weledigaeth tebyg i hono a gafodd Eliphaz y Temaniad. Job iv. 12—17. Yr oedd drychiolaeth o flaen ei lygaid, yr oedd dystawrwydd, a chlywai lais yn dywedyd, Y fory, cyn machlud haul, bydd y dyn cyfoethocaf yn y plwyf wedi marw. Y breuddwydiwr, yn credu mai efe ei hun oedd hwnw, a wyliai gydag arswyd ac ofn hyd amser machlud haul y dydd apwyntiedig. O'r diwedd disgynai yr huan islaw y terfyngylch, a dechreuai y gloch gnulio. 'Nid myfi ydyw,' meddai. 'Pwy all fod? Yr wyf yn sicr mai y *cyfoethocaf* yn y plwyf.' Cafodd ei wared o'r amheuaeth yn fuan. Cardotyn oedd wedi marw, y *tlotaf* yn y plwyf."

Y mae dau ddosbarth o ddynion cyfoethog. Yr hwn a gafodd ei arswydo gan y breuddwyd oedd y dyn cyfoethocaf "yn y byd hwn;" ond arall oedd gyfoethocach nag ef mewn modd

ysbrydol. Ynddo ef y sylweddolwyd y breuddwyd. Yr oedd un yn feddianol ar fwy o'r eiddo darfodedig nag un o'i gydblwyfolion, ond yr oedd wedi "casglu trysor iddo ei hun, ac heb fod yn gyfoethog tuag at Dduw." Yr oedd y llall yn gyfoethog mewn ffydd, ac yn cael ei gyfrif y duwiolaf yn y plwyf. Dysgybl ymddibynol, tebyg i Lazarus, ond "etifedd i Dduw, a chyd etifedd a Christ i etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, diddiflanedig, yn nghadw yn y nefoedd."

Os ydych yn pentyru golud, a'u defnyddio yn unig er mwyn hunanddyrchafiad, daw breuddwyd y dyn cyfoethog atoch yn fuan mewn gwirionedd. Ni ddygasoch ddim gyda chwi i'r byd, a sicr yw na ddygwch ddim allan ychwaith. Pan fyddoch yn gadael y cyfoeth amserol, neu iddynt gymeryd adenydd, ac ehedeg ymaith, oni fyddwch yn dlawd mewn gwirionedd heb fod genych etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd? "Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, na byddont uchel feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w mwynhau: ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu; yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragywyddol." 1 Tim, vi. 17—19.—*American Messenger.*

---

## POLYCARP.

PAN ydoedd Polycarp, hen Esgob yn Eglwys Smyrna, gwedi ei ddwyn ger bron y frawdle, y rhaglaw a ofynodd iddo ai efe oedd Polycarp; atebodd yntau mai ïe. Yna y rhaglaw a ddechreuodd ei gynghori, gan ddywedyd, "Tosturia wrth dy oedran mawr; twng i enw Cesar; edifarha; dywed, Cymerwch ymaith y didduwiaid," gan feddwl y Cristionogion. Polycarp, gan edrych yn ddifrifol ar y lluaws, a derchafu ei law tuag atynt, a chyfodi ei olwg i'r nef, a dywedai, "Cymerer ymaith y didduwiaid hyn," gan feddwl yr eilun-addolwyr o'i amgylch. Y rhaglaw yn parhau i'w annog, gan ddywedyd, "Twng, a mi a'th ryddhaf di; cabla Grist;" Polycarp a ddywedai, "Pedwar ugain a chwech o flynyddoedd y bum i yn ei wasanaeth ef, ac ni wnaeth gam â mi erioed: a pha fodd y gallaf gablu fy Mrenin yr hwn am hachubodd i?"

"Mae genyf fi fwystfilod gwylltion," ebai y rhaglaw, "a mi a'th fwriaf iddynt hwy, onid edifarhai di." "Galw am danynt" ebai y merthyr. "Myfi a ddofaf dy ysbryd â thân," ebai y Rhufeiniad. "Yr wyt yn'fy mygwth i â thân a lysg am unig am fynydyn, a thi dy hun heb wybod am dân cosbedigaeth dragywyddol sydd yn nghadw i'r annuwiol." Yn fuan gwedi, pan oeddent yn myned i'w ddienyddio, efe a lefai, "O Dad dy anwyl a'th fendigedig Fab, Iesu Grist! Duw yr holl dywysogaethau a'r holl greadigaeth! yr wyf yn dy fendithio am i ti fy nghyfrif yn deilwng o'r dydd hwn, ac o'r awr hon, i dderbyn fy nghyfran yn nifer y merthyron yn nghwpan Crist. Yr wyf yn dy folianu am yr holl bethau hyn. Yr wyf yn dy fendithio, yr wyf yn dy fawrygu, trwy yr Archoffeiriad tragywyddol, Iesu Grist dy anwyl Fab; trwy yr hwn, a chyd â'r hwn, yn yr Ysbryd Glan, y byddo gogoniant i ti yr awrhon ac yn dragywydd, Amen!" Ddarllenydd, a wnaethpwyd tydi yn gyfranog o'r gyffelyb werthfawr ffydd?

---

## DETHOLION.

Gwyrthiau Crist.—Pan oedd Crist ar y ddaear, efe a iachaodd lawer o gleifion, yn enwedig rhai â'r gwahanglwyf arnynt, ond ni lyfnhaodd efe erioed yr un gwyneb crych, ac ni wnaeth efe yr un hen yn ieuanc drachefn; ond yn y nefoedd gwna bob un o'r ddau.—*Fuller.*

Y Gymun-rodd oreu.—Ychydig flynyddau yn ol gwnaeth boneddwr yn ei ewyllys ddiweddaf adael tri ugain mil o ddoleri i bob un o'i blant. O fewn pum' mlynedd yr oedd un o honynt wedi treulio y cwbl nes bod mewn eisiau, pryd y dywedai wrth gyfaill, yr hwn oedd yn estyn ychydig gynnorthwyo iddo, "Pe na buasai i fy nhad adael i mi gymaint a phum' dolar, ond fy ngwneyd yn ddyn o *fusnes*, buasai yn llawer gwell arnaf.

Ewyllys da.—Po leiaf allwn ni roddi, mwyaf yn y byd a ddylem faddeu: ond O, dyma y gwaethaf o'r cwbl; nid yw rhoddi yn myned gymaint yn erbyn ein cybydd-dod, ag y mae maddeu yn myned yn erbyn ein balchder, a'n huchelgais.—*Fuller.*

Fordd y Bywyd.—Os ydyw y ffordd i'r nefoedd yn gul,

nid yw yn hir; ac os yw y porth yn gyfyng, mae yn agor i fywyd tragywyddol.—*Beveridge.*

ANWYBODAETH.—Cyhyd ag y byddi anwybodus, na fydded cywilydd genyt fod yn dysgu. Yr hwn sydd mor ffol nes bod yn rhy wylaidd i gydnabod ei ddiffyg ei hun o wybodaeth, a fydd mewn amser yn ddigon hyf i gyfiawnhau ei anwybodaeth ei hun. Anwybodaeth yw y mwyaf o'r holl wendidau, a phan yn cael ei gyfiawnhau, yw y penaf o bob ffolineb.—*Quarles.*

---

### CADNABYDDIAETH I J. H. WILLIAMS, NEW YORK,

*Am ein hanrhegu gydag "Ardeb" ei chwaer Elizabeth, merch Robert H. Williams, a'i briod, yn ddiweddar o New York, Mills, yr hon a hunodd o'r "Darfodedigaeth" yn Beaver Dam, swydd Dodge, Wis., Rhag.* 12, 1855, *yn ei* 23 *ml. o'i hoed.*

EICH llâd sydd gymeradwy;
Pa rodd ryngai fodd yn fwy?
O'r blwch hardd tra balch 'ym
A'i gynwys sy'n hoff genym
Sef llun, wna eilun i ni;
(Ni ddylem ei addoli.)
Bun fach, nid oes harddach hon—
Glysed yw'r llygaid gleision!
Prawf tebygolrwydd y pryd,
Foddau cywrain celfyddyd.
Ni all fy llaw deimlaw dim,
Gweddus ei alw'n goddim.
Nid all ein byd wneyd llun bach,
A garem yn rhagorach:
Ond diau bydd droiau'i drin,
Er galar i'r wraig Elin,
A chair gan ein Mair a mi
Achos i fynych ochi.
I'r chwaer fach, tra chwerw a fu,
Achosion ei phesychu.
Tybiai gynt, ond d'od atom,
O'r dref gyda'i hawyr drom,
Achosai hin gwlad iechyd,
A'r prawf a ro'es lawer pryd.
Rhodio dail ar hyd y dydd,
Ca'mol wnai Floyd a'r cymydd.

Teimlo'n iach–ow! afiach oedd,
Gwegi fu rhodio'n gwigoedd!
Un dwthwn yn odiaethol,
A'r llall, gam arall ar ol.
Ei chlwy' ni chiliai o'i nôd,
A'i hen arfau'n anorfod:
Lladd fynai er a wnai neb,
Er a'i wên ar ei wyneb!
Ys torai rym plasterion,
Rhag gwrtheb anhwyldeb hon,
Troi'r dail er ei hadfail hi;
Curo'r *Apothecari!*
Pwy'n drech! o iechyd pan drodd
I nychu, ni rwgnachodd;
Siarad wnai hi'n gysurus,
Ail y Gwr* o goleg Us. *Job.
Ei rhyddhad fu'n deimlad da.
*Ffarwel* ro'es i gyffyria:
Canu'n iach i afiach oes,
A chanu am iach einioes:
Daeth gwyl o an-hwyl i hon;
Ysgyfaint diwasgfeuon,
A'r enaid uwch yr anial—
Hi sydd, fel nad â mwy'n sal.
Rhaid na chawn yr anrhydedd,
Byth, byth, o weled ei bedd.

*Floyd.* AB MORYDD.

## BUDDIOLDEB YR IAU I BOBL IEUAINC.

### PIGION O BREGETH Y PARCH. JOHN ELIAS.

"Da yw i wr ddwyn yr iau yn ei ieuenctyd."

DUW a ŵyr pa beth sydd dda i ddynion. Da yw dwyn yr iau yn ieuanc, oblegid ni bydd edifar gan neb yn ei henaint, neu yn ngwely angeu ddarfod iddo ddwyn iau Crist yn ieuanc. Ni bydd neb yn cwyno wrth farw, ddarfod iddo roddi ei wddf o dan yr iau yn rhy ieuanc, ni bydd neb yn dywedyd, digon yw yr amser a aeth heibio i wasanaethu Crist; ond, byddant yn barod i waeddi O na buaswn dan iau Crist yn gynt! Pe buaswn yn cael rhoddi fy ngwddf dani ar y bronau, beth fuasai fy einioes fer oll i fyw dan iau yr hwn a'm carodd â chariad tragywyddol, ac wedi cymeryd fy natur, a roes ei holl ddyddiau i weithio iachawdwriaeth, ac a roddodd ei fywyd sanctaidd i lawr yn fy lle? Y mae yn gywilydd genyf feddwl i mi dreulio diwrnod o fy oes i neb arall. Heblaw hyny y mae ei iau yn esmwyth.

O! ieuenctyd, ~~ieuenctyd~~, gwell fuasai bod dan iau Crist er ys talm, nag ymgaledu mewn pechodau atgas ~~fel yr ydych~~. Ond y mae Crist yn galw eto, "Cymerwch fy iau arnoch." Da fyddai ei chymeryd, ieuenctyd, rhag i Wr y tŷ ddigio, a thyngu yn ei lid na rydd ef mo'i iau esmwyth arnoch byth; ond â iau haiarn, y rhwyma ef iau eich pechodau arnoch â'i ddwylaw ei hun.

~~O! ieuenctyd~~, nid oes braint dan y nef gyffelyb i gael dyfod dan iau Crist yn ieuanc! O, llefwch am gael eich gwaredu ar frys oddiwrth iau orthrymus diafol, a phechod a'ch dwyn yn mlodau eich dyddiau dan iau esmwyth Crist; rhoes ef flodau ei ddyddiau i weithio iachawdwriaeth i ni, ie, rhoes ei gorff yn lled ieuanc yn aberth drosom ar y groes; O, ieuenctyd, rhoddwch eich cyrff ieuainc, a'ch eneidiau, tra y byddo eich cynneddfau yn fwyaf hwylus, i fyny iddo ef, i gael eich hachub, a'ch dysgu, a'ch llywodraethu ganddo.

O! ieuenctyd, gochelwch i'r haf ddarfod, a'r cynhauaf fyned heibio, a chwithau heb fod yn gadwedig. Bydd llawer yn "ochain wedi i'w cnawd a'u cyrff gurio, gan ddywedyd, Pa fodd y caseais i addysg, ac y dirmygodd fy nghalon gerydd!"

*Cyfl. gan* UN O BLANT YSGOL SUL ROME.

---

## DILYNWAD MOESOL.

MAE dyn wedi ei gynysgaeddu â galluoedd moesol, ac felly wedi ei gyfaddasu i fod yn oruchwylydd moesol yn y byd presenol. Anmhosibl gan hyny i ddyn adael y byd hwn o ran ei gyflwr yr un a phe na buasai ef heb fod ynddo.

Pa un bynag a wnelo dyn ai sefyll yn ei unfan ai ynte teithio i'r man y myno, hyd yn nod ped ewyllysiai, nis gall fyw iddo ei hun. Mae hyn iddo ef yn beth mor anmhosibl ag ydyw i'r haul beidio goleuo, a rhoddi ei wres. Ni fynwn er dim roddi lle i neb dybio fy mod yn ystyried dyn fel math o beiriant yn y byd a orfodid gan Ddwyfol allu i ddilynwadu ar nodweddiad a diwedd dynion eraill yn y fath fodd ag i esgusodi ei hun yn gwbl oddiwrth fai na moliant. Na. Ceisiaf ymresymu yn awr ar yr egwyddor fod dyn yn fôd bywiol a gweithredol—fod ganddo lygaid i weled—clust i glywed—tafod i lefaru, a'i fod hefyd yn llefaru—fod ganddo ddwylaw i weithio—a chanddo galon i deimlo, a'i fod ar bob moment yn cynysgaeddu eraill ag esiamplau—dynwarediad, ac hefyd fod yntau ei hun yn ei gylch yn dynwared eraill; gyda'r olwg yma gan hyny ar gyfansoddiad a nodweddiad dyn, dywedaf eto, fod dilynwad moesol iddo, yn angenrheidrwydd.

Mae nodwedd y dylanwad a argreffir gan ddyn ar y byd wedi ei adael i'w ddewisiad ei hun. Da a drwg wedi ei osod o'i flaen. Gadewir iddo ef ddewis pa un a wna ai llesau neu niweidio—bendithio neu felldithio, cynyrchu mwy o dywyll-

wch neu ynte oleuni, mewn gair pa un ai gwell ai gwaeth a fydd y byd o'i fod ef wedi byw ynddo.

Ond nid ydyw Duw wedi gadael ei ddewisiad i ddyn pa un a adawa ef argraff neu beidio ar y byd, pan yr elo o hono. Argraff barhaol ar ei agwedd foesol, ac yn ei galon, megys lefain, a fedd ddilynwad nerthol ar lesiant neu aflesiant y teulu dynol. O na, mae hyn yn anmhosibl.

Mae nerth ag ëangder cylch ein dylanwad moesol yn ymddibynu i raddau helaeth ar amgylchiadau. Dylid cymeryd dan ystyriaeth, ein galluoedd dysg—dawn a'n hyfder—ein sefyllfaoedd—ynghyda â nifer y rhai y cymdeithaswn â hwy—o'r uchelwr hyd yr iselaf—o'r swyddog anrhydeddus hyd yr adyn mwyaf gwasaidd yn y tir, o'r brenin ar ei orsedd, hyd y deiliad ufuddaf—y rhiaint ymhlith eu plant, yr athraw yn mysg ei ddysgyblion, y pregethwr efengylaidd yn ei areithfa, y llys-faurwr ar y fainc, a'r dadleuwr yn y prawfle, maent oll megis cynifer o ganolbwyntiau dilynwad moesol, ac oll yn effeithio yn ei gylch ar ansawdd dynoliaeth. Er hyny nid ydynt oll yn meddu yr unrhyw ddilynwad, nag i'r un graddau. Gall yr hwn sydd yn meddu deall cryf wneyd mwy na'r hwn sydd lai ei amgyffredion. Mwy o dda os bydd y deall hyny wedi ei sancteiddio—mwy o ddrwg os dan lywodraeth pechod. Gall y dyn sydd yn meddu llawer o gyfoeth y byd hwn, wneuthur llawer mwy o les, na'r dyn tlawd. Mwy tuag at wneuthur dyn yn gyfoethog mewn grasusau ysbrydol, a gwellau ei gyflwr tymhorol; neu ynte o'r tu arall, fwy tuag at ei ddarostwng a dinystrio ei hun ac eraill. Mae yr hwn, fel fy hun y waith hon, a ysgydwa yr ysgrifen-bin, a thrwy gyfrwng yr argraff-wasg, a gynysgaedda eraill â gwersi darlleniad, yn meddu llawer mwy o ddilynwad na'r hwn a lefara â'i wefusau wrth y dorf luosocaf.

Mae cylch neu ëangder cyraeddaedwy dilynwad dyn, cyfoethog neu dlawd, rhydd neu rwym, uchel neu isel, yn bwnc tra phwysig, a diameu genyf nad allwn ei amgyffred yn bri-

odol hyd ddydd mawr datguddiad Duw. Ddarllenydd yr wyt ti, pwy bynag ydwyt, a pha beth bynag yw dy sefyllfa, yr wyt ti, bob awr o'th oes, yn cyffwrdd ag edafedd gwefriol, megys, a wefreiddia trwy amser a thragywyddoldeb.

Pe buasai dilynwadu ar gyflwr moesol y byd yn gampwaith, na allai ac na oddefid ond i ambell un i ymwneyd ag ef, buasai yn wahanol iawn i'r hyn ydyw o ran cyfrifoldeb y lluaws. Ond nid felly y mae, ac anmhosibl ydyw dirnad pa beth a all dyn wneyd, na byddo fel y gareg a deflir i'r llyn, yr hwn a ymddengys fel canolbwynt oddiwrth ba un y mae tòn ar ol tòn yn ymdroellu y naill ar ol y llall hyd nes cyrhaedd y làn. Er cynyrchu llanw-fôr cryf o ddilynwad moesol, nid oes eisiau i chwi wneyd rhyw beth mawr iawn—O na, gwelwch gymaint coelcerth a gyneuir ag ychydig dân. Mor bwysig, ynte, ydyw ein bywyd yn y byd. Pob dyn yn meddu dilynwad moesol, ac yn gyfrifol i Dduw am y modd yr arferid ef. O, mor bwysig ydyw hyn, pan yr edrychwn arno yn ngoleuni y farn ddiweddaf. Oblegid, "Nid oes neb o honom yn byw iddo ei hun, ac nid oes neb yn marw iddo ei hun." Rhuf. xiv. 7.

*South Trenton.* R. LITTLER.

---

## PAHAM Y MAE YR ANNUWIOLION YN BYW?

GOFYNA Job, "Paham y mae yr annuwiolion yn byw?" Pa les maent yn wneyd i'r byd? Pa wasanaeth geir ganddynt? Job xxi. 7.

Mae yr annuwiolion yn byw, nid am fod Duw yn cymeradwyo eu hymddygiad, nag am na wna eu cosbi, ond i gyflawni ei fwriadau grasol. Mae yn eu defnyddio i ddwyn yn mlaen ei fwriadau daionus.

Mae yn arbed rhai er mwyn gwneyd cofnodiad o'i drugaredd a'i ras. Mae yn bwriadu eu cipio megys o'r gynneuedig

dân. I'r dyben hyn yr arbedwyd Saul o Tarsus, er ei fod yn erlidiwr a niweidiol. 1 Tim. i. 13.

Mae yn arbed rhai i ddangos gogoniant ei allu a'i gyfiawnder. Fel hyn yr oedd Pharaoh. Rhuf. ix. 12. Fel hyn y cyflawnodd yr Iuddewon fesur eu tadau. Mat. xxiii. 32.

Mae yn defnyddio rhai yn offerynau i geryddu pechaduriaid eraill. Mae yn eu gwneyd yn gleddyfau pan yn tywallt ei ddialedd. Fel hyn y gwnaeth Jehu ben ar Jezebel, ac y dinystriodd holl dŷ Ahab. 2 Bren. x. 9, 10. Ac fel hyn hefyd y gwnaed Babilon yn ordd yr holl ddaear i dori ac i gosbi cenedloedd am eu pechodau. Jer. l. 23.

Mae yn defnyddio rhai o'r annuwiolion i adeiladu ei deml ysbrydol, yn gyffelyb i'r modd ag y cymerai Noah yr annuwiolion i adeiladu yr arch; a Solomon yn cymeryd gweision brenin Tyrus i adeiladu y deml. 2 Cron. ii. 3—10. Fel hyn cynnorthwyai trysorau yr Aiphtiaid y genedl Israel, ac y mae y ddaear yn cynnorthwyo y wraig. Exod. xii. 35, 36. Dat. xii. 16. Mae Duw yn defnyddio yr annuwiolion i ddwyn yn mlaen ei achos ar y ddaear. Yr hyn a fwriadai brodyr Joseph i fod er niweid, a oruwchlywodraethodd Duw i fod er daioni. Mae hyd yn nod y Czar o Rwssia yn cyflawni ei fwriadau ef. Gwna i gynddaredd dyn ei foliannu. Gen. i. 19, 21. Salm lxxvi. 10.

Mae Duw yn defnyddio rhai o'r annuwiolion i geryddu ei bobl ei hun am eu pechodau, a'u parotoi i fod yn gymhwys ddeiliaid yn ei wasanaeth a'i fwynhau mewn gogoniant. Hwy weithiau ydynt ei gleddyf, ei law, ei wialen, ei ordd, ei fwyall, ei lif; ïe, hyd yn nod ei bair, i geryddu a phuro ei saint. Salm xvii. 13, 14; a lxxviii. A phaham yr ofnwn yr offerynau y mae Duw yn ewyllysio eu defnyddio i'n ceryddu a'n puro. Yn hytrach ofnwn BECHOD!

Dywed Charnock, "Nid ydych byth yn amheu medrusrwydd crefftwr i drin ei arfau, pan yn eu cymeryd yn ei law offeiynau drygionus ydynt arfau yn llaw Duw; gadewch

iddo, mae yn medru eu trin a'u rheoli fel y myno ei hun. Mae gormod o serch yn Nuw i ddystrywio ei bobl, a digon o ddoethineb i beri fod yr arfau mwyaf llymion yn eu harddu a'u prydferthu. Gall ef beri fod pob peth yn cydweithio yn berffaith gyson i gyflawni ei fwriadau ei hun, ac er lles ei bobl, pan fyddant hwy yn methu gweled un man i ffoi rhag y peryglon fyddant yn ei ofni, neu i gyrhaedd y fendith fyddant yn ei dysgwyl.

RHO MU.

---

## RHEOLAU I IAWN DREFNU EIN HYMADRODDION.

1. NAC ymarfer dy hun i ddywedyd llawer: ystyria cyn y llefarech: na âd i'th dafod ragflaenu dy reswm a'th farn, oni ragfyfyria y galon, rhaid yw i'r tafod wyro.

2. Bydded eich ymadrodd yn wir ac yn fuddiol: yn wir, trwy fod cytundeb rhwng y peth a'ch geiriau, heb dwyll; ac hefyd, trwy fod cytundeb rhwng eich tafod a'ch calon, heb ragrith.

3. Llefarwch wrth Dduw gydag ofn a phrudd-der; soniwch am dano gyda pharch.

4. Soniwch am bethau sanctaidd yn fynych, ond yn wastadol gyda sobrwydd; ond na osodwch grefydd mewn ymadrodd yn unig, ac na fesurwch ddaioni wrth eiriau da; haws yw siarad fel sant, na bod yn un mewn gwirionedd.

5. Dyweda yn dda am bawb nes gwybod yn amgenach; a phan na allech ddywedyd da, taw a son.

6. Na ddyweda yn dda am neb pan na haeddo, mae hyny yn weniaith ffiaidd; na ddyweda yn dda am danat dy hun er cystal yr haeddech, o herwydd y mae hyny yn wâg-ogoniant; ond prisia *gydwybod* dda, yn fwy na *chanmoliaeth* dda.

7. Na chanmola neb o flaen ei wyneb, na feia ar neb o ol ei gefn; os gwyddost dda am neb, cyhoedda ef i eraill; os gwyddost ddim drwg am neb, argyhoedda rhyngot ti ag ef ei hun, yn ddirgel ac yn ddoeth.

8. Na chanmol dy hun er bod eraill yn gwneuthur felly, eto na ddod achlysur i eraill ddywedyd yn ddrwg am danat; na chyhoedda dy glod dy hun; na fydd awyddus i wrandaw ar

eraill yn gwneuthur felly; bydd wyliadwrus yn erbyn gwâg-ogoniant.

9. Na feia ar dy well; na ddiystyra y rhai sydd îs dy law; na thybia yn dda am danat dy hun.

10. Dyweda y gwir yn wastadol, ond yn enwedig pan alwer di i'w ddywedyd; a chasâ gelwydd fel y casaech y cythraul, hwn yw tad y celwydd a phoenwr y celwyddwyr.

11. Na thynga yn anudon o flaen swyddog, canys yn hyn yr wyt yn apelio at Dduw fel *Barnwr*, ac yn rhwymo Duw i fod yn ddialwr arnat os wyt yn dywedyd celwydd; am hyny pa bryd bynag y cymerech lw, edrych am fod yr achos o hono yn angenrheidiol, ac yn bwysfawr, y dull o hono yn sobr, a'r dyben o hono yn ddiragrith.

12. Na thynga yn fyrbwyll yn dy ymadroddion cyffredinol; fe wna hyn i ddynion doeth dybied yn ddrwg am danat pan ddywedech y gwir. Ni ddylid rhddoi mawr goel i'r neb a dyngo, er ei fod yn dywedyd y gwir, o herwydd y neb ni ofna lw, ni ofna ddywedyd celwydd.—*Cymhorth i'r Cristion.*

---

## YMRYSON RHWNG DWY LYGODEN IEUAINC A'U MAM.

PRESWYLIAI y ddwy lygoden a'u mam mewn mur tew rhwg y gegin a chell y bwyd, No. 4, Queen Street.

IEUANGAF. I ba le yr aeth ein mam?

HYNAF. Aeth allan i ymofyn am fwyd i ni.

I. A wyddost ti, fy chwaer, yr wyf fi wedi blino yn yr ystafell gul, dywell, a diaddurn yma. Y mae heno yn noswaith deg, oleu; âf fi allan i roddi tro. A ddeui di gyda mi?

H. Na ddeuaf, anwyl chwaer. Os yw ein hystafell yn ddiaddurn, y mae yn *gadarn*. Edrych ar ei muriau tewion. Ac os yw y llwybr iddi yn *gul*, y mae o gymaint a hyny yn fwy *diogel*. Gallwn ni a mam fyned yn mlaen ac yn ol ar hyd-ddo, pan nad all y gelynion ein dilyn. Gwell genyf fi aros gartref.

I. Mi âf fi.

H. Gwell i ti beidio. Os yw y noson yn deg, ac os yw y teulu yn cysgu, cadwant greaduriaid rheibus o rywogaeth y tiger i wylio y palas. Y mae y rhai hyn yn gweled yn y ty-

wyllwch, a cherddant o amgylch i ymofyn am ysglyfaeth. Pe deuai un o honynt i'th gyfafrod, ni byddai ond gobaith gwan am dy fywyd.

I. Lol i gyd: mentraf fi hi.

H. Beth pe deuai ein mam adref, ac heb gael un o honom i mewn, dychrynai i farwolaeth. Ac oni fyddai hyny yn greulon?

I. Be' waeth gen' i; mi âf. Nos dda i ti, y beth wirion.

M. Dyma fi yn dyfod, fy merch. A oes arnoch chwi eisieu bwyd? Y mae genyf ddarn mawr o gig i chwi. *Nel*, ai dy hunan yr wyt ti! Pa le y mae dy chwaer!

E. Aeth allan, mam, er fy ngwaetha' i.

M. Allan! Bydd mor sicr o gael ei lladd a fy mod i yma. Gwelais Digres, *alias*, Cath, yn rhodio o amgylch. Neidiodd ataf, gan amcanu am fy mywyd; ond dygwyddodd i mi fod yn rhy agos i'r fynedfa i'm castell cadarn, ac felly diengais. Och! beth a wnaf am dy chwaer? Yr oeddwn yn addaw i mi fy hun gael swpera yn gysurus gyda chwi heno; ond nid allaf feddwl am fwyta yn awr. O! y mae fy nghalon yn curo, a'm holl esgyrn yn crynu!

H. Peidiwch bod mor gyffrous, mam. Mi glywaf fi swn rhywbeth yn dyfod. O, dacw fy chwaer, ac mae hi yn edrych *mor* siriol!

M. Pa le y buost ti, Antw? Y beth fechan ddrygionus wyt ti. Paham y gadewaist dy chwaer yn fy absennoldeb i? Paham y mentraist dy fywyd i drugaredd tigrod, a chathod, a dynion, y rhai ydynt elynion angeuol i'n teulu ni? Dygant gyda hwy yr arfau mwyaf dinystriol, ac ni phetrusant osod trapiau a chymysgu gwenwyn i'n dyfetha. Yr wyt wedi fy nychryn bron i farwolaeth.

I. Yr ydych yn cynhyrfu heb achos, mam. Ni welais i na thiger na chath, ac ni chlywais gymaint a *mew*. Yr oedd yr holl deulu yn y gwely. Ac yr wyf yn sicr nad oes gan breswylwyr y palas hwn ddim gelyniaeth at lygod; canys rhodiais ar hyd carpedau esmwyth, gan ymweled â'r rhan fwyaf o'i ystafelloedd. Yn rhai o honynt y mae celloedd mawrion agored yn llawn o'r danteithion mwyaf dewisol. Darfu i mi fwyta yn helaeth, a gadael digon i chwi a'm chwaer. A ddeuwch chwi gyda mi i weled?

M. Dyfod gyda thi yn wir! ni chymerwn ni mo'r greadigaeth. Cred fi, fy merch, y *mae* tigers o rywogaeth cathod yn

gwylio y palas hwn bob nos. Dygwyddodd iddynt fod yn cysgu pan oeddit ti allan;—na, mwy tebyg eu bod y mynydau hyny yn llofruddio rhai o'n teulu ni.

I. Yr ydych yn camgymeryd yn *wir*, mam. Y mae y bobl hyn yn hoff o lygod; canys gwelais yn un man dŷ bychan tlws, ac yr wyf yn credu fod hwnw wedi ei fwriadu i ni. Yr oedd wedi ei adeiladu o goed a gwyfrau, ac yn cynnwys *tair* ystafell, fel pe buasant yn gwybod am rifedi ein teulu ni; ac yn mhob un o'r lleoedd hyn yr oedd darn o gaws, a ham wedi ei rostio. O, yr oeddent yn arogli yn beraidd. Edrychais drwy un o'r drysau, gan feddwl myned i fewn; ar hyny penderfynais redeg yn gyntaf â'r newydd da i fy mam a'm chwaer, ac i ofyn a ddeuant hwy gyda mi. Yn awr, a ddeuwch chwi?

M. A wyt yn colli dy go', blentyn? *Trap*, neu beiriant tagu yw y tŷ tlws tair ystafell y soni am dano. Pwy bynag a â iddo, ni ddaw byth allan yn fyw. Gwelais i lawer wedi eu dal ynddo a'u llofruddio.

I. Ni choeliaf fi mo hyny. Af i edrych eto beth bynag.

H. Anwyl chwaer, yr wyf yn dymuno am i ti aros gartref. Os myni fyned, tòri fy nghalon i, a chalon ein hen fam. Gwrando ar rybuddion ei gwefusau crynedig, ac edrych ar y dagrau a lifant yn ddwy ffrwd o ffynnonau gorlawnion ei serch. Y mae yn *llewygu!* Y mae yn MARW!

I. Beth waeth gen' i am danat ti na mam, y pethau penfeddal gwangalon; mi âf fi.

M. A ydyw dy chwaer wedi myned?

H. Ydyw, mam.

M. A hi a aeth, a'm gadael i mewn llewyg! Wel, nid wyf byth yn dysgwyl ei gweled yn dyfod yn ol. Pa amser yr aeth hi?

H. O gylch un o'r gloch y boreu.

M. Pa faint yw hi yn awr?

H. Pedwar.

M. Y mae wedi myned felly er's tair awr! Rhaid fod rhyw ddrwg wedi dygwydd, ac yr wyf yn ofni y gwaethaf. Gwynebaf bob perygl, ac af allan i ymofyn am fy mhlentyn. Aros di gartref, Nel; canys pe collwn chwi eich dwy yr un dydd, darfyddai am danaf.

H. Na, mam, deuaf gyda chwi. Os derfydd am danom, boed i ni farw gyda'n gilydd. Gallech chwi *wnyed* hebwyf fi,

a diau yr anghofiech fi mewn amser; ond nid allwn i *fyw* heboch chwi.

M. Wel, gan hyny, gadawer i ni fyned yn ddystaw gyda'n gilydd. Edrych di yn fanwl a weli yr un peiriant tagu, a thair mynedfa iddo, yr hwn a dybiai y beth wirion oedd yn dŷ tair ystafell wedi ei fwriadu er ein cysur ni. Dyma y *llyfrgell*, nid oes dim yma. Dyma y *ciniaw ystafell*, yr wyf yn meddwl nad oes dim yma. Dyma y *gegin*, ni welaf ddim yma ychwaith. Dyma y *fwydgell.*

H. Mam! mam! dacw y trap yn y gongl. Ac O! dynged ofnadwy, y mae fy chwaer ynddo!

M. Ydyw hi wedi *marw?* Ydyw hi wedi marw?

H. Ydyw, y mae yn hollol farw ac oer. O fy *chwaer*, fy *anwyl* chwaer, pa fodd yr âf adre' hebot ti!

M. Gad i ni dynu ei chorff anwyl yn rhydd o'r peiriant uffernol. Gwasga.

H. Nid allwn ni ddim yn wir, mam.

M. O, fy mhlentyn! fy nhirionaf blentyn! Gwyddai pa fodd i chwareu ambell *dric*, ond yr oedd ganddi y dymher felysaf, ac ni feddai un bai. Nid oedd ei hanufudd-dod ymddangosiadol i'w mam ddim ond cellwair diniweid. Y mae ei rhinweddau dirif yn ymwthio ar drawst eu gilydd i'm cof yn awr. O! a raid i mi fyned adref heb gymaint a chorff marw fy anwyl blentyn. A yw yr aelodau prydferth hyn i gael eu tynu oddiwrth eu gilydd gan fwystfilod rheibus ar doriad y dydd? O na chai Antw fy merch gladdedigaeth a bedd, fel y cawn orwedd gyda hi.

Dafydd. Ieuenctyd anwyl, gochelwch! Onid priodol y gelwir preswylfa pob profedigaeth yn *drap?* Onid oes llawer o bobl ieuainc yn cellwair â'r manau hyn er gwaethaf cynghorion brodyr a chwiorydd, rhieni ac athrawon; gan ddadlcu nad ydynt ond lleoedd o ddifyrwch diniweid! Oni chafodd lluoedd eu hanafu yma? Do *llofruddiwyd* tyrfaoedd dirifedi yma. Llofruddiwydd eu henwau, llofruddiwyd eu cysuron, llofruddiwyd eu cyrff, a llofruddiwyd eu heneidiau.

Solomon. "Yn awr gan hyny, fy meibion, gwrandewch arnaf fi, ac ystyriwch eiriau fy ngenau. Na thuedded eich calon at ei ffyrdd hi; na chyfeiliornwch ar hyd ei llwybrau hi. Canys llawer a gwympodd hi yn archolledig; ïe, gwŷr grymus lawer a laddodd hi. *Ffordd i uffern yw ei thy hi, yn disgyn i ystafelloedd angeu."—O'r Cronicl.*

## Y BEIBL YN BUDDUGOLIAETHU AR ANFFYDDIAETH.

RHYW weinidog wrth alw mewn tŷ yn un o'i ymweliadau yn gysylltiedig â lledaeniad y Beibl, a chael fod y tŷ hwnw heb yr un, y wraig a sicrhaodd iddo, na oddefai ei gwr ar un cyfrif i'r Beibl gael lle o fewn ei furiau ef. Aeth ymaith dan synu a digaloni, ond penderfynodd na roddai y fath le gwrthwynebus i fyny. Ymweliadd eilwaith a daeth â Beibl gydag ef. Cafodd hyd i'r dyn gartref, ac wedi gwneyd ei neges yn adnabyddus, dymunodd y dyn arno, a hyny yn sarug, i beidio rhoi dim ychwaneg o drafferth iddo ei hun, "canys yna," eb efe gan bwyntio at gist fawr, "yna mae fy nghist I o wirionedd." Y gweinidog, er hyny, a benderfynodd i fwrw ei fara ar wyneb y dyfroedd, a gadawodd y Beibl yno ar ei ol. Pan yr oedd wedi cefnu, cymerodd y dyn y Beibl i fyny, nid i'w ddarllen ond i'w ddyfetha! Ac yn cywilyddio i wneyd hyn yn ngwydd ei deulu, neu rywrai o'r cymydogion a allasai ddyfod i mewn, fe'i cymerodd gydag ef i'r meusydd, gan fwriadu ei daflu i mewn i'r afon. Ond wrth gerdded yn mlaen, meddyliodd y cymerai gip-olwg arno cyn ei ddyfetha, i edrych pa beth a ddywedai. Darllenodd; a'r gair a wnaethpwyd yn fywiog a nerthol, ac ni allai, ïe, ni feiddiai ei ddyfetha. Darllenodd yn mhellach, a dechreuodd deimlo fod gwirioneddau y Beibl o'r pwys mwyaf iddo. Ond pa beth oedd i'w wneuthur? Yr oedd arno gywilydd i gymeryd y Beibl adref yn ol, neu adael i neb ei weled yn ei ddarllen; am hyny gadawodd ef yn un o'r tai allan, ac aeth yno yn awr ac yn y man i ddarllen ychydig arno yn ddirgel. O'r diwedd cafodd nerth i ddyweyd wrth y wraig mor annedwydd ydoedd, a chyfarwyddodd hi ef at y gweinidog a ddaeth a'r Beibl yno, cynghorion yr hwn a fendithiwyd er llwyr ryddhad i'w feddwl. ac er ei sefydlu yn y gwirionedd bendigaid hwnw y darfu iddo o'r blaen geisio ei ddyfetha. Cododd allor deuluaidd yn fuan yn ei dŷ, a bu yn syndod i'w holl gymydogion. Wel, y pummed o Dachwedd oedd gerllaw; a dywedai wrth ei blant, "Fy mechgyn, cewch groesaw o lawenydd braf; bwriadaf wneyd coelcerth hynod i chwi." Yr awr a ddaeth, a dywedai wrth ei fechgyn am ei helpu i dynu ei gist allan —"ei gist o wirionedd;" yn mha un y gorwedd-

ai oddeutu gwerth deg punt o ysgrifeniadau anffyddawl, gan Thomas Paine, a dynion annuwiol eraill. Dygwyd allan yr oll a gynnwysai y *box* a thaflwyd hwynt i'r tân, a thra yr oeddent yn fflamio y tad a'r plant a ganent Emyn.—*Christian Treasure.*

---

## DYLANWAD CAREDIGRWYDD.

TREFEDIGAETH Petitbourg sydd sefydliad er diwygio troseddwyr ieuanc, ac addysgu bechgyn gadawedig (*abandoned*), y rhai a grwydrant ar hyd heolydd Paris heb rieni i ofalu na thrafferthu yn eu cylch. Cynnelir y sefydliad drwy gyfraniadau gwirfoddol, addysgir y plant mewn pob math o waith tŷ ac allan, ac y mae ganddynt amserau penodol i chwareu ac ymddifyru. Y mae yno oddeutu 130 o fechgyn. Pan gyflawno rhywun drosedd yn haeddu cosbedigaeth drom cynnullir yr holl fechgyn yn nghyd, ac ymffurfiant yn fath o gynghor i ystyried a phenderfynu pa gosb a weinyddid ar y beius, yr hyn yn gyffredin a fydd yn gynwysedig o garchariad mewn daeardŷ am nifer o ddyddiau. Y mae neillduolrwydd dysgyblaeth y sefydliad yn gynwysedig yn hyn; wedi i'r ddedfryd gael ei rhoddi gan y bechgyn, a'i chymeradwyo gan yr arolygydd, gofynir "A wnaiff un o honoch gydsynio i ddyfod yn noddwr i'r troseddwr truan hwn, hyny yw, myned yn ei le a dyoddef ei gosb, fel y gallo efe fyned yn rhydd? Ac anfynych y dygwydda na cheir rhywun i ddyfod yn mlaen, a chydsynio i brynu y troseddwr trwy ddyoddef y gosb yn ei le. Yn yr amgylchiad hwnw ni raid i'r beius ond yn unig weithredu fel negesydd i'r carcharor trwy gludo iddo ei ddogn o fara a dwfr yn ystod ei garchariad. Y canlyniad o hyn a fu tori calonau y bechgyn mwyaf calongaled ac ystyfnig wrth weled eraill yn dyoddef yn wirfoddol yr hyn a haeddasant hwy eu hunain.

Dygwyddodd amgylchiad nodedig un tro. Derbyniwyd yno fachgen, yr hwn yr oedd ei dymer ddrwg a'i ymarweddiad afreolaidd wedi bod yn foddion o'i ddiarddeliad o lawer o ysgolion Paris, a'r hwn ydoedd ar y ffordd i fyned yn ddychryn ac yn arswyd i bobl dda. Am beth amser yr ydoedd newydd-deb yr olyfa, y gymdeithas, y galwedigaethau, &c.,

yn ymddangos fel pe buasent wedi gorchfygu ei dymher; ond o'r diwedd torodd ei natur ddrwg allan, a dangosodd ei hun yn ei waith yn agor ei gyllell ac yn brathu bachgen, â'r hwn yr ymrysonai yn ei fron gyda hi. Yr oedd yr archoll yn llym ond nid yn farwol, a thra y cludid y bachgen clwyfedig i'r ysbytty (*hospital*) gelwid y gweddill o'r bechgyn i benderfynu tynged y troseddwr. Penderfynasant ar unwaith ar ddedfryd o ddiarddeliad o'r sefydliad, heb obaith ail dderbyniad. Gwrthwynebai yr arolygwr hyn, a dangosai y byddai hyny yn sicr o arwain i'r crogbren. Gwnaeth iddynt feddwl am gosbedigaeth arall, hwythau a benodasant ar garchariad am ysbaid anmhenodol. Rhoddid y gofyniad arferol, ond ni chynygiodd yr un noddwr ei hun, a'r troseddwr a anfonid i'r carchar. Wedi rhai dyddiau adgofiai yr arolygydd hwy am yr amgylchiad; ac ar ail-adroddiad o'r gofyniad, "Ai ni ddaw neb yn noddwr i'r bachgen annedwydd hwn?" Clywid llais yn dywedyd, "Mi ddeuaf fi!" Edrychai y bechgyn synedig o amgylch, a gwelent yn dyfod yn mlaen y bachgen a glwyfasid, yr hwn oedd newydd gael ei ollwng o'r ysbytty. Aeth i'r ddaeargell a chymerodd le yr hwn a geisiasai ei ladd ef (canys pe buasai nerth corfforol y bachgen yn gyfatebol i'w nwyd, buasai y brathiad yn sicr o fod yn farwol, o herwydd nid oedd y ddau ond oddeutu naw neu ddeg oed). Wedi i'r olaf am beth amser gario y dogn o fwyd i'r noddwr caredig, a'i weled, er yn wan a llesg oddiwrth ei ddolur, yn dyoddef er ei fwyn ef amddifadrwydd o oleuni, rhyddid, a llawenydd; ei galon galed a dorodd, a syrthiodd wrth draed yr arolygydd, gan gyffesu yn alarus gyda dagrau heilltion, ddrygioni ei galon, a mynegi ei benderfyniad o ddilyn buchedd wahanol am yr amser dyfodol.

---

## RHESYMEG PLENTYN.

YN nghymydogaeth D—— yr oedd dyn tlawd, ond diwyd, yn byw, yn ymddibynu yn gwbl am ei gynaliaeth oddiwrth ei lafur beunyddiol. Aeth ei wraig yn sâl, a chan ei fod yn rhy dlawd i gadw morwyn, gorfu iddo adael ei waith i gymeryd gofal ei wraig ai blant. Yr oedd moddion cynnaliaeth erbyn hyn wedi sefyll, a theimlai ei hun yn fuan mewn angen. Gan fod cymydog cyfoethog yn byw gerllaw, pen-

derfynodd fyned ato i ofyn am ddau fwsiel o wenith, gan addaw talu can gynted ag y byddai ei wraig wedi gwella fel y gallai fyned at ei waith. Yna cymerodd ei sach, ac aeth at ei gymydog, a chyrhaeddodd yno pan oeddent gyda'r addoliad teuluaidd.

Fel yr oedd yn eistedd y tu allan clywai y gŵr yn gweddio yn daer am i Dduw wisgo y noeth, porthi y newynog, gwared yr angenus, a chysuro y rhai galarus. Ar ol iddo orphen gweddio, aeth y dyn tlawd i mewn a gwnaeth ei neges yn hysbys, gan addaw talu â'r cyflog cyntaf a enillai. Teimlai y ffermwr yn ddrwg iawn nad allasai wneyd y gymwynas iddo, ond yr oedd wedi addaw rhoi benthyg swm mawr o arian, ac wedi ymddiried yn ei wenith i wneyd hyny i fyny; ond yr oedd yn credu y cawsai beth gan ei gymydog D——.

Aeth y dyn tlawd ymaith gyda theimladau torcalonus a'r dagrau ar ei rudd. Can gynted ag y gadawodd y tŷ, aeth mab bychan y ffermwr ato a dywedai—

"Fy nhad, oni ddarfu i chwi weddio am i Dduw wisgo y noeth, porthi y newynog, gwared yr angenus, a chysuro y galarus?"

"Do, paham?"

"O achos, fy nhad, pe buasai genyf fi eich gwenith buaswn yn ateb eich gweddi."

Nid oes angen ychwanegu, i'r tad Cristionogol alw y cymydog trallodedig yn ol, a rhoddi iddo gymaint ag oedd arno eisiau.—*Hartford Religious Herald.*

---

## BWYTEWCH GIG BRAS.

MEWN rhifyn diweddar o'r *Scalpel*, dywed Dr. Dixon, wrth draethu ar "Ymborth," pan yn honi y "gwna yr ymarferiad o olew leihau nifer y rhai sydd yn cael eu haberthu yn ysglyfaeth i'r darfodedigaeth gymaint a naw o bob deg, ac mai dyna yr holl ddirgelwch fod olew afu pysgodyn (*cod liver oil*) yn cael ei arferyd." Cofnoda y sylwadau canlynol o waith Dr. Hooker:

1. O'r holl bersonau rhwng yr oedran o bymtheg a dwy flwydd ar hugain, mae dros un rhan o bump nad ydynt yn bwyta cig bras.

2. O bersonau yn bump a deugain oed, mae y cwbl, oddyeithr llai nag un o bob deg a deugain yn arfer bwyta cig bras.

3. O bersonau pa rai, rhwng pymtheg a dwy ar hugain oed, ag ydynt yn ymwrthod a chig bras, ychydig sydd yn awyddus am dano, ac yn byw i oedran teg, pan mae y rhan fwyaf yn meirw o'r darfodedigaeth cyn bod yn bymtheg ar hugain.

4. O bersonau yn meirw o'r darfodedigaeth, rhwng deuddeg a phump a deugain oed, mae naw o bob deg, o leiaf, heb erioed fod yn arferol o fwyta cig bras.

Mae y rhan fwyaf hefyd o'r rhai nad ydynt yn bwyta cig bras, yn bwyta ond ychydig o fenyn neu unrhyw frasder arall, er fod amryw yn gwneyd hyny i fyny i raddau wrth fwyta y pethau hyn, yn nghyda llaeth, wyau, ac amrywiol sylweddau sugraidd. Ond mae y cwbl yn anmherffaith i lanw lle cig bras, heb yr hwn, yn fuan neu yn hwyr bydd y corff yn sicr o ddangos effaith diffyg gwresawgrwydd.

---

## DAMEG Y TARW AR Y RHEILFFORDD.

MEWN man lle mae y rheilffordd yn myned trwy ddolydd hyfryd, yr oedd yn un o honynt darw lled flin. Ar ryw ddiwrnod pan oedd dyn yn myned drwy un o'r dolydd, rhedodd y tarw ar ei ol; a rhedai y dyn a'i holl egni rhagddo, dros y rheilffordd, a thros y ddau glawdd oedd un o bob tu i'r ffordd. Ac yn mlaen ag ef, gan feddwl cyrhaedd tŷ oedd heb fod yn mhell. Rhedodd y tarw nes dyfod dros y clawdd ac i'r rheilffordd; ond yno, gan fod y ffordd dipyn yn is na gwyneb y dolydd yn y fan hono, a'r ffoadur hefyd bellach wedi cael dau glawdd yn gysgod rhyngddo ag ef; yno, meddwn, collodd yr olwg ar y dyn. Gan hyny, nid aeth y tarw yn mhellach; ond arosodd ar y ffordd, gan roddi ambell i ruad, a chrafu y pridd â'i draed, a rhuo wedi hyny, gan ymddangos mor hunandybus a phe buasai efe yn berchen holl reilffyrdd y byd. Ysgydwai ei ben a'i gyrn drachefn, fel pe buasai i ddangos y modd y gwnaethai â rhywun a gawsai yn ei gyrhaedd. Ond pa fodd bynag, yn mhen tipyn, dyma y *train* yn dyfod. A'r tarw, siwr, gan nad oedd wedi arfer cyfarfod â neb cryfach nag ef ei hun, ond pawb yn cilio rhagddo, a feddyliodd nad oedd eisiau ond iddo ef fwgwth, y byddai y *train* yn rhedeg rhagddo. Gan hyny, wedi rhoddi rhuad, gosododd ei hun mewn

ystum i ruthro iddo. A dyna lle yr oedd yn sefyll mor fawreddig, â'i drwyn tua'r ddaear gan grybio yn ei wddf, a'i gyrn yn barod i'w rhoddi yn y *train*, a'i daflu i fyny, nes buasai yn rhedeg oddiamgylch yr un fath ag ystlum yn ngwyll y nos, dybiasai efe. Ond ar hyny daeth y *train* ; a rhoddodd i'r tarw y fath ergyd na chawsai erioed ei thebyg o'r blaen. Ar unwaith lladdwyd ef yn sopen.

Tebyg i'r tarw ar y rheilffordd yw y dyn, oddiar genfigen neu ragfarn, a ymosodo ar rinwedd a diniweidrwydd ; neu a osodo ar ddyn diniwed ac uniawn. Mae yn ymosod ar yr hyn sydd drech nag ef, a'r hyn y mae holl olwynion rhagluniaeth, a thân uffern yn y pen draw, a Duw ei hun hefyd, yn benderfynol o'i amddiffyn. Diniweidrwydd a chyfiawnder —rhaid newid Duw, neu ei dynu o fod, cyn y rhydd i fyny amddiffyn hyn. Gan hyny y dyn a ymosodo ar y diniwed, cofied ei fod yn ymosod ar ei drech, ac yn myned yn erbyn gallu yr hwn yn y diwedd a'i mâl ef yn chwilfriw. Tyst o hyn yw hanes Haman, a hanes yr Iuddewon yn ymosod yn erbyn Crist.

---

## DYFNIADAU O WAITH TILLOTSON.

NID oes neb mor wan nad yw yn ddigon cryf i ymgynnal dan yr anffodion nad yw yn deimlo.

Nid yw crefydd neb yn goroesi ei foesau.

Nid synwyr yw yr hyn nad yw yn cydsefyll â doethineb.

Nid â neb i'r nefoedd os na fydd wedi danfon ei galon yno o'i flaen.

Mae Crist yn achub y byd trwy ei ddidwyllo, ac yn sancteiddio yr ewyllys trwy yn gyntaf oleuo y deall.

Os edrychwn yn gyfiawn ar duedd i chwilio am feiau yn beth cas a gwael, cofiwn mai tuedd i'w credu yw y nesaf at hyny.

Y dedwyddwch mae Crist yn ganiatau i'w holl eiddo, yw, fel Iachawdwr, dyoddefodd unwaith drostynt, ac, fel cyfaill, mae bob amser yn dyoddef gyda hwynt.

Mae yn wir fod arweinydd dall yn fawr niwed ; ond mae arweinydd sydd yn dallu y rhai mae yn arwain yn llawer gwaeth.

## ANNOGAETHAU I EDIFEIRWCH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. E. PAYSON D. D.

MAE "Duw yr awrhon yn gorchymyn i bob dyn, yn mhob man edifarhau." Yr ydwyf yn gosod y gorchymyn hwn ar draws eich llwybr, nis gellwch gerdded cam yn mhellach mewn ffordd bechadurus heb ei sathru dan draed. Fe'ch cymhellir i afael yn y ddyledswydd hon yn ddioed er eich mwyn eich hunain; oblegid oni edifarhewch, chwi a ddyfethir oll. Fe'ch annogir ati gan yr holl angelion bendigedig, y rhai ydynt yn dysgwyl yn awyddus am gyfle i lawenychu yn eich dychweliad. Ac uwchlaw y cwbl, fe'ch cymellir at hyn yn y modd cryfaf gan y Prynwr bendigedig; i garu ac ufuddhau i'r hwn yr ydych dan y rhwymedigaeth cryfaf. Efe a wnaeth ac a ddyoddefodd lawer erddoch. Drosoch chwi y bu efe yn llafurio, yn gwaedu, ac yn marw. Drosoch chwi yr ymroddodd ef yn siriol i ddyoddef gwaradwyddiadau a chreulonderau dynion; cynddaredd a malais cythreuliaid; a mawr bwys gwg ei Dad nefol. Gan hyny llawenychwch yr Arglwydd, ei Fab ef, a'r angelion sanctaidd, trwy edifarhau. Mae eich Tad nefol yn dysgwyl am eich dychweliad eisoes, a'r Gwaredwr yn sefyll yn barod, a'i freichiau ar led i'ch derbyn. Mae y gwisgoedd gwynion a'r fodrwy wedi ei darpar yn barod, a'r llo pasgedig wedi ei barotoi i wledda yr afradloniaid dychweledig. Mae angelion ac archangelion yn awr yn barod i arllwys eu caniadau llawenychaf o groesawiad i'ch dychweliad. Gan hyny, a fynech ddywedyd drwy eich cyndynrwydd anedifeiriol, Ni fydd dim llawenydd yn y nef ar ein cyfrif ni heddyw:—ni cha' Duw mo'i ogoneddu, Crist mo'i ddiwallu, nac angelion eu llawenychu, os gallwn ni eu hattal? Os oes neb y mae eu teimladau neu eu hymddygiadau yn cynnwys y fath iaith, yr wyf yn tystio wrthynt mewn modd difrifol, yn enw Jehofa, y gogoneddir Duw a'i Fab ef er pob

ymdrech o'r eiddo chwi i attal hyny. Nid ysbeilir Duw o'i ogoniant gan neb o'i greaduriaid byth; ac oni chydsyniwch i'w ras gael ei ogoneddu yn eich iachawdwriaeth, efe a ogonedda ei gyfiawnder yn eich damnedigaeth dragywyddol chwi. Os na cha preswylyddion y nef lawenychu yn eich edifeirwch, bydd eu cariad at gyfiawnder, gwirionedd, a sancteiddrwydd, yn eu rhwymo i ymlawenychu yn eich cosbedigaeth, a chanu Aleluiah, tra fyddo mwg eich poenedigaeth yn esgyn i fyny yn oes oesoedd.

## Y PAB.

[*Parhad o du dalen* 224.]

I YCHWANEGU ei greulonderau, y Pab a laddodd â chleddyfau, ac â chyllyll, ganoedd lawer o'r Albigenisiaid a'r Waldensiaid—torasant eu gyddfau, ac yna eu darnio yn chwarteri, a'u gosod ar ochrau y ffordd, ar bolion am ddeg ar hugain o filldiroedd. Iö, dyfethwyd o honynt fil o filoedd yn Ffrainc yn unig, mewn pedwar cant o flynyddoedd; sef, o'r ddeuddegfed ganrif i'r unfed ar bymtheg. Tua chanol yr unfed ganrif ar bymtheg y bu y dyn rhyfedd hwnw, sef Oliver Cromwell, yn llwyddiannus i atal y lladdiadau ofnadwy hyn; ac ni allodd y bwystfil wneyd y fath hafoc byth eto.

Efallai, blant, na ŵyr rhai o honoch fawr ond am enw y Cromwell hwnw. Rhoddaf i chwi fraslun o'i hanes. Ganwyd ef yn mhlwyf St. John, swydd Huntington, Ebrill 25, 1599. Cynyddodd yn fuan mewn dysg, a dangosodd ei ei alluoedd cryfion. Bu afradlawn yn ei ieuenctyd, a gwariodd etifeddiaeth ei dad yn fuan; ac yna y daeth ato ei hun, ac ymroddodd i ddull arall o fyw.

Bu ewythr iddo farw, a chafodd eiddo eilwaith, yr hwn a dreuliodd er ennill iddo ei hun gyfeillion luoedd, ac enw da, pa un sydd well na chyfoeth lawer. Astudiodd bethau crefydd yn fanwl, a gwelodd y grefydd Brotestanaidd yn rhagori.

Dewiswyd ef yn farnwr crefydd yn y drydedd Senedd, yn amser Siarl I. (cyn tori ei ben ef), a phrofodd yn ddadleuydd heb ei ail, ac yn gadarn yn erbyn Pabyddiaeth; a llwyddodd i attal ei rwysg, fel na bu mor gyhoedd a beiddgar yn trochi ei balfau yn ngwaed y saint byth mwyach ar ol hyn.

Aeth Cromwell a chalonau y mawrion a'r werin mor lwyr trwy ei fuddugoliaethau llwyr, a'i gyfeillachau deniadol, nes aeth yn ddigon meistrolgar i droi seneddwyr Brydain o'r Senedd, a chloi y drws; ïe, gwrthododd gael ei goroni yn frenin Prydain Fawr. Bu yn gyfaill mawr i'r Presbyteriaid a'r Annibynwyr. Bu amryw yn pregethu yn ei dŷ. Mynai fod dyledswyddau teuluaidd yn ei dŷ. Trodd offeiriaid cysglyd a dilafur o'u plwyfydd, a rhoes eraill yn eu lle, oedd fwy effro a llafurus.

Gosodai y dynion mwyaf crefyddol yn Seneddwyr, Carai heddwch, a mynodd heddwch trwy y Cyfandir, am fod ei arswyd ef drwy holl Ewrop. Arswydai holl benaduriaid yr holl Gyfandir wrth ysgydwad ei waewffon, am fod Arglwydd yr holl ddaear yn ei ddefnyddio; er fod yn amheus a oedd ei galon yn uniawn ger ei fron ef wedi y cwbl. Barnai ei gyfeillion penaf mai rhagrithiwr oedd. Trodd ei gyfeillion iddo yn elynion, a bu dyddiau olaf ei oes yn adfydus a thruenus. Ofnai bob dyeithr, rhag mai ei elyn a'i lofrudd a fyddai.

Bu farw yn orphwyllog (wedi llywodraethu bum' mlynedd) Medi 3ydd, 1658, yn 59 mlwydd oed. Am fod ei fab yn rhy wan ei alluoedd i lywodraethu yn ei le, coronwyd Siarl yr II. Gwnaeth Cromwell lawer o ddaioni i'r byd, ond yn benaf i Brydain. Gresyn i'w haul fachludo dan gwmwl.

Gofalwn am fod yn gywir ein dyben yn ein holl ymdrechion, oblegid nid llwyddiant mawr sydd yn profi cywirdeb bob amser. Os na ennillwn enw mawr gan ddynion, sicrhawn

gymeradwyaeth gyda Duw, yr hwn sydd yn adwaen ein calonau. Gallwn orchfygu cedyrn lawer, eto cael ein gorchfygu gan gydwybod euog, wedi cael ei gwasgu i dewi gan gau ddyben, pryd y dylesid gwrando ar ei llais; ond cydwybod dda a'n gwna yn gryf mewn bywyd, ac yn dawel yn angeu.

*Rome.* T. W.

## DIRWEST.

"Gwae y rhai a gyfodant yn foreu i ddilyn diod gadarn, a arosant hyd yr hwyr hyd oni enyno y gwin hwynt."

MAE y gair gwae yn golygu, trallod, och, a thrueni. Cyhoeddir yma wae uwchben y rhai a gyfodant yn foreu, ond nid am gyfodi yn foreu, eithr am gyfodi yn foreu i ddilyn diod gadarn. Mae cyfodi yn foreu ynddo ei hun yn gyfreithlon a rhinweddol, os gwneir iawn ddefnydd o'r amser ar ol cyfodi yn foreu; ond os gloddesta, cyfeddach, a meddwi a wneir ar ol cyfodi yn foreu, y mae gwae Duw uwchben y cyfryw. Y rhai a gyfodant yn foreu i ddilyn diod gadarn, yw y rhai a arosant hyd yr hwyr hyd oni enyno y gwin hwynt. Llawer a gyfodasant yn moreu eu hoes i loddesta, a dilyn diod gadarn, heb feddwl ond am gael difyrwch gyda'u cyfeillion dros dymhor eu hieuenctyd, a'u rhoddi heibio cyn cyrhaedd diwedd eu hoes; ond y canlyniad fu yn fynychaf iddynt aros hyd yr hwyr—diwedd eu hoes, nes suddo i feddwdod. Os am dreulio y diwrnod i ddefnydd priodol, y mae yn rhaid dechreu yn foreu, ac os ydym am dreulio ein hoes yn rhinweddol, i fod o adeiladaeth i ni ein hunain, ac i'n cenedlaeth, y mae yn rhaid dechreu yn ieuanc. Os treulir blodau y dyddiau mewn oferedd, a seguryd, bydd y gweddill o'r dyddiau yn debyg iawn o fyned yr un ffordd.

Llawer bachgen a welwyd yn moreu ei ddyddiau yn myned allan i gychwyn ei daith trwy'r byd, wedi codi bron cyn

toriad y dydd o ran oed ac amser, ac ar ei gychwyniad yn dyheu am bleserau cnawdol, ac oddiar ei awydd am bleserau yn myned gyda chwmpeini o'r un cymeriad ag ef ei hun i dafarn i gyfeillach y gwin a'r ddiod gadarn: er nad oedd eto yn gymaint caethwas i'w chwantau, fel nas gallai roddi heibio yfed cyn meddwi; er hyny yn eu dilyn, a thrwy hir ddilyn, y cariad atynt yn cynyddu, nes o'r diwedd ei fod yn eu hoffi gymaint, nes rhoddi ei hunan gorff ac enaid i'w gwasanaeth. Rhydd ei amser gan mwyaf i'w dilyn, gwaria ei arian i gyd am dani, rhydd ei holl gyfoeth yn aberth iddi, nid arbeda na thraul na thrafferth fyddo yn ei allu er sicrhau ei chymdeithas. Gweithio ei ffordd drwy y rhew a'r oerni. Ni bydd ystormydd na thymestloedd mwyaf grymus ac aruthrol, yn ddigon o attalfa ar ei ffordd i'w thŷ, tra parhao nerth yn ei gyfansoddiad. Rhydd holl nerth ei aelodau o'i phlaid, ei draed i'w gario i'w thŷ, ei ddwylaw i'w hestyn at ei enau, ei dafod i'w derchafu a'i mawrhau, ei glustiau i wrando am ei rhinweddau, ei lygaid i edrych arni yn goch ei lliw yn y gwpan gyda y fath hoffder, fel nas gall fod yn dawel hebddi, ei chwant lygredig a flysia ac a sycheda am dani ac a'i traflyngca gyda y fath hoffder anghydmarol.

Rhydd hefyd ei holl alluoedd eneidiol i'w gwasanaethu, ei ewyllys a'i dymuna ac a'i blysia, ei gôf fydd yn myfyrio arni yn wastad heb ddiffygio, ei serch a'i hoffa ac a'i cofleidia, ei ddeall a gynllunia pa ffordd y caiff afael arni, a'i gydwybod wedi ei serio â haiarn poeth, fel na rydd attalfa arno gyflawni pob aflendid yn un chwant o dan ei dylanwad. Mewn gair, efe a'i gwna yn dduw, ac a'i haddola, a'i derchafa ac a'i mawrha goruwch pawb a phob peth. Rhydd bob nerth corfforol, a phob cyneddf eneidiol o'i eiddo mewn gwasanaeth ac ufudd-dod iddi. Dyma y llwybr yn fynychaf a drafaeliodd y rhai a gyfodasant yn moreu eu hoes i ddilyn diod gadarn, "arosant hyd yr hwyr hyd oni enyno y gwin hwynt." Enynodd yr ymenydd nes dyrysu y synwyrau, en-

ynodd y gwaed nes ei dewychu a'i afiachu a'i ddyrysu yn ei rediad trwy y gweithienau, enynodd y dwylaw nes eu gyru i grynu, y coesau i siglo a'r llygaid i bylu. Mewn gair, achosodd eu harferyd i enynfa ymaflyd yn yr holl gyfansoddiad o ben bwy gilydd. Enynodd yr afu a'r arenau, yr ysgyfaint a'r galon, a holl beirianau mewnol y cyfansoddiad, nes achosi pob anhwyldeb ac arwain i'r clefydau mwyaf heintus a dinystriol. Arweiniodd i'r poethion glefydau, pa rai a ddadgysylltant y cyfansoddiad mewn ychydig amser, ac hefyd i'r darfodedigaeth, pa un a'i dadfeilia yn raddol. Arweiniodd i droseddiadau, nes enyn tân yn y fynwes ac euogrwydd yn y gydwybod. Arweiniodd i droseddu, y cyfreithiau gwladol, nes eu henyn i geryddu a chosbi am y bai. Enynodd lid cyfeillion a chas perthynasau. Enynodd derfysgoedd ac ymddadleuon mewn eglwysi, a'r hyn sydd anfeidrol fwy o bwys, enynodd ddigofaint Duw, "Yr hwn sydd ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol," ac a ddywed, "Na chaiff meddwon etifeddu teyrnas Dduw." Enynodd dân yn y fynwes, ac euogrwydd yn y gydwybod. Yr hwn fydd yn bryf na fydd marw, yn enyn i dragywyddoldeb.

Yn awr, ni a welwn mai priodol y testyn, "Gwae y rhai a gyfodant yn foreu i ddilyn diod gadarn, a arosant hyd yr hwyr hyd oni enyno y gwin hwynt." M. J. M.

## "PROFWCH BOB PETH, DELIWCH YR HYN SYDD DDA."

YN ddiweddar tueddwyd ysgrifenydd hyn o linellau i fyned i edrych ar y Pabyddion yn cyflawni eu gwasanaeth crefyddol. Pa un a oedd ein mynediad yno i'w feio ai peidio a adawn i eraill farnu, ond pa fodd bynag myned a wnaethom. Ein hamcan yn bresenol yw rhoddi ger bron y darllenydd ychydig o hanes yr hyn a welsom, ac yn neillduol "yr hyn sydd dda."

Ar ol myned yno, a chael eisteddle (ond nid mewn lle mor gyfleus ag y dymunasem fod), erbyn hyn yr oedd yn naturiol i ni edrych o'n cwmpas, er nad ydyw y fath ymddygiad i'w gymeradwyo, hyd yn nod yn y lle hyny. Nis gallasem edrych i un cyfeiriad, heb ganfod croes o flaen ein llygaid. Yr oedd yno amrywiol bethau addurniedig eraill yn yr allor, ag oedd yn tynu graddau helaeth o'n sylw; yno yr oedd yr offeiriad, yr oedd yr olwg arno yn debycach i un o weision y ——, nag i un o genadon Crist.

Hefyd yr oedd y gwasanaeth gan mwyaf yn gynnwysedig mewn rhyw fath o gerddoriaeth; ond, nid oedd y fath a hoffem ni. Yr oedd yn rhy undonol (*monotonous*), yn enwedig y rhan offerynol. Yr oedd yno un foneddiges ieuanc yn feddianol a'r lais *Soprano* da. Nis gallem restru eu cerddoriaeth, na'u dadganiad, gyda y dosbarth blaenaf, na'r ail ychwaith, yn ol hyny o ysbryd barn sydd genym ni am gerddoriaeth.

Yn bresenol, deuwn at "yr hyn sydd dda." Er mai edrych ar y Pabyddion yn cyflawni eu gwasanaeth yr oeddem, fe allai y dichon fod *yno* rai pethau ag y byddai yn dda, ïe, hyd yn nod i eglwysi Cristionogol uniawn-gred, a gwrandawyr yr efengyl yn gyffredinol eu hefelychu.

I. Dull eu dyfodiad i'r addoldy.

Yr oeddent yn dyfod yn araf, dystaw, ac mewn agwedd ostyngedig. Nid rhuthro i mewn yn frysiog ac anystyriol yr oeddent. Yr oeddem yn meddwl fod y rhan hyny o'r Ysgrythyr yn cael ei chyflawni yn llythyrenol ganddynt, sef, "Gwylia ar dy droed pan fyddech yn myned i dŷ Dduw." Pa un a ydyw, ai nad ydyw yn briodol galw addoldy y Pabyddion yn dŷ Dduw, nid oes a fynom a'i benderfynu yn bresenol; ond, fe'i gelwir felly.

II. Eu hymarweddiad yn y gwasanaeth.

Y mae amrywiol bethau yn eu hymarweddiad ag sydd yn deilwng o'n sylw *ni* genedl y Cymry, sydd wedi ein

magu ar fronau yr Ysgol Sabbothol, ac yn sŵn gweinidogaeth yr efengyl.

1. Nid oeddem yn canfod neb yno yn edrych o'u cwmpas, nac yn chwerthin a chellwair ar eu gilydd. Yr oedd golwg syml, addas i'r efengyl arnynt o ran ywarweddiad allanol. A ydyw y cymeriad yma yn briodol i holl wrandawyr yr efengyl, yn enwedig yr ieuenctyd, yn ein mysg ni genedl y Cymry?

2. Yr oedd yno bawb yn effro. Ni welsom yno gymaint ag un yn rhoddi ei ben i lawr mewn agwedd gysglyd, er mor wresog a thrymaidd oedd yr hin. A ydym ni genedl y Cymry yn ddieuog yn y peth hyn?

3. Ni welsom yr arwydd lleiaf yno o sug *tobacco* wedi ei boeri ar lawr yr addoldy. Er mai *Gwyddelod* oeddent, ac mai *Pabyddiaeth* yw eu crefydd, byddai yn dda i hyd yn nod genedl y Cymry eu hefelychu yn hyn.

4. Yr oedd y gwragedd yn cadw eu plant yn ddystaw yno. Er fod yno nifer lluosog o honynt—rhai yn ieuainc iawn, a rhai ychydig yn hŷn, yr oeddent oll yn ddystaw a gweddaidd. Ai tybed fod gan y mamau Pabyddol fwy o ddylanwad, a gwell llywodraeth ar eu plant na mamau Cristionogol uniawn-gred? Pa beth a ddywed mamau Cymreig am hyn?

Rhag ofn i neb o ddarllenwyr yr "Arweinydd" feddwl ein bod yn pleidio Pabyddiath i'r graddau lleiaf: ein hamcan yn ysgrifenu yr uchod, ydyw ceisio dangos fod perygl i ni y rhai sydd yn proffesu y grefydd Gristionogol, fod ar ol mewn ymarweddiad priodol yn y moddion i'r rhai hyny sydd yn proffesu y gaugrefydd. SYLWEDYDD.

---

## MEINI TRAMGWYDD.

MAE yn wirionedd dilys, eto digon galarus, fod llawer o y rhai y gallem obeithio eu bod yn wir gredinwyr, yn gweithredu mewn modd amlwg yn wrthwyneb i reolau yr ys-

grythyr, ac felly yn dyrysu y rhai ydynt weiniaid yn y ffydd, ac yn rhoddi cyfefydd yn agored i waradwydd yr annuwiol. Oddiwrth ychydig gynlluniau gall llawer weled eu ddelw eu hunain.

1. Y proffeswr *gorthrymus*. Mae ei awdurdod ar ei dylwyth yn cael ei harswydo ddim llai na gorthrwm gormesdeyrn Tyrciaidd, ei ewyllys sydd ddeddf, pa mor afresymol a gorthrymus bynag y byddo; ac am dano gellir dywedyd fel am Nabal—“Ni ellir ymddyddan âg ef.”

2. Y proffeswr *cybyddlyd*. Gwr hael iawn mewn cyfraniadau cyhoedd; ond gartref gwasga, a mala, a phrin y gwŷr pa fodd i ganiatau yr hyn a fo rheidiol i wneyd y sawl fyddo o'i gylch yn gysurus.

3. Y proffeswr *anniddig*. Hwn a ddigia yn fuan, ond anhawdd, ac yn aml nid oes modd, gwybod yr achos. Rhygynga oddiamgylch weithiau, gan fytheirio dywediadau maleisus a chas. Oddigerth hyn, dystaw yw, er fod arwyddion y crawn llinorog oddimewn i'w ganfod yn eithaf amlwg yn ei wep.

4. Y proffeswr *cecrus*. Gellir cydmaru y cyfryw un i'r danadl poethion, sydd sicr o'ch pigo. Mae yn graff i nodi beiau ereill, ond yn dyner iawn o'i rai ei hun. Mae wedi cyfodi lluman, ac y mae yn fflangellu pawb nad ydynt yn ymrestru tani.

5. Y proffeswr *digofus*. Un yw efe, os gwrthwynebwch ei ewyllys, a dybia yn addas eich niweidio yn eich masnach, enllibio a drygu eich enw da, a hyn yn rhith dangos ei wroldeb.

6. Y proffeswr *grwgnachlyd*. Bydded ei amgylchiadau mor llwyddiannus ag y b'ont, eto *myna* efe fod yn ofidus. Dychymyga ryw drychineb neu aflwydd yn hytrach na bod heb achlysur i feithrin ei anwyldeb hoff. H.

---

## GWERS I RIENI.

YR wyf yn dymuno adrodd amgylchiad i chwi a ddygwyddodd yn nheulu cyfaill a gohebwr i mi yn ninas Boston, rai blynyddau yn ol, yr hwn hanes a gyflwyna ei hun i galon pob tad a mam ag sydd ganddynt gydymdeimlad a'u, neu serch at eu plant. Gellwch fod yn sicr fod yr hanesyn canlynol yn hollol wir. Argyhoeddwyd fi o'i wirionedd pan

agorais y llythyr oddiwrth L. H. B——, yn mha un yr oedd yr hanesyn yn cael ei adrodd.

Ychydig wythnosau cyn iddo ysgrifenu yr oedd wedi claddu ei fab hynaf, bachgen hardd a gwrol, tuag wyth oed, pa un ni bu ddiwrnod yn glaf hyd nes y clafychodd ac y bu farw. Dygwyddodd ei farwolaeth dan amgylchiadau gwir boenus i'w rieni. Bu brawd ieuangach, y nesaf o ran oed at hwn, bachgen afiach a gwan, yn glaf am bythefnos, o glefyd nad oedd yn gyffredin ar hyd y wlad. O herwydd natur y clefyd, yr oeddent yn arfer pob moddion a allent feddwl am danynt i ddiogelu y rhan arall o'r teulu rhagddo: ond mewn perthynas i'r bachgen hwn, yr hynaf, yr oedd ei dad yn dyweyd nad oedd arno gymaint o ofn, o herwydd ei fod yn wastad yn iach a gwridgoch. Eto, yr oedd yn ofalus yn ei gylch, ac yn gorchymyn iddo beidio myned i'r llynoedd a'r porthladdoedd oedd gerllaw ei ysgol: canys nid oedd ond plentyn; ac fe fydd plant yn blant, a dylem feddwl yn amlach mai eu natur yw bod felly. Ond at yr hanes.

Un prydnawn, daeth ei dad adref yn bur flinedig wedi bod yn gweithio yn galed trwy y dydd, ac yn drallodus ei feddwl o herwydd rhyw siomedigaeth fechan a gafodd, yr oedd wedi chwerwi ei dymher addfwyn, a'i ddwyn yn ddarostyngedig i dderbyn y blinder lleiaf. Tra yr ydoedd yn eistedd wrth y tân yn y dymher anhapus hon, daeth ei wraig i'r ystafell, a dywedodd, "Mae Henry newydd ddyfod i mewn —y mae yn ddychryn i'w weled, mae wedi ei orchuddio â llaid o'i ben i'w draed, ac mor wlyb a llygoden wedi boddi."

"Pa le mae efe?" gofynai ei dad yn sarug.

"Mae efe yn crynu, wrth y tân yn y gegin. Yr oedd arno ofn dyfod yma, pan ddywedodd y forwyn eich bod chwi wedi dyfod adref."

"Dywedwch wrth Jane am beri iddo ddyfod yma yn ddioed," meddai ei dad. Daeth y bachgen druan yn uniongyrchol, ar hanner trengu gan ofn ac anwyd. Edrychodd ei dad gyda chipolwg ar ei sefyllfa resynol, edliwiodd iddo ei anufudd-dod, dywedai am y cerydd oedd yn ei aros yn y boreu fel tal am ei drosedd, a diweddodd mewn llais chwerw gan ddywedyd, "Yn awr, syr, dos i dy wely." "Ond 'nhad," meddai y bachgen bach, "mae arnaf eisiau dyweyd i chwi"—"Dim gair, syr—dos i dy wely." "Nid oes arnaf yn unig ond eisiau dyweyd, 'nhad, mae"——. Y tad gan daraw ei droed a

y llawr, a gwgu, heb ychwaneg o siarad, a gauodd y drws ar eglurhad ac ymresymiad ei blentyn.

Pan aeth y bachgen i'w wely yn drist ac heb swper, eisteddodd ei dad yn aflonydd ac anesmwyth wrth y tân tra yr oedd y swper yn cael ei barotoi; ac wrth yfed tê ni fwytaodd ond ychydig. Canfyddodd y wraig y gwir achos neu achos ychwanegol y cynhyrfiad hwn, ac eiriolodd dros y bachgen yn y modd canlynol: "Fy anwylyd yr wyf yn meddwl y dylasech o'r hyn lleiaf wrandaw pa beth oedd gan Henry i'w ddywedyd. Doluriodd fy ngalon drosto pan dro'dd ymaith, a'i lygaid yn llawn dagrau. Bachgen ydyw Henry wedi'r cyfan, os yw weithiau yn gwneyd rhywbeth o'i le. Mae efe yn blentyn tyner galon a serchog." Gyda hyny llanwodd llygaid ei fam dosturiol o ddagrau. Ar ol tê, cymerwyd y papyr prydnawnol, ond nid oedd ynddo ddim newyddion—dim o unrhyw fudd iddo ef. Eisteddodd am ryw amser mewn synfyfyrdod poenus, yna cyfododd ac aeth i'w ystafell wely. Fel yr oedd yn myned heibio y lle yr oedd ei fachgen bychan yn cysgu, meddyliodd am edrych i mewn arno cyn myned i orphwys. Aeth i'w ystafell fechan, a syllodd uwch ei ben: yr oedd deigryn mawr yn sefyll ar ei rudd, ond yr oedd yn cysgu, yn esmwyth, ac yn dawel. Edifarhaodd y tad yn fawr am ei sarugrwydd, wrth edrych ar ei blentyn; teimlodd hefyd bwys ei ddyledswydd. Wrth siarad am yr achos gyda'i wraig, penderfynodd ac addawodd yn lle ceryddu, wneyd iawn i'r bachgen gofidus o herwydd iddo wrthod gwrandaw ar ei resymau am ei drosedd. Ond ni ddaeth y boreu i Henry mewn iechyd. Deffrodd â chlefyd gorphwyllog ar ei ymenydd: ac mewn wyth awr a deugain yr oedd yn ei amdo. Nid oedd yn adnabod ei dad na'i fam, pan y galwyd arnynt gyntaf at y gwely, na'r un tro ar ol hyny. Yr oedd y tad anedwydd uwch ben gwely ei fab trancedig, yn dysgwyl am ryw arwydd ei fod yn ei adnabod. Meddyliodd unwaith, ei fod yn gweled gwên ar ei wynebpryd siriol, fel pe buasai yn ei adnabod, a rhuthrodd yn mlaen, canys buasai yn rhoddi bydoedd am gael sisial un gair addfwyn yn ei glust, a chael atebiad; ond aeth y pelydryn hwnw o adnabyddiaeth heibio yn fuan, a dylynwyd ef gan sylldremiad oer a diystyr, a gwylltineb mawr; hyn a barhaodd nes y daeth angeu i roddi ymwared iddo.

Yn mhen dau ddiwrnod aeth y dyn a'r arch yno, a'i fab gyd ag ef. "Yr oeddwn i gyda Henry," meddai y bachgen,

"pan aeth efe i'r dwfr. Yr oedd Henry, Charles Mumford, a minau, yn chwareu i lawr wrth y Long Wharf; yr oedd y llanw yn bur isel, ac aeth Charles ar ystyllen i gyrhaedd llinyn a bach pysgota, oedd yn crogi lle yr oedd y dwfr yn ddwfn; a'r peth cyntaf a ganfuom, oedd Charles yn ymdrechu yn y dwfr. Tynodd Henry ei gap a neidiodd i'r dwfr, a thrwy lawer o ymdrech, cafodd Charles allan. Gorchymynodd Charles i Henry dewi dyweyd am y peth, canys os gwnai, na chai ddyfod yn agos i'r dwfr gan ei dad. Yr oedd Henry yn bur drist, ac yn dyweyd ar hyd y ffordd, 'Pa beth a ddywed fy nhad pan y gwel efe fi heno? Buasai yn dda genyf pe buaswn heb fyned i'r porthladd.'"

"Fy machgen anwyl a dewr!" crochlefai y tad. A hyn oedd yr eglurhad a ddarfu'n greulon wrthod ei wrandaw—ac yr oedd dagrau poethion a chwerw yn rhedeg i lawr ei ruddiau.

Ië, dysgodd y tad sarug yna, yn awr am y tro cyntaf, nad oedd yr hyn driniodd efe gyda chreulonder anarferol, ond cymhelliad natur deimladwy pan yn angofio ei hunan, ac anturio ei fywyd dros arall. Nid oedd ond cynhyrfiad bywiog o'r ysbryd dewr yr oedd efe, ei dad wedi bod yn ymdrechu ei impio ar ei feddwl derbyngar ac ufudd ef; a pha un, er mor ieuanc, a amlygodd mewn mwy nag un amgylchiad. Bydded i'r hanesyn hwn gael ei ddiweddu yn ngeiriau ei dad, a bydded i'r wers fyned yn ddwfn i galon pob rhieni a ddarlleno yr hanesyn.

"Mae pob peth wyf yn awr yn ei weled, ag oedd yn perthyn iddo, yn dwyn i'm cof fy mab trancedig. Ddoe canfyddais rai darluniau anghelfydd o'i eiddo, pa rai fyddai yn ei wneyd er difyrwch i'w frawd bychan; heddyw, wrth chwilio rhyw heu gell, canfyddais ei esgidiau wedi eu gorchuddio â llaid, fel yr oeddent y tro diweddaf y gwisgodd hwynt. Gellwch edrych arno yn rhyfedd, fod yr hyn oedd yn arferol a bod yn wrthrych hagr yn fy ngolwg, yr awr hon yn beth anwylaf genyf. Byddaf yn myned bob boreu a phrydnawn, heibio y lle y byddai fy machgen a'i gydchwareuwyr yn chwareu; ac y mae pob peth yn dwyn i'm cof ei fywyd bywiog. Nis gallaf, er fy mod yn aml yn ceisio, alw i'm cof yr un darluniad o wynebpryd fy machgen, ond yr un trist a galarus hwnw, pan y bu'm yn sarug wrtho am fyned i'r dwfr;

ac y mae meddwl am y tro hwnw yn gwaedu fy nghalon o newydd."

O! pa mor ofalus y dylem fod am y bodau bychain mae rhagluniaeth dyner yn roddi i'n gofal, fel na wnawn ddim achos profedigaeth i ni ein hunain. Pa mor ofalus y dylem fod, rhag edrych yn ddiystyrllyd a chreulawn arnynt, fel ag i ofidio yn anghyfiawn eu teimladau tyner. A pha mor ochelgar y dylem bwyso pob gweithred yn erbyn eu hegwyddor, rhag mewn mynyd o gyhyrfiad i ni gael ein harwain i fesur allan y gosbedigaeth ddyledus am drosedd wirfoddol, i amryfusedd maddeuol y galon!—*American Ladies' Book.*

---

## Y LLYTHYR AR Y RHEILFFORDD.

ODDEUTU pedair blynedd yn ol yr oedd dyn ieuanc, o'r enw George Williams, yn teithio rhwng Princeton a New York; a phan oedd ar ymadael o'r *cars*, cyflwynai dyn ieuanc yr hwn oedd yn hollol ddyeithr iddo, nodyn wedi ei ysgrifenu â *phencil* pan oedd y *cars* yn teithio. Amheuai ar y cyntaf pa un a wnai ei gymeryd ai peidio; ond cymerodd a dododd ef yn ei logell. Erbyn ei agor rywdro wedi hyny darllenai fel y canlyn :—

"FY NGHYFAILL—A ydych yn *Gristion?* Os nad ydych, a ydych yn *dysgwyl bod?* Os felly, *pa bryd?* Oni all Duw eich galw yn fuan i roddi cyfrif, a pha esgus fydd genych y pryd hyny? Oni ellwch fod yn Gristion *yn awr?* O nag oedwch chwilio am *fywyd tragywyddol*, rhag i chwi oedi yn *rhy hir*, a cheisio pan fyddo yn *rhy ddiweddar.* Derbyniwch hwn yn garedig oddiwrth un y dichon na chaiff eich gweled eto hyd ddydd y farn; ac O sefwch, a *meddyliwch!* meddyliwch!"

Gwnaeth y geiriau hyn y fath argraff ar feddwl y dyn ieuanc nad ymadawodd ag ef byth, ac a fu o'r hyn lleiaf yn un o'r pethau mwyaf uniongyrchol a weithiodd a'r ei feddwl fel moddion ei droedigaeth. Efe a gadwodd y nodyn yn ofalus gyda'i drysorau mwyaf gwerthfawr a chysegredig; ac yn ystod ei afiechyd diweddaf, yr hyn a ddygwyddodd yn diweddar; yn nhŷ ei fam, yn Utica, galwai am i'r nodyn gael ei gyrchu iddo, pryd yr eglurai yr amgylchiadau a'r dull y derbyniodd ef. Bu farw yn y fath dangnefedd, ac ar ol wythnosau o'r fath ddylanwadau grasol, er ei fod yn unig blentyn

i weddw, teimlai ei fam fod yr hyn oedd wedi ei brofi a'i fwynhau wrth wely angeu ei mab yn fwy na thal am y golled oedd yn gael. Ychydig o bersonau sydd wedi eu rhwymo wrth y byd â'r cyfryw rwymau ag oedd yn ei ddal ef yma. Yr oedd ganddo luaws mawr o gyfeillion cywir, ac yr oedd yn unig etifedd i gyfoeth mawr; ond dibrisiodd y cwbl mewn ymostyngiad i ewyllys Duw, a theimlai mai gwell oedd ymadael a bod gyda Christ na bod ar y ddaear. Bu farw ei fam cyn pen blwyddyn ar ei ol.

Yr oeddwn yn adnabyddus â'r dyn ieuanc a'i fam; ac y mae pob seiliau i gredu fod y ddau yn awr mewn gwlad well, lle na ddywed neb o'r preswylwyr, Claf ydwyf mwyach.

Gwnaed yr amgylchiadau uchod yn hysbys trwy yr *American Messenger*, ac anfonodd y dyn ieuanc dyeithr lythyr at fam G. W., yn datgan ei lawenydd fod ei ymdrech wedi bod yn fendithiol i'w mab cyn ei symud o fyd o amser i'r byd mawr tragywyddol.

Dymunwn i hyn fod yn foddion i gyfarfod â rhyw rai sydd eto yn rhedeg ar y ffordd lydan, er eu dwyn i ystyried y mawr bwys o fod yn barod i gyfarfod â'u Duw cyn yr elo yn rhy ddiweddar. Cofiwch, ieuenctyd anwyl, nad oes ond megys cam rhwng y pellaf o honom ag angeu.

*Rome.* JANE E. JONES.

---

## ESIAMPLAU O GOF WEDI EI SANCTEIDDIO.

YR Archesgob *Cranmer* a ddysgodd y Testament Newydd ar dafod leferydd, ar fôr-daith i Rhufain.

Yr Esgob *Ridley* a wnaeth yr un peth, yn rhodfeydd *Neuadd Penfro*, yn Nghaer-grawnt (*Cambridge.*)

Mr. *Beza*, pan oedd uwchlaw pedwar ugain oed, a fedrai unrhyw bennod yn Epistolau *Paul*, yn yr iaith Roeg.

Mr. *Thomas Vincent* a ddysgodd, ac a gadwodd yn ei gôf, y Testament Newydd oll, a Llyfr y Salmau. Cymerodd hyn o lafur arno, fel y mynych ddywedodd, am na wyddai efe lai nad allai y rhai oedd wedi myn'd â'i bwlpud, ddwyn ei Feibl hefyd oddiarno.——Un oedd efe o'r gweinidogion a drowyd allan o'r eglwys yn amser *Siarl yr ail.*

## Y PARCH. JOHN WESLEY.

EFALLAI na bu erioed ddyn mwy haelionus na Mr. Wesley. Efe a roddai, nid rhyw cyfran yn unig, ond y cwbl a feddai; gwedi darparu tuag ei reidiau ei hun, cysegrai y gweddill i gyd at angenrheidiau pobl ereill. Dechreuodd yn gynnar ar y gwaith da hwn. Dywedir i ni pan oedd ganddo ddeg punt ar ugain yn y flwyddyn, ei fod yn byw ar wyth ar ugain ac yn rhoddai ddeugain swllt mewn elusenau. Y flwyddyn ganlynol, derbyniai driugain punt, ond yr oedd yn byw eto ar wyth ar ugain, a rhoddai ddeuddeg ar ugain. Y drydedd flwyddyn, derbyniai ddeg punt a phedwar ugain, a roddai driugain a dwy. Y bedwaredd flwyddyn derbyniai chwech ugain punt. Yr oedd yn byw o hyd ar wyth ar ugain, ac yn rhoddi pedwar ugain a deuddeg i'r tlodion. Bu fyw yn gynnil tros y gweddill o'i oes; a thybir iddo, yn ystod haner cant o flynyddau, dreulio mewn elusenau fwy na deng mil ar ugain o bunnoedd.

---

## DETHOLION.

WYLO GYDA'R RHAI SYDD YN WYLO.—Gadewch i ni ddyoddef gyda'r rhai sydd yn dyoddef, a chael ein croeshoelio gyda'r rhai sydd yn cael eu croeshoelio, fel y byddo i ni gael ein gogoneddu gyda'r rhai sydd yn cael eu gogoneddu.—*Macar.*

DIWYDRWYDD.—Efallai mai yr egwyddor fwyaf pwysig mewn bywyd yw, fod genym yn barhaus ryw waith.—*Syr H. Davy.*

GWAITH I BAWB.—Nid yw rhagluniaeth wedi rhoddi gallu i un dyn wneyd llawer, fel y byddai lle i bob dyn wneyd rhywbeth.—*Dr. Johnson.*

DYSTAWRWYDD Y BEIBL.—Y mae y fath gyflawnder yn y Llyfr hwnw, fel y mae yn fynych yn dyweyd llawer wrth beidio dyweyd dim; ac nid yn unig mae ei ymadroddion ond mae ei ddystawrwydd yn rhoi addysg, fel y deial yr hwn y mae ei gysgod yn gystal a'r goleuni yn rhoi cyfarwyddiadau i ni.—*Boyle.*

DYDD GWAITH.—Bywyd nid yw ond diwrnod byr; ond y

mae yn ddiwrnod gweithio. *Gall* ysbryd gweithgar ein harwain i ddrwg; ond *nis gall* ysbryd anweithgar ein harwain i dda.—*Hannah More.*

Y Sabboth.—Arferai Syr Robert Peel ddyweyd, "Nid adwaenwn erioed ddyn yn gallu osgoi methiant mewn corff a meddwl, os byddai yn gweithio saith diwrnod yn yr wythnos."

---

## GALARGAN,

***Am Mrs.* Martha Evans, *Lee, gynt o'r Quaker Hill, Swydd Oneida, N. Y.***

Angeu creulon pa'm y daethost
I fy mhabell i mor hy?
Myn'd a'r unig wraig fy mynwes
Tua'r byd tragwyddol fry;
Heb fy nghenad gwnaethost hyny,
Gwn dy fod yn ddigon hy',
Tori undeb priodasol
Er ei fod yn hollol gu.

'R wyf yn teimlo dy archollion,
Na adferir mwy mo hyn
Hyd y dydd pan ddelo angeu
Ataf fi a'i gleddyf llym:
Mae fy mhlant yn gwir alaru
Am eu mam sydd yn y pridd;
Er hyn i gyd ni chant ei chwmni
Hyd nes gwawrio'r olaf ddydd.

Dysg a chyfarwydda, Arglwydd,
Ni' alaru yn ein lle,
Heb galedu na rhyfela
'N erbyn rheol ddoeth Ne';
Mae dy drefn yn ddoeth ragorol,
Dysg ni i'w gweled yn ei lle,
Fel y b'om yn dod yn uniawn
At reolau pur y Ne'.

Cawsom hi am saith flynyddau
I'n dyddanu yn y byd,
Gwir na chawn ni mwy ei chwmni
Tra b'om yma'n byw yn nghyd,
'R y'm yn ngwlad y gorthrymderau,
A gelynion o bob rhyw,
Hithau sydd yn ngwlad goleuni,
Mewn cymdeithas gyda Duw.

'R wy'n hyderu bod hi heddyw
Yn y llu sydd gyda thi—
Yn derchafu a moliannu
Angeu gwerthfawr Calfari;
Dyma'r newydd mwyaf gwerthfawr
Ddaeth erioed i n clustiau ni,
Am bechadur euog, aflan,
Yn myn'd yn lan trwy allu Tri.

Rhyfeddwn ninau rym y cariad
Tra b'om ar yr ochr i yn,
Fel y b'om ni mewn tangnefedd
I'an yn gorfod croesi'r glyn;
Awn trwy'r dyfroedd heb ein boddi,
Os bydd genym obaith cry'—
Ffydd i gredu mewn Gwaredwr,
Awn i fyny at y llu.

Cedwais gwmni heb ei dd'rysu
'R un sydd heddyw yn y pridd
Bump a deugain o flynyddau,
Gyda chariad nos a dydd;
Cawsom ni mewn ugain mlynedd,
Ddeg a phedwar llawn o blant;
Magu naw o'r rhe 'ny i oedran
Mewn helbulon fwy na chant.

Claddwyd pump pan yn fabanod,
Er ein bod yn teimlo yn ddwys,
Y chweched aeth i ffordd i Kansas,
Yno'i rhoddwyd dan y gwys;
Fe fu hyny yn wir alar
Ini oll o fewn y ty,
Fod ein hanwyl fab yn gorwedd
Draw mor bell mewn daear dy.

Ond yn wir maen rhaid cyfadde',
Pan y daeth y gelyn hwn,
A dwyn i ffordd ein hanwyl Martha,
Mawr oedd pwys y dyrnod hwn;
Colli un o ben y teulu,
Oedd yn dyner gyda'i phlant,
Hyd nes daeth y gelyn olaf
Ai chymeryd hi i bant.

Ffarwel Martha, ffarwel Gr[illegible]th,
A'r babanod sydd mewn pridd;
Yr y'm ni dan driniaeth angeu,
Deuwn oll pan ddelo'r dydd;
Arglwydd tirion gwna ni'n barod
Cyn y delo'r dydd i ben,
Fel y b'om ni mewn tangnefedd
Trwy yr Iesu, byth. Amen.

Ei phriod galarus,

*Lee.* William M. Evans.

## GWYLIADWRIAETH MEWN GWEDDI.

"Gan wylied ynddi."

GWEDDI yw deisyfiad. "Gofyned." Gwrthddrych gweddi yw y Duwdod yn Mherson y Tad. "Gan weddio ar y Tad." Ffordd gweddi yw cyfryngdod y Mab. "Myfi yw y ffordd." Awdwr gweddi yw yr Ysbryd Glân. "Eithr y mae yr Ysbryd ei hun yn erfyn trosom ni âg ocheneidiau anhraethadwy.",

"Gan wylied ynddi." Gwylied rhag bod geiriau ein gweddi yn anaddas. Hynod mor boenus yw gwrando ar ambell un yn cyfarch y Mawredd. Dylid meddwl am eiriau addas i osod allan ddymuniadau y galon.

Gwylio rhag i'r meddwl gael ei lanw â meddyliau segur wrth weddio. Y mae meddyliau segur yn flinderau mawr i bob dyn duwiol.

Gwylio rhag bod pethau amgylchiadol yn aflonyddu pan yn cyfeillachu â Duw.

Gwylio rhag bod yn rhagrithiol mewn gweddi. Nid oes dim yn fwy ffiaidd gan yr Arglwyddd na gweddi ragrithiol. "Nesau y mae y bobl hyn ataf â'u genau, a'm hanrhydeddu â'u gwefusau, a'u calon sydd bell oddiwrthyf." Gweddiwyr dideimlad ydyw y rhagrithwyr.

Gwylio rhag treulio gormod o amser mewn gweddi gyhoeddus. Gweddi fer yw y fwyaf derbyniol bob amser, fel gweddiau y Beibl. Yr oedd y Cenedloedd yn meddwl y caent eu gwrandaw am eu haml eiriau. Gŵyr ein Tad nefol cyn i ni ofyn pa beth sydd arnom eu heisiau. Y mae urddasrwydd Duw a gwaeledd dyn yn gofyn am i'n geiriau fod yn anaml. "Na fydd ry brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu dim ger bron Duw: canys Duw sydd yn y nefoedd a thithau ar y ddaear; am hyny bydded dy eiriau yn anaml." Os bydd dyn yn cael blas ei hun mewn gweddi nes

peri iddo fod yn faith, ni ddylai benderfynu fod y gynnulleidfa yn cael. Y mae llawer gweddiwr a phregethwr da wedi gwneyd eu hunain yn ddiddefnydd trwy eu meithder. Dylai gweddiwr cyhoeddus feddwl am fod yn adeiladol i'r gynnulleidfa, ac os na bydd, gwell ganddynt beidio ei glywed. Y mae meithder mewn cynnal cyfarfodydd crefyddol yn achosi i lawer eu hesgeuluso. Dylai pob dyn astudio pa fodd i fod yn gymeradwy a defnyddiol.

Gwylia rhag anghofio dysgwyl am y fendith ar ol ei gofyn. Y mae peidio dysgwyl yn profi fod y gweddiwr yn amddifad o deimlad priodol o'i angen am y fendith pan yn ei gofyn.

Y mae gwir weddi i fod yn weddi y ffydd. Gwylio rhag bod yn rhy faith wrth ddiweddu cyfarfod. Y mae yn dygwydd weithiau fod y cyfarfod crefyddol (*society*), yr ysgol, y cyfarfod gweddi yn parhau yn hwy nac arferol, a chymhellir ambell i frawd i ddiweddu, treulia yntau gymaint o amser mewn gweddi a phe buasai yn dechreu oedfa, nes y bydd y gynnulleidfa bron a rhedeg allan ar ganol y weddi. Y mae cynghor Crist yn briodol, "Byddwch chwithau gall fel y seirff."

R. W. J.

---

## IAWN DDEFNYDDIO EIN HADEG.

BWRIWCH fod dyn yn myned i daith, a bod ei holl drysor yn ei feddiant wrth gychwyn, a bod peryglon filoedd i'w goddiweddyd, anialwch diffaith i fyned trwyddo, a lladron yn amcanu ei amddifadu o'i gyfoeth, a'i fod yntau yn hollol ddifater yn ngwyneb y cyfan; onid ystyriech y cyfryw yn ffol iawn. Gyfaill, ti yw y dyn os wyt yn ddiofal mewn perthynas i'th enaid. Y mae genyt drysor yn dy feddiant sydd fwy o werth na'r holl fyd, ac y mae genyt anialwch dyrys i fyned trwyddo, sef, "y byd, y cnawd, a'r

diafol" am dy oddiweddyd, am dy ddinystrio, a'th amddifadu o'th drysor, ac os colli dy enaid fe fydd yn golled anadferadwy.

Cofia, wrth derfynu, fod pob dyn yn dyfod i'r byd heb un cymeriad. Yma y mae yn sefydlu ei gymeriad, ac yn ol y cymeriad hwnw bydd ei sefyllfa dragywyddol yn ymddibynu arno. Yr Arglwydd o'i ras a'n cynnorthwyo i iawn ddefnyddio ein hadeg tra y mae yn ein gafael.

*Remsen.* JOHN ROBERTS.

---

## MYFYRDOD.

### LLYTHYR I.

TRA yn rhodio fy hunan mewn unigedd, ar noswaith loeroleuedig, yr oedd llawer math o feddyliau yn cydgrynhoi i'r myfyrdod. Pan y mae unigedd a dystawrwydd y nos yn cydgyfarfod, mae y meddwl y pryd hyny mewn lle manteisiol i fyfyrio.

Wrth feddwl am y naill beth a'r llall, tynodd y gwrthddrych oedd yn peri fod hyfrydwch y nos mor ddeniadol i mi, fy sylw, sef y lloer. Ar ol dechreu edrych arni, yr oeddwn yn methu a pheidio a syllu; oblegid fod y fath brydferthwch a rhyfeddodau yn cael eu harddangos trwyddi. Edrych ar ei ffurf luniaidd—ei gwyneb dysglaer—a'i rhodiad gweddus, arafaidd a mawreddog drwy yr eangder oedd yn peri i mi feddwl am yr Un sydd "allnog o nerth ac yn gwneuthur rhyfeddodau." Yr oedd un nodweddiad o'i heiddo yn tynu fy sylw yn arbenig, sef nodweddiad ei ffurf. Yr oeddwn yn cofio i mi tuag wythnos yn ol, fod yn edrych ar yr un gwrthddrych, ond yr oedd ei ffurf y pryd hyny yn wahanol iawn i'r hyn oedd yn bresenol. Felly, meddyliais pa un a'i un arall oedd y bresenol, ynte hono wedi newid ei ffurf wirioneddol, neu wedi newid ei ffurf ymddangosiadol. Ar ol myfyrio yn galed am enyd, daethum o hyd i'r

dirgelwch. Cefais mai yr un oedd hon a'r hon a welais o'r blaen, ac nad oedd dim cyfnewidiad ychwaith yn ei ffurf wirioneddol, ond ei ffurf ymddangosiadol yn unig oedd wedi newid. Felly troais yn uniongyrchol at yr addysg a allwn gael oddiwrth y myfyrdod rhyfedd hwn, sef peidio barnu yn ol yr ymddangosiad; canys y mae llawer iawn o bethau yn y byd yma yn ymddangos yn wahanol iawn i'r hyn ydynt mewn gwirionedd, ac weithiau yn ymddangos yn wahanol iawn i'r hyn fyddant ar adegau eraill, ac eto yr un pethau yn sylweddol.

Y mae pechod, rhagrithiwr, a diafol, heblaw llawer o bethau eraill yn gyffelyb i'r lleuad. Mae pechod pan yn rhedeg yn y ffrwd o lofruddiaeth yn ymddangos yn wahanol iawn weithiau; pan welwn ni y dyn yn tynu ei gyllell lem o'i fynwes, ac yn trywanu calon ei gymydog â hi, mae golwg erchyll arno y pryd hyny, ond edrychwn arno fel yr oedd yn ymrithio i feddwl Dafydd yn nghylch Urias yr Hethiad, a gwelwn ei fod wedi newid ei ffurf, ac ac edrych yn hynod ddymunol. Dim ond newid lle Urias yn y fyddin a'i osod yn y rhengc flaenaf; ac y mae yn debyg fod ganddo fel brenin awdurdod i osod y neb a fynai yno. Yr oedd peth yn y ffurf yma yn edrych mor ddiniweid fel y methodd Dafydd ei adnabod; ond yn ngolwg Duw, llofrudd oedd Dafydd fel y llall. "Ac Urias yr Hethiad a leddaist ti â cleddyf meibion Ammon."

Edrychwn arno wedi hyny yn ngwaith y trydydd yn enllibio ei gymydog, ac yn iselhau ei gymeriad, y mae mewn ffurf wahanol y pryd hyn hefyd; ond edrychwn ni i'r drych lle y mae yr ymddangosiadau hyn yn cael eu hegluro, ni a welwn mai yr un pechod ysgeler o lofruddio yw yn y naill fel y llall er eu holl ymddangosiadau gwahanol.

Twyll wedi hyny. Pan y gwelom ddyn yn twyllo ei gymydog trwy ddyweyd celwydd noeth wrtho, mae golwg hagr arno y pryd hwn. Ond, pan welom y llall yn dyweyd

y gwir mewn dull a fyddo yn argraffu celwydd ar feddwl ei gymydog, y mae yn edrych yn lled ddiniweid y pryd hyn; ond celwydd a thwyll yw y naill fel y llall yn ngolwg Duw, yr hwn sydd a'i olygon yn fflam dân.

Mae y pechod o halogi y Sabboth hefyd yn myned dan wisg wahanol weithiau. Pan y gwelom y dyn yn ieuo ei ychain i aredig, neu y bachgen yn myned gyda'i wn a'i gŵn am helwriaeth, yr ydym yn arswydo rhagddo y pryd hyn; ond pan edrychom ar y llall pan yn myned i ymweled â'i gyfeillion, yn myned ddydd Sadwrn, er mwyn cael y Sabboth i fwynhau eu cymdeithas ac ysgatfydd hefyd efe a â i'r moddion oddiyno fel y byddai oddi cartref. Mae golwg ddymunol iawn arno y pryd hyn, ïe, y mae yn edrych mor ddiniweid yn yr olwg yma fel y mae llawer iawn o grefyddwyr ein hoes yn ei gofleidio heb ofni. Ond, cofiwn yn barhaus am y lloer, mai yr un yw hi, er ei holl wahanol ffurfiau; felly yma, halogwr Sabboth yw y naill fel y llall yn ngolwg yr Arglwydd Dduw, am hyny gochelwn dwyll pechod.

Ond, gwelaf fod yn rhaid i mi dewi, er mor felys yw myfyrdod, canys y mae fy ysgrif yn awr hyd y terfyn gan yr "Arweinydd."

YMDEITHYDD.

---

## TROEDIGAETH ST. PAUL.

BERNIR i St. Paul gael troedigaeth ar y pummed ar hugain o Ionawr, o'r flwyddyn 36 o oed Crist. Cawn hanes y troedigaeth hynod hwn yn Actau ix. Y mae troedigaeth y fath ddyn, ar y fath amser, a thrwy y fath foddion, yn ein cynysgaeddu âg un o'r prawfiadau mwyaf cyflawn a ellir gael o Ddwyfoldeb ein crefydd. Y mae Arglwydd Lyttleton yn ei draethawd ar droedigaeth yr Apostol, yn profi tu hwnt i bob dadl wirionedd y ffaith, a bod ei droed-

igaeth yn wyrthiol, ac fel y cyfryw yn brawf diymwad o Ddwyfol darddiad Cristionogaeth; ac yn gyfiawn y dywedir na bu anffyddwyr erioed yn alluog i wrthbrofi y dystiolaeth.

*Ebensburg.* T. R. JONES.

---

## CYNGHORION A FFRAETH-DDYWEDIADAU CATO.

PETH nodedig mewn rhai gwragedd yw cynhyrfu eu gwŷr yn erbyn eu gweinidogion; na fydd ry brysur i wrandaw achwyniadau o'r fath.

Gweddus yw cofio caredigrwydd a dderbyniwyd, ac anghofio yr hwn a wnaed. Dyledswydd y neb a wnaeth garedigrwydd yw peidio gweled yr hyn a wnaeth, rhag wrth grybwyll y peth iddo gael ei dybied yn ddannodiad. Dyledswydd y neb a dderbyniodd garedigrwydd ydyw ei gyhoeddi yn mhob man, rhag iddo ymddangos yn anniolchgar a difeddwl.

Nid da bod yn rhy drachwantus am fwynhau cymun-roddion; canys mynych y dygwydd i'r hwn sydd yn hiraethu am farwolaeth arall, farw yn gyntaf ei hun, er ei fod yn ieuangach a gwrolach; canys y mae bywyd dyn yn fregus ac ansicr, ac a gymerir ymaith bron drwy bob dygwyddiad.

Nid yw anrhegion i'w gwerthfawrogi yn ol eu gwerth, ond yn ol meddwl y rhoddwr. Darllenwn am y tywysogion mwyaf wedi derbyn dwfr ar gledr llaw, ac afal a gynygid iddynt, gyda'r llonder mwyaf, ac fel y rhoddion gwerthfawrocaf.

Defn yddia y pethau a gaffot, yn gynil, ac nid yn wastraffgar, gan feddwl beunydd y bydd arnat eu heisiau, fel y chwanegot beunydd atynt; canys (fel y dywed Hesiot) bydd yn rhy ddiweddar i gynilo wedi i'r cwbl fyned.

Gwael yw gwneyd dy hunan yr hyn a ddysgi i eraill beid-

io a'i wneyd. Buchedd wael a gymer ymaith awdurdod y dysgawdwr.

Ni ddylid gofyn yr hyn sydd anonest i neb; ac ni ddylai neb gydsynio âg un gwr mewn anghyfiawnder; canys yr hwn sydd anghyfiawn a ellir yn gyfiawn ei nacau. Gan hyny na ofyn ddim gan neb ond gan yr hwn y mae dyledswydd arno gyflawni yr hyn a ofyni; nac unrhyw beth ond sydd gysylltiedig â gonestrwydd; canys gofynir hyny weithiau, a chan rai hefyd nad yw yn ddyledus arnynt.

Rhaid i ni ofalu mewn llwyddiant na ddygwyddo dim drygfyd: canys dygwydd yn fynych i hap dda droi yn ddrwg, a diwedd galarus o ddechreu gorfoleddus. Gan hyny, dylit, tra y mae dy achosion yn fwyaf llwyddianus, fyfyrio pa fodd y gellit oddef drygfyd, rhag, os daw yn annysgwyliadwy, ac anhap dy lethu yn ddysymwth, i ti suddo dano.

Y neb sydd beunydd yn ofni marw, nid yn unig ni ddianc rhag marw, ond cyll hefyd briodolder y bywyd a roddir; canys byw mewn trymfryder nid yw fyw.

Nid oes dim mwy gofidus na chyfaill anniolchgar; ond os dygwydd i ti ei gyfarfod eto, na chyfrif ei fai i Dduw fel pe dygwyddasai trwy amryfusedd o'i eiddo ef; yn hytrach ffrwyna dy hun fel na wnelych gymwynas eto i'r anniolchgar; canys y mae rhai mor ffol, os na lwydda ffortun hwy wrth wneyd daioni, a feiant Dduw, gan ddywedyd nad oes sylw ganddo ar weithredoedd da, pan y mae wedi dygwydd trwy eu bai hwy eu hunain wrth wneyd cymwynas heb ystyried i bwy.

Yr hyn a gyfrif y cyffredin o fawr werth, diystyra di; a'r hyn a ddiystyra y cyffredin, cyfrif ef o fawr werth: felly ni byddi yn rhy gynil atat dy hun, (canys defnyddi beunydd yr hyn na phrisi yn fawr) ac nid ymddangosi i neb yn gybyddlyd drwy beidio ymgyraedd yn ormodol ar ol, na chadw yn dyn-gauad y pethau y maent hwy yn eu deisyfu. Y cyffredin a gyfrifant gyfoeth o'r gwerth mwyaf, a rhinwedd a dysg o'r gwerth lleiaf. Gwrthdro di y cyfrifiad. Y mae pethau i bob

dyn fel y byddo ei farn am danynt. Y cyffredin a ystyriant y paen neu y torbwt yn beth danteithiol; ystyr dithau hwy i'r gwrthwyneb, yn bethau gwael; a meddwl fod wy iar newydd ddodwy, gwyalch, &c., y danteithion goraf. Felly nid ymddangosi i ti dy hun yn grintach pan y caffot bethau danteithiol yn dy farn dy hun, ac ni flysi ddanteithion eraill, y rhai ydynt ddiystyrllyd yn dy olwg.

Na newid yn hawdd bethau a wyddost am bethau nas gwyddost; megys cyfaill, unrhyw beth, neu ddull o fyw; canys ti a elli ddefnyddio y pethau a wyddost, y rhai wyt yn alluog i'w barnu, yn fwy manteisiol: os da ydynt, defnyddi hwynt yn iawn; os drwg, goddefi hwy yn well; canys fel y dywed Plautus, "Drygau a wyddis, nid ynt ddrygau;" ond y mae yn ansicr o ba natur y bydd y rhai nas gwyddis. Mynych y dygwydd mai y pethau a dybiaist yn oreu wrth redeg ar eu hol, a wrthodi ar brawf o honynt.

Os myni barhau cyfeillgarwch, rhaid weithiau ymostwng i'th gyfaill, a rhoddi i fyny iddo, a thithau ar dir teg; canys mwyneidd-dra ac ymostyngiad a geidw gyfeillion yn gyfeillgar. Y mae rhai i'r gwrthwyneb; dadleuant yn ystyfnig yn nghylch peth eithaf dibwys, a thorant gyfeillgarwch yn hytrach na boddio cyfaill ar un achos.

Y mae cyfeillgarwch yn gynwysedig mewn caredigrwydd yn y ddwy blaid at eu gilydd, yn ol y ddiareb, "Un tro da a haedda un arall." Oddiyma y gelwir duwies ewyllys da, "Gratia." h. y. Rhadlonrwydd i ti.

Rhaid i ti ofalu nad ymrafaeliot a'th gyfaill mewn natur ddrwg: canys o amrafaeli y mae rhyw weddillion yn aros rhwng cyfeillion a dry ewyllys da yn gasineb; ac nid yw cyfeillach wedi unwaith ei dori yn arferol o uno yn dda iawn. Gan hyny dylai pob sarugrwydd a chwerwder gael ei gadw allan o gyfeillach.

Gorchwyl enaid mawreddig, yw, pan y gall orchfygu, ddy-

oddef cael ei orchfygu, a bod yn ddisylw o'r gwrthwynebwr. Nid oes rinwedd mwy dewrwych na hwn yn mysg marwolion.

---

## GEIRIAU Y DOETHION.

ANNEDWYDD yw yr hwn sydd yn ochain am gael marw; ond annedwyddach yw yr hwn sydd yn arswydo byw.

Y rhai sydd yn deall leiaf ydynt yn gyffredin yn barnu fwyaf.

Mae trallod bychan yn neidio a chrochfloeddio, ond trallod mawr yn gorwedd yn fûd.

Cuddio pechod yw cadw sarff yn gynnes, yr hyn a wna iddi golynu yn sicrach ac yn gyflymach.

Cais ddaioni trwy lafur, canys y llafur a â heibio, a'r daioni a erys; eithr os ceisi ddifyrwch trwy bechod, y difyrwch a â heibio, a'r pechod a erys.

Mae y gŵr cywir yn siarad heb fwriad i dwyllo, ac yn gwrando heb fwriad i fradychu.

Gall gwirionedd fod mewn nychdod, ond nid all byth farw.

Hawdd yw siarad, ond nid mor hawdd yw meddwl.

Paid a dysgwyl y gelli gau pob safn os nad oes genyt loned gwlad o fwyd.

Oweisiau dimeiwerth o nôd coch y collodd llawer un ei ddafad.

Mae cyfoeth yn eiddo y neb a'i mwynhäo, ac nid y neb a'i hennillo.

Ofer dysgwyl i hen gi newid ei ddull o gyfarth.

Nid bob amser y mae het lydan yn cuddio pen doeth.

Y cyfaill a brynwyd âg aur a drodd allan yn werth dim.

Mae cariad i'w arwain â llaw, ac nid i'w yru â chwip.

Yr hwn sydd yn marchogaeth ar gyfrwy ei gymydog, nid gweddaidd i hwnw ysboncio llawer.

Talu yn rhy ddrud am fêl yw ei lyfu oddiar ddrain.

Gellir adnabod y gŵr oddiwrth wisgiad y wraig.

Gwell i lawer un fuasai cadw pwrs gwâg, yn hytrach na'i lanw, fel y gwnaeth, âg arian pobl eraill.

Gresyn yw gweled holl arian ambell un yn rhedeg i mewn yn wlybwr i dwll o dan ei drwyn.

Nid oes eisiau i ddyn gerdded ar hyd ei dô i ddangos ei fod yn hoff o'i dŷ.

Peth i'w ddysgwyl ydyw gweled y ci amrafaelgar yn dychwel adref yn gloff.

Mwy dymunol yw byw gydag ynfyten dawel na chyda ffraethen gecrus.

Yr hwn ni phrisia y ddimai, ni bydd byth yn werth y bunt.

I ddal yr ystorm, gwell bod yn helygen nag yn dderwen.

Câr dy gymydog, eto na thyn i lawr dy gloddiau a'th wrychoedd i borthi ei foch.

Ar rew mawr, y mae hoel yn werth march.

Dewis dy wraig ddydd Sadwrn ac nid ddydd Sul.

Mae un llygad meistr yn gweled mwy na deuddeg o lygaid gweision.

Nid yw genedigaeth uchel ond ciniaw salw i ymborthi arno.

Na fydd y cyntaf i fyned trwy ddwfr dwfn.

Na chyfeiria at wyneb budr gyda bys heb ei olchi.

Mae gair tyner yn well am ddiffodd tân nag ystenaid fawr o ddwfr.

Llawer sydd yn medru y Pader ac heb ddysgu y Deg Gorchymyn.

Nid digon yw i ni wneyd daioni pan gaffom gyfleustra, ond rhaid i ni chwilio am gyfleustra.

Adwaenir pa fath yw y march ar y ffordd, a pha fath yw ei farchog yn y gwestdŷ.

Cyflawna feiau bychain yn ddifeddwl heddyw, a thi a gyflawni feiau mawrion yn ddigywilydd yfory.

Pan y cei hamdden i eistedd gartref, y cydymaith goreu a elli gael fydd llyfr da.

Yr atebiad goreu yn fynych yw dystawrwydd.

Os yw y wraig am gadw calon ei gŵr, bydded ofalus i gadw ei thafod ei hun.—*O'r Drysorfa.*

---

## "DIAU FOD YR ARGLYWDD YN Y LLE HWN."

DYGWYDDODD yr hyn a ganlyn y gauaf diweddaf yn nghymydogaeth S——. Nid oedd yno ddim pregethu na moddion gras, ond ymddangosai pawb a'u holl egni am ennill y byd hwn. Nid oedd yno un math o gyfleu i glywed

yr efengyl ar y Sabboth, na gweddi nag emyn o fawl yn esgyn i'r nef o'r anneddau isel. Eto yn awr ac eilwaith gwelid ambell i Gristion unigol yma a thraw, ond nid oedd baner y groes erioed wedi cael ei dadblygu yn y gynydogaeth dywyll.

Yn ddysymwth, heb un achos gweledig, oddyeithr yn uniongyrchol oddiuchod, ymddangosai fod Ysbryd Duw yn eu plith. Daeth ychydig o hen wragedd at eu gilydd i weddio gyda chalon gynnes. Yr oedd Ysbryd Duw wedi dylanwadu mewn modd rhyfeddol ar galon bachgenyn bychan yn y gymydogaeth. Heb neb ond Duw i'w ddysgu, dygwyd ef at Iachawdwr, ac er nad oedd ond un mlwydd ar ddeg oed teimlai ei fod wedi ei ail eni. Clybu am y cynnulliad hwn gan y chwiorydd, ac aeth yno i ddyweyd am drugaredd Duw iddo ei hun. Teimlai fod yn rhaid iddo ddyweyd wrth eraill beth a wnaeth Duw i'w enaid. Adroddai gyda gwefusau crynedig a'i lygaid yn serenu. Afraid hysbysu y llawenydd oedd yn llanw y chwiorydd hyn wrth glywed y newyddion da hyn.

Ryw fodd yr oedd dyn ieuanc, anystysiol ac annuwiol, wedi dyfod i'r un cyfarfod, ac wrth glywed y cyffesiad gonest hwn dechreuai wawdio a difrio dros y lle. "Nid yw y cwbl ond gwegi a sothach," meddai "taw a siarad mor ddisynwyr;" a thrwy ei eiriau geirwon a'i chwerthiniad gorfu i'r bachgen eistedd i lawr mewn dull siomedig a'r dagrau yn treiglo dros ei ruddiau.

Yr oedd yr ymddygiad hwn mor gywilyddus fel y torwyd y cyfarfod i fyny mewn dyryswch. Pan oeddent yn ymadael dywedai y chwiorydd wrth y bachgen y byddai ganddynt gyfarfod i weddio wrthynt eu hunain dranoeth, ac am iddo beidio dyweyd wrth neb am dano. Daethant yn nghyd ar yr amser apwyntiedig, a gwnaethant erfyniadau taer at yr orsedd, yn enwedig dros y dyn ieuanc oedd wedi dyrysu eu cyfarfod y dydd blaenorol.

Yn mhen diwrnod neu ddau hysbyswyd y bachgen bychan fod y dyn ieuanc wedi galw yn y tŷ ac eisiau ei weled. Cofiai y bachgen am ei greulondeb, ac yr oedd arno ofn myned i lawr i'w weled, gan dybio ei fod wedi dyfod yno i'w wawdio a'i ddifrio. Ond yr oedd taerineb y dyn ieuanc gymaint fel y penderfynodd o'r diwedd fyned i'w weled. Daeth y dyn ieuanc yn mlaen, ac â'r dagrau yn treiglo dros ei ruddiau ymaflai yn ei law. "O Willie, ni chefais dawelwch na

chwsg er pan ymddygais mor greulon tuag atat, ar ol clywed dy brofiad. Yr wyf yn bechadur gwael a thruenus. Mae arnaf eisiau i ti weddio drosof, a dyweyd wrthyf beth sydd raid i mi ei wneuthur." Yna dywedai Willie eto ei brofiad ei hun mewn dull syml. Aethant ar eu gliniau gyda'u gilydd i ofyn am drugaredd gan y Duw sydd yn wrandawr gweddi.

Yn fuan llefarodd Duw dangnefedd wrth galon y dyn ieuanc, a daeth yn Gristion dedwydd a buddugoliaethus yn fuan. Cafodd oleuni i'w lygaid a llawenydd i'w galon, yr hyn na theimlodd erioed o'r blaen. Aeth drachefn i'r cyfarfod gweddi, yn cael ei arwain gan Willie gerfydd ei law, yn awr yn ostyngedig ac edifeiriol. Yntau hefyd a gymhellid i ddyweyd ei brofiad, a daeth yn Gristion mwyaf selog a gweithgar. Wrth fyned oddiamgylch at ei gyfeillion a'i gymdeithion, cynghorai hwy i ddyfod at yr Iachawdwr, yr hwn oedd ef wedi gael mor werthfawr.

Bu hyn yn ddechreuad diwygiad grymus a helaeth. Ymddangosai yr holl gymydogaeth megys yn siglo. Heb un pregethwr yr efengyl heblaw gweddiau a chynghorion y bobl dlodion hyn, arweiniwyd lluaws at y groes. Sefydlwyd eglwys, ac maent yn awr yn ymofyn am *weinidog sefydlog*, lle nad oedd un math o addoliad dri neu bedwar mis yn ol, hyd yn nod heb un cyfarfod gweddi i'w gael. Gwir mai o enau babanod a'r rhai yn sugno y mae Duw wedi perffeithio moliant.—*American Messenger.*

## NOS Y FORY.

PAN oedd Duw yn tywallt ei Ysbryd yn ———, Ohio, a llawer yn troi i'r arch o ddiogelwch, yr oedd boneddiges ieuanc, merch i rieni crefyddol, yn troi clust fyddar i'r holl wahoddiadau i ofyn maddeuant trwy waed Iesu.

Yn y moddion nos Sabboth sylwai y gweinidog ar ei difrifwch yn gwrando. Dywedai wrthi mewn modd difrifol, am beidio oedi yn hwy i ofyn trugaredd i'w henaid; ond hi a ddechreuodd amheu, a dadleu fod yn rhaid iddi oedi y mater hyd nos y fory.

Y nos Sabboth hwnw cymerwyd hi yn glaf mewn modd sydyn. Anfonwyd am feddyg; ond dywedai y meddyg fod ei chlefyd yn anfeddyginiaethol, a chyn codiad haul yr oedd ei henaid wedi cymeryd ei ehedfa ymaith.

Ychydig amser cyn iddi dynu yr anadliad olaf, ymddangosai mewn trallod dirfawr. Wrth weled fod yn rhaid iddi ymddangos o flaen y frawdle i dderbyn ei dedfryd, gofynai am weled y gweinidog. Pan ddaeth yno, ceisiasai ei chyfarwyddo at "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd;" ond nid oedd hi yn canfod un man i ffoi. Gydag arswyd yn ddarluniedig yn ei gwynebpryd, dywedai, "Yr wyf wedi pechu yn erbyn Duw, wrth ymryson yn erbyn ei Lân Ysbryd. Nid oes un drugaredd i mi. O! na allwn fyw fy mywyd drosodd eto! Yna gwasnaethwn fy Nuw fel yr wyf wedi ymladd yn ei erbyn." Erfyniai ar ei gweinidog i rybuddio ei holl gyfeillion ieuainc yn ei hangladd i beidio oedi ymofyn am iachawdwriaeth i'w heneidiau.—*American Messenger.*

---

## OES ANIFEILIAID.

ANAML y mae yr arth yn byw dros ugain mlynedd. Mae y ci yn byw ugain mlynedd; y blaidd, ugain; llwynog, bedair ar ddeg neu un ar bymtheg. Mae llewod yn byw yn hir—bu Pompey fyw hyd ddeg a thriugain oed. Oed cyfartal cathod yw pedair blynedd ar ddeg; y wiwer a'r ysgyfarnog, saith neu wyth mlynedd; cwningod, saith. Gwyddis am elephantiaid yn byw i'r oedran mawr o bedwar cant o flynyddau. Pan orchfygodd Alexander Fawr un Porus, brenin India, cymerodd elephant mawr yr hwn oedd wedi bod yn ymladd yn ddewr dros y brenin, galwodd ef Ajax, a chysegrodd ef i'r haul, a gollyngodd ef yn rhydd gyda'r desgrifiad hwn, "Alexander, mab Jupiter, a gysegrodd Ajax i'r haul." Cafwyd hyd i'r elephant hwn yn mhen tri chant a haner o flynyddau wedi hyny. Cafwyd fod moch yn byw hyd yn ddeg ar hugain oed; yr unicorn, ugain. Cafwyd fod ceffyl wedi byw hyd driugain a dwy—ond oedran cyfartal ceffylau yw o bump hyd ddeg ar hugain. Mae camelod weithiau yn byw hyd yn gan' mlwydd oed. Mae carw yn byw yn hir. Anaml y cyrhaedda y ddafad uwchlaw deng mlwydd oed. Mae buchod yn byw tua phymtheg mlwydd. Dywed Cuvier ei fod yn barnu fod morfilod weithiau yn byw i'r oedran o fil o flynyddoedd. Mae y mor-hwch yn cyrhaedd yr oedran o ddeg ar hugain. Bu eryr farw yn Vienna yn gant a phedair oed. Mae cigfrain yn fynych yn cyr-

haedd yr oedran o gan' mlwydd oed. Cafwyd fod aleirch yn byw dros dri chant a thri ugain mlynedd. Mae gan Mr. Mallerton ysgerbwd alarch oedd wedi cyrhaedd yr oedran o ddau gant pedwar ugain a deg. Mae y pelican yn byw yn hir. Cafwyd fod tortoise wedi byw hyd gant a saith oed.—*M. M.*

## CHWE' CHEINIOG Y DYDD.

ADRODDA un o bapyrau Llundain yr hanesyn canlynol, yr hyn a fyddai yn briodol i bobl ieuainc yn gyffredinol ei ddarllen a'i ystyried. Yr hyn a ddywedir am chwe' cheiniog yn cael ei wario yn flynyddol am un peth diles neu niweidiol (diodydd poethion er engraifft), a ellir ddywedyd am wario yr un swm am unrhyw beth niweidiol arall (megis tybacco).

Mae hen ŵr yn yr elusendy yn Bristol, a dywed ei fod er ys triugain mlynedd yn gwario chwe' cheiniog y dydd am ddiodydd, ond na fu erioed yn feddw.

Teimlai boneddwr oedd yn gwrando awydd cael gwybod pa faint a wnai chwe' cheiniog y dydd ddyfod mewn triugain mlynedd, a rhoi llog yn ol pump y cant, a chyfrif y llog at yr hawl bob blwyddyn.

Cymerodd ei bin yn ei law a dechreuodd rifo. Rhoddai i lawr ennill un flwyddyn (tri chant a thriugain a phump o chwe' cheiniogau), yr hyn a wnai naw punt un swllt ar ddeg a chwe cheiniog, o arian Prydain, yna ychwanegai y llog, ac felly o flwyddyn i flwyddyn, nes iddo gael allan fod chwe' cheiniog y dydd mewn triugain mlynedd wedi cyrhaedd y swm anferth o dair mil dau gant a phump ar hugain o bunoedd, pedwar swllt ar bymtheg a chwe' cheiniog. *Dros bymtheg mil o ddoleri!*

Meddyliwch am syndod yr hen ŵr, pan hysbyswyd iddo y buasai chwe' cheiniog y dydd, pe cawsai ei gadw yn lle ei wario yn gwneyd y swm dirfawr uchod, wedi ei roddi ar log fel y soniwyd uchod; ac felly, yn lle bod yn yr elusendy, gallasai fod ganddo dŷ o'i eiddo ei hun yn werth tair mil a phum' cant o ddoleri, a haner cant o erwau o dir yn werth dau gant a haner o ddoleri yr erw, ac y gallasai ei adael yn ei ewyllys i'w blant a'i wyrion, neu ei roddi i wneyd daioni i'w gyd-ddynion.—*The Home.*

## MEDDYGINIAETH RHAG Y DDAFADEN WYLLT.

TYNWYD ein sylw (medd y *Milwaukee Free Democrat*) yn ddiweddar at foddion llwyddiannus i wellau y ddafaden wyll, yr hyn sydd o gymaint pwys fel y carem ei wneyd mor hysbys ag y byddo ddichonadwy.

Oddeutu wyth mis yn ol, Mr. T. B. Mason, yr hwn sydd yn cadw siop yn heol Wisconsin, ac y mae yn frawd i'r adnabyddus Lowell Mason, oedd a dafaden wyllt ar ei wyneb o faint pysen. Torwyd hi ymaith gan Dr. Walcott, a gwellaodd y briw i raddau. Tyfodd drachefn; a phan oedd ef yn Cincinnati gyda'i orchwyliaeth, cyrhaeddodd i faintioli cneuen. Arosodd yno er Nadolig gyda'r meddyg, a daeth adref yn gwbl iach. Y feddyginiaeth oedd fel y canlyn:

Rhoddwyd *stiking plaster* dros y ddafaden, wedi tori twll yn ei ganol ychydig yn fwy na'r ddafaden, nes oedd ymyl gul o'i amgylch o'r croen iach allan. Yna rhoddwyd plastr wedi ei wneyd o *chloride of zinc*, *bloodroot* a blawd peilliad ar ddernyn o fwsliu o faintioli y twll oedd yn y plastr arall, a rhoddwyd ef ar y ddafaden am bedair awr ar hugain. Erbyn ei dynu ceir fod y ddafaden wedi llosgi ati, ac yn ymddangos can galeted a gwadn esgyd, a'r cylch cul o'i hamgylch yn edrych yn wyn ac wedi ei ferwi fel pe byddai wedi ei losgi ag ager boeth. Yna bydd y briw yn cael ei drwsio, a'r cylch allanol a ymwahana yn fuan a daw y ddafaden allan yn delpyn caled, ac yna gwellà y briw. Mae y plastr yn lladd y ddafaden nes yw yn disgyn ymaith fel cnawd marw, ac nid yw byth yn tyfu drachefn.

Canfyddwyd y feddyginiaeth hon gan Dr. Fell, o Lundain, ac y mae ef wedi ei harferyd er ys saith neu wyth mlynedd heb erioed fethu mewn un amgylchiad; ac ni wyddis am gymaint ag un wedi ail dyfu ar ol arfer y moddion a nodwyd.

Mae meddygon penaf Llundain yn cymeradwyo y feddyginiaeth; ond nid yw wedi ei arfer yn y wlad hon hyd yn ddiweddar.

Mae y cymhwysiad yn boenus, ond nid yw ond byr ei barhad, a'r hyn y bydd unrhyw berson sydd yn dyoddef dan yr anhwylder yn barod i'w gymeryd yn llawen yn y gobaith o lwyr waredigaeth buan.

## DIAREBION ALLMAENIG.

DIOGELACH yw llong gyda dau angor na chydag un.

Afalau melys yw y rhai hyny sydd yn cael eu gwylio.

Wedi i chwi groesi y nant cynnygiwch eich ffon i'ch cyfaill.

Nid da magu cbolion yn ystablau pobl eraill.

Ffol yw prynu aderyn os heb adargell i'w gadw.

Anfynych y mae y rhai sydd yn ofni gwenyn colynog yn archwaethu mêl.

Nid hawdd y gall ci fwyta cig rhost heb ei ladrata.

Mae un yn llanw y pwrs ac arall yn ei waghau.

Gwell yw bod yn llygadgroes na bod yn ddall.

Gwell i ddyn ddal i chwythu na llosgi ei safn.

Naill ai gwnewch eich gwaith ai rhoddwch ef i fyny.—*O'r Drysorfa.*

---

### DYMUNIAD AM GREFYDD IAWN.

O AM grefydd llawn o sylwedd,
Llawn o duedd at bob da;
Llawn o sel, a llawn o fywyd,
Llawn o ofid am fy m'la;
Llawn o ffrwythau peraidd cariad,
Llawn ymroad i dynu 'mlaen,
Llawn o bob rhyw hwyliau nefol,
Ac yn llawn o'r Ysbryd Glan.

*Remsen.* JOHN ROBERTS.

---

### I'R "ARWEINYDD," YN FYR FYFYR.

"ARWEINYDD" yw, hyd yr union—deithi,
Odiaethawl fyfyrion,
Ddyg gelfydd, ddarllenydd, llon,
I wleddoedd dafelyddion.

I wiwlanc, ar ei aelwyd—'e rana
I'r enaid felysfwyd,
Bydd mor hoff, a hen broffwyd:—
O'i weithiau coeth, ei chwaeth cwyd.

"ARWEINYDD" yw, a rhyw anwyl—nodion,
Purion, ar bob perwyl:—
'E ddaw a hi iddei hwyl,
Mynwesaf y' min noswyl.

*Bradford Pa.* IOAN BACH.

## PREGETH FER.

RHUF. xiv. 17. "Canys nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod; ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân."

TESTYN dadl yn amser Paul oedd, A ddylesid cyfrif "bwyd a diod," yn rhan o grefydd, ai ni ddylesid? Mae y bennod lle mae ein testyn yn cynnwys amryw gyfarwyddiadau er terfynu yr amryson, a chyfarwyddiadau pa fodd i iawn ymddwyn y naill at y llall fel rhai oedd yn proffesu yr efengyl. Mae yn y testyn dri pheth pa rai sydd fel y canlyn:—

I. Beth olygir wrth "deyrnas Dduw."

II. Y pethau sydd yn gynnwysedig yn y deyrnas uchod.

III. Fod yr hyn a gynnwys "teyrnas Dduw" yn galw ar ei deiliaid i fod yn heddylchlawn a'u gilydd.

I. Wrth deyrnas Dduw, yn ein testyn yr ydym yn deall *gwir grefydd*. Am ymarferiadau allanol crefydd oedd y ddadl.

Weithiau golygir wrth deyrnas Dduw, y pethau canlynol yn yr Ysgrythyrau.

1. Yr efengyl. Luc ix. 2.
2. Nef y gogoniant. Luc xiii. 28.
3. Gras Duw yn y galon. Luc. xvii. 21.

Y ddadl oedd yn yr eglwys pan ysgrifenodd Paul ein testyn atynt, ydoedd yn nghylch "bwyd a diod." Dichon bod yr Iuddewon am gynnal yn mlaen yr hen arferiad oedd yn amser y seremoniau gyda golwg ar y creaduriaaid a neillduodd Moses, iddeu cymeryd yn ymborth. Gwel Lef. xi. Yr ydym yn credu y dylai pob dyn ofalu pa beth a fwytâ, sef na ddylai neb ymborthi ar yr hyn all fod yn niweidiol iddo; ond nid y'm yn credu y dylai neb wneyd bwyd yn grefydd, nâ diod chwaith. Mae galwad neillduol ar bob dyn i ochelyd pob diod niweidiol, megys diod feddwol; ond nid yw diod o un math yn grefydd i gadw yr enaid.

Gall dyn fod yn yfed dwfr, a dim arall fel diod, a bod yn annuwiol; ond ni all y diotwr fod yn ddyn sobr yn ngolwg yr Arglwydd.

II. Dywed yr apostol am dri pheth sydd yn gynnwysedig yn nheyrnas Dduw:

1. "Cyfiawnder." Dichon mai cyfiawnder ymarferol olygir yma, yr hwn sydd bob amser yn amlygiad o gyfiawnder egwyddorol yn y galon. "Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder, sydd gyfiawn." 1 Ioan iii. 7.

2. "Tangnefedd." (1.) Tangnefedd mewn modd cadwedigol yn Nghrist. 2 Pedr iii. 14.

(2.) Tangnefedd yn y gydwybod. Rhuf. xv. 13.

(3.) Tangnefedd a'n cyd-greaduriaid. Mat. v. 44.

Mae y rhai sydd mewn heddwch a Duw, mewn tangnefedd yn eglwys Crist ar y ddaear. "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr, canys hwy a elwir yn blant i Dduw." Mat. v. 9.

Un tangnefeddus neillduol oedd Iesu Grist yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, ac mae ef wedi anog ei ddysgyblion i fyw yn gariadus a'u gilydd. Ei ddymuniaid ef ydoedd, "Fel y byddont oll yn un." Ioan xvii. 21.

3. "Llawenydd yn yr Ysbryd Glân."

(1.) Yr Ysbryd Glân, sydd yn gweithredu yn yr enaid nes peri llawenydd. "Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon, mwy na'r amser yr amlhaodd eu byd a'u gwin hwynt." Salm iv. 7.

(2.) Llawenydd nefol yn ei natur mae pobl Dduw yn fwynhau ar y ddaear. 1 Ioan i. 4.

(3.) Llawenydd parhaus yw eiddo y saint. Ioan xvi. 22. Pe byddem yn byw yn ol y gair, fe fyddai ein llawenydd yn llawer mwy. Mae y saint yn rhodio mewn trallod yn aml oblegid eu pechodau.

III. Fod yr hyn sydd gynnwysedig yn nheyrnas Dduw yn profi y dylai y dedliaid fod yn hyddychlawn a'u gilydd.

1. Yr oedd Paul yn ysgrifenu at yr eglwys i Rufain, er

mwyn terfynu yr ymddadleu oedd yno am "fwyd a diod." "Os yw bosibl, hyd y mae ynoch chwi, byddwch heddychlawn â phob dyn."

*Ohio.* ALLTUD.

---

## CHWEDL BABAIDD.

ANWYL gyd-ieuenctyd, gan eich bod wedi clywed yn helaeth trwy gyfrwng yr "Arweinydd," ar y pwnc hwn, gan un mwy medrus na myfi, a'ch bod yn ddiamheu wedi teimlo dyddordeb mawr yn yr hyn a glywsoch fel fy hunan, fe deimlais awydd i adrodd chwedl (yr hon a ddarllenais amser yn ol), er mwyn i'r hen wr gael ei wynt ato, yn lle bod yn gyru arno yn rhy galed, ac hefyd yr oeddwn yn meddwl y bydd lai yn dda genych ei chlywed, a dyma hi: Cyfrifir yn rhinwedd mawr yn mhlith y Pabyddion dalu arian am wellio eneidiau y meirwon allan o'r purdan. Pan yr oedd *Count* yn teithio yn yr Ysbaen, dygwyddodd iddo unwaith fyned heibio i eglwys Babaidd, a chanfod math o ddysglau crogedig yn ymyl y drws, ac ysgrifen Lladin uwch ben iddo. Gofynodd i offeiriad oedd yn sefyll gerllaw, Pa beth oedd hyn yn arwyddo? Yntau a atebodd, mai yma dodid arian y cyfryw a ewyllysiant wneuthur trugaredd a'r meirwon, trwy waredu eu heneidiau o'r purdan. "Aiô," ebe y *Count* (yr hwn oedd ddigrifwr cyfrwys iawn), ychydig o flynyddoedd yn ol, bu farw fy nhad, yr hwn oedd yn hoff o honwyf. Mi roddaf y darn aur hwn er mwyn gwaredu ei enaid ef o brofedigaeth y purdan. • Yr offeiriad a edrychai yn siriol ar y darn aur, ac a sicrhaodd i'r *Count* fod ei dad wedi ei waredu o'r awr hono. "Mi roddaf ddarn arall," ebe y *Count* "er gwaredu fy anwyl fam o'r unrhyw brofedigaeth." Yr offeiriad a sicrhaodd ei bod hithau yn ddedwydd o'r awr hono allan. "Wel," ebe y *Count*, "Yr oedd genyf ewythr hefyd, yr hwn a'm carodd yn fawr, ac a adawodd arian,

a meddianau helaeth i'm meddiant; mi roddaf ddau eto er sicrhau ei fod yntau yn ddedwydd." "Ydyw yn ddiamheu," ebe yr offeiriad. Enwodd y *Count* dri neu bedwar yn ychwaneg o berthynasau, ac a roddodd ddarn am bob un o honynt. O'r diwedd, ebe efe, "Mi a roddaf y ddau ddarn hyn eto, os sicrhewch fod yrholl garedigion hyn yn ddyogel yn ardaloedd gwynfyd." "Diamheu eu bod," atebodd yr offeiriad. "Os felly," ebe y *Count*, gan drosglwyddo yr arian yn arafaidd i'w logell, a dywedyd, "ynfydion iawn a fyddant, os deuant byth oddi yno," ac a gerddodd ymaith gan adael yr offeiriad syfrdanedig i fyfyrio mewn unigrwydd ar ei ffolineb.

☞ Gwelwn oddiwrth y chwedl hon y twyll ofnadwy a melledig sydd mewn Pabyddiaeth. Gwyliwn, anwyl gyd-ieuenctyd, rhag cael ein llusgo ganddo.

*Rome.* G. R. WILLIAMS.

---

## CYNGHORION BUDDIOL.

PAID ag ymddiried hyd yn nod i achos da, fel ag i esgeuluso y moddion; rhyfyg, ac nid duwioldeb fyddai hyny.

Os myni i eraill beidio dywedyd yn ddrwg am danat ti, dysg y gelfyddyd o ddywedyd yn dda am danynt hwy, neu o leiaf, beidio dywedyd yn ddrwg am neb.

Rhaid i ti foddloni clywed peth na ddymunet, os gwnei beth na ddylit.

Na wna gyfaill o'r neb a wyddost a wnaeth yn anffyddlawn ag arall.

Dywed dda a gwna dda; y mae y naill yn dyngos pen da, a'r llall galon dda, a'r ddau yn tarddu o feddwl rhagorol.

Paid ag ymddangos yn fwy nag ydwyt, rhag i ti godi dysgwyliad nas gelli ateb iddo, a thrwy hyny colli dy glod mor gynted ag y cefaist ef.

Os nad wyt yn berffaith ddedwydd, ymgysura am nad wyt yn berffaith annedwydd.

Os wyt yn gyffesu dy bechodau ac heb eu gadael, yr wyt yn gwawdio Duw.

## YSTORI O'R GYFFESGELL.

RHAID i ti, ddarllenydd, ddyfod gyda ni yn awr i'r Iwerddon, os wyt am ystori darawiadol mewn cysylltiad a'r gyffesgell.

Fel yr oedd Terry O' Fleary yn gynnar iawn un boreu ar waith yn ei ardd gloron, daeth ei gymydog Mike Cassy, yr hwn oedd yn ei ddillad goreu, ato i'r ardd, ac a ddywedodd wrtho,

"Beth? Terry, ddyn! ai yma yr wyt ti yn poeni gyda y *pratis* (tatws) yna, pan y mae claddedigaeth Phelim O' Lachlan i gymeryd lle heddyw! Bydd yno bobl lawer, a digon o chwisci da. Tyred, fachgen; fe wna y *pratis* aros yna am danat."

"Och! na, Mike; rhaid i mi godi y rhes yma tuag at frecwast y plant, ac wedi hyny rhaid i mi fyned i gyffesu at y Tad O' Higgins, yr hwn a ddywedodd wrthym fod y cyffesu i gymeryd lle heddyw yn ei dŷ ef ei hun."

"Yn mhell y bo y cyffesu!" ebe Mike, yn Babydd digon anrasol; "yn sicr fe all y gyffes aros hefyd hyd ddiwrnod arall."

Ond nid oedd dim perswadio ar Terry; ac felly i ffordd â Mike i'r cynhebrwng; a Terry wedi iddo orphen gyda "y *pratis*," a aeth drosodd at y Tad O' Higgins, lle yr anfonwyd ef i'r gegin i aros ei dro i gyffesu. Nid hir y bu yn sefyll o flaen y tân yno cyn y denwyd ei sylw at ddernyn deniadol o gig moch oedd yn grogedig yn nghongl y simnai. Edrychai Terry arno drachefn a thrachefn, gan ddywedyd ynddo ei hun,

"*Pity* na chae'r plant gartref y darn *bacon* yma gyda y *pratis!* Ond, mwrdwr mawr! a gymeraf fi ef? Yn sicr i migall yr offeiriad wneyd hebddo, ac fe fyddai yn amheuthun melys i Judy a'r creaduriaid bach accw, heb son am danaf fi, Terry, sydd heb brofi dim tamaid tebyg iddo er ys llawer dydd."

Trodd Terry ei olwg at y *bacon* drachefn, ac yna a symudodd haner llathen yn mhellach oddiwrtho, gan ddywedyd,

"Na, ni chymeraf fi mo'no—pam y gwnawn, gan mai yr offeiriad, ac nid y fi a'i piau? a phechod mawr fyddai dwyn

dim oddiar y Tad Sanctaidd yn sicr. Na, ni chymeraf fi mo'no; a rhaid mai yr hen fachgen, a neb arall, sydd yn fy nhemtio. Ond nid oes dim niweid i mi roi fy llaw arno i'w deimlo, sut bynag;" ac felly y gwnaeth, gan ddywedyd, "Och! mae yn *beauty;* a beth yn well a allaf ddwyn adref i Judy a'r plant? ac yn sicr ni byddai yn bechod wedi ei gyffesu a chael maddeuant."

Wel, aeth y demtasiwn yn rhy gref i Terry; ac i mewn â'r cig moch i logell ei gôb fawr; ond prin yr oedd efe wedi ei estyn i orwedd yno, pan y rhedodd y forwyn i mewn i ddyweyd wrtho mai ei dro ef yn awr oedd i fyned at y Tad Parchedig i gyffesu.

"Mwrdwr mawr!" ebe efe ynddo ei hun: "dyma fi wedi gwneyd pen am danaf fy hunan. Yn awr Terry bach, beth a wnai di bellach os gwyddost? Mair anwyl! beth a wnaf? ond rhaid i mi dreio gwneyd y goreu o honi rywsut;" ac i fewn at y Tad Sanctaidd yr aeth.

Syrthiodd ar ei liniau o flaen yr offeiriad, ac a adroddodd ei bechodau fel y byddai yn arfer; ac yr oedd yr offeiriad ar roddi maddeuant iddo, pan yr ymddangosodd y pechadur cyffesol yn adgofio rhywbeth yn sydyn; ac a lefodd allan—

"Och! aroswch, Dad O' Higgins, anwyl! er mwyn daioni, aroswch! y mae genyf eto un pechod mawr i'w gyffesu, ond fy mod yn dychrynu, syr wrth feddwl am ei ddyweyd, o ran na wnaethum erioed y fath beth o'r blaen, syr; naddo erioed."

"Wel, Terry," ebe y Tad O' Higgins, "rhaid i chwi gyffesu y pechod hwnw, beth bynag ydyw."

"Mi a wnaf, ynte, eich parchedigaeth (*your riverence*); ond, syr, y mae arnaf gywilydd hefyd."

"Adroddwch pa fodd bynag," ebe yr offeiriad.

"Wel, ynte, eich parchedigaeth, mi aethym un diwrnod i dŷ rhyw ŵr boneddig ar neges yn perthyn i mi fy hunan; a chan fod rhai eraill gydag ef pan y cyrhaeddais yno, yr oedd raid i mi fyned i aros am dipyn i'r gegin. Wel, syr, beth a welais yno, ond dernyn o *facion* anwyl ar yr hoelen yn nghornel y simnai; ac mi edrychais ac edrychais arno, eich parchedigaeth, gan gofio am y teulu gartref acw oedd yn gorfod gwneyd gyda y *pratis* heb ddim o'r fath, nes yr oedd dŵr glas yn rhedeg o'm danedd. Nis gwn yn iawn sut y bu, syr, ond yr wyf yn credu mai y gwr drwg a'm

temtiodd; sut bynag, mi a'i rhois yn fy llogell, ac a'i dygais ymaith; ond os gwelwch yn dda, syr, mi a'i rhoddaf yn awr i chwi;" ac efe a roddes ei law yn ei logell."

"Ei roddi i mi!" ebe yr offeiriad, "na roddwch yn sicr; ni chymeraf fi mo hono; rhowch ef yn ol i'w berchenog."

"Wel, ynte, syr, mi a'i cynnygiais iddo, ac ni wnai ei dderbyn."

"Wel, ynte," medd yr offeiriad "ewch ag ef adref i'w fwyta gyda ch teulu."

"Diolch yn fawr i'ch parchedigaeth!" ebe Terry, "mi a wnaf yn sicr fel yr ydych yn dyweyd; ond yn gyntaf dim, mi a dderbyniaf eich maddeuant, os gwelwch yn dda, syr."

Cafodd a derbyniodd Terry y maddeuant, ac a aeth adref gan lawenychu ei fod wedi medru cadw y *bacwn*, a chadw ei enaid hefyd, fel yr oedd yn credu; a mawr fel yr oedd Judy a'r plant yn canmawl anrheg yr offeiriad.

Ac y mae y gyffesgell, meddir, yn dyfod i mewn yn gyflym i Eglwys Loegr yn y dyddiau hyn! Wel, Wel!!—*O'r Drysorfa.*

---

## Y LLWYBR I WNEYD DAIONI.

### AWGRYMIAD I IEUENCTYD.

PAN y daeth ein bendigedig Arglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist o'r nefoedd i'r ddaear i achub pechaduriaid, efe a aeth o amgylch i wneuthur daioni. Y mae pawb sydd yn ei garu yn dymuno bod yn debyg iddo yn hyn.

Efallai y dywedwch, Gobeithio y gwnaf ddaioni wedi tyfu i fyny, ond pa beth a allaf wneyd yn awr, pan nad ydwyf ond megys plentyn?

Os dywedaf wrthych, a wnewch chwi ymgeisio? Os na wnewch, mi'ch cynghorwn i roi o'r neilldu yr erthygl hon yn bresenol, a'i chadw yn ddiogel nes y gellwch wneyd eich meddwl i fyny; canys dywed y Beibl, "I'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo." Chwi wnewch geisio? Gan hyny mi ddywedaf wrthych pa fodd y gall plentyn wneyd daioni:—

Onid ydych yn adnabyddus o ryw ŵr tlawd yn byw yn eich hymyl heb fedru darllen? Eistedda trwy y dydd yn ymyl y tân, am ei fod yn eiddil ac heb fedru gweithio. Truan

ddyn, y mae ei oriau yn myned heibio yn hwyrfrydig; canys y mae gan ei wraig ddigon i'w wneuthur i ofalu am y tŷ, ac mae y plant wrth eu diwrnod gwaith, ac felly nid oes ganddo neb i fod gydag ef, i ymddyddan ag ef, na'i gysuro.

Pan byddoch gartref ar ol yr ysgol, dywedwch, A welwch chwi yn dda fy mam, i adael i mi fyned i ymweled a'r dyn tlawd yn——, neu y plentyn claf yn——, neu y wraig sydd yn orweddiog yn——? Yna, os cewch ganiatad, ewch, a chymerwch y Beibl gyda chwi, a gofynwch a gewch chwi ddarllen ychydig iddynt. Byddwch ofalus i ddarllen yn bwyllog a dealladwy. O fel y gwnai hyny lawer calon drom i fod yn llawen, os ceisiwch wneyd daioni yn y modd yma unwaith neu ddwy yn mhob wythnos!

Ond dywedaf wrthych am lwybr arall drwy ba un y gallech wneyd daioni. Mae yn bur debyg eich bod yn hysbys o rai plant yn yr un heol o chwi, nad ydynt yn myned i'r Ysgol Sabbothol; dywedwch wrthynt hwy, Yr ydym mor ddedwydd yn ein Hysgol Sabbothol, mi garwn pe deuech yno gyda mi. Y mae ein gweinidog yn dyfod atom, ac y mae ein hathraw yn bur dirion wrthym. A gaf fi fyned i mewn, a gofyn yn eich tŷ chwi, a gewch chwi ddyfod i'r ysgol gyda mi, ac yna mi allaf alw am danoch yn y boreu wrth fyned heibio?

Efallai yn y modd yma y gallech ddwyn rhai plant i'r ysgol, y cyfryw, os gadewir hwy iddynt eu hunain, a dyfant i fyny yn anwybodus, yn ddiog, ac yn annuwiol.

Wrth geisio gwneyd daioni i eraill y ceir hyd i'r iawn ffordd i'n gwneyd ni ein hunain yn ddedwydd; oblegid galarus iawn ydyw i neb segura ymaith yr oriau na ddychwelant byth yn ol. Dywed eich athraw wrthych, pa fodd y gellwch wneyd daioni yn yr ysgol, ond gwedi y cwbl, gartref ydyw y man i wneyd y daioni mwyaf. Ufuddhau i rieni ydyw gwneyd daioni; bod yn dirion at frawd neu chwaer, ydyw gwneyd daioni; hyd yn nod y mae chwareu mwyn ac yn ei iawn amser yn wneuthur daioni. Chwi welwch, gan hyny, fod yn ngallu plentyn pur fychan i wneyd daioni. Mewn gair, bydded y peth càn lleiad ag y bo, *gwneyd y peth iawn, yn yr iawn adeg*, ydyw gwneyd daioni.

Dywedais ychydig eiriau yn nghylch y *peth* iawn, yn awr dywedaf ychydig eiriau am y *ffordd* iawn. Wrth y ffordd iawn, nid ydwyf yn meddwl "y dull goreu," er fod hyny o

bwys, ond mai "calon newydd ac ysbryd uniawn" sydd fwyaf angenrheidiol o gwbl; canys "Duw a edrych ar y galon." Gweddiwch yn daer, gan hyny, am i sanctaidd Ysbryd yr Arglwydd breswylio ynoch, canys hebddo ef nis gellwch wneyd dim sydd dda. Rhoddwch eich hunain i fyny i Dduw fel yn eiddo iddo, yn brynedig â gwerthfawr waed Iesu, ac ymdrechwch bob dydd i fyw er ei ogoniant.—*Christian Treasury*.

---

## DYLANWAD ADDYSG DEULUAIDD.

AMRYW flynyddau yn ol, ymadawodd gwr o'r Almaen â'i wlad, a daeth ef a'i deulu i fyw i dalaeth Pennsylfania. Yr oedd yn ddyn tlawd a llawer o deulu ganddo. Nid oedd dim ysgolion dyddiol na Sabbothol yno, nac addoldai. Gan hyny yr oedd y gwr yn addysgu ei deulu gartref, ac yn ei gadw ar y Sabbath fel cynnulliad o addolwyr, canys yr oedd yn ddyn da iawn. Yn y flwyddyn 1754, torodd rhyfel echrydus allan yn Canada rhwng y Ffrancod a'r Saeson. Ymunodd yr Indiaid â'r Ffrancod—arferent fyned i Bennsylfania, gan losgi y tai, lladd y trigolion, a dwyn pob peth a ddymunent. Cawsant afael o'r diwedd ar drigfa y teulu tlawd yma. Yr oedd y gwr, a'i fab hynaf, a dwy ferch fechan o'r enw Barbara a Regina yn y tŷ; ond yr oedd y wraig a'r mab arall wedi myned âg ŷd i'r felin ychydig filldiroedd oddiyno. Lladdodd yr Indiaid y tad a'r mab yn y fan, ac a aethant a'r ddwy eneth ymaith, un yn naw a'r llall yn ddeg oed, yn nghyda lluaws o blant eraill oedd yn wylo ar ol eu rhieni oedd yr un modd wedi eu lladd. Ni wybuwyd byth beth a ddaeth o Barbara, y ferch henaf; ond rhoddwyd Regina yn nghyda merch fechan arall dwy flwydd oed hollol ddyeithr iddi, i hen wraig Indiaidd, yr hon oedd yn bur greulawn. Yr oedd ei hunig fab yn byw gyda hi ac yn ei chynnal; ond yr oedd weithiau oddi cartref am wythnosau, ac yn y cyfamser anfonai yr hen wraig y ddwy eneth fechan i'r coed i gasglu gwreiddiau a llysiau er mwyn eu bwyta; a phan nad oeddent yn casglu digon, byddai yn eu curo yn greulawn. Ond nid oedd Regina yn medru anghofio ei thad a'i mam; ac yr oedd yr eneth fechan yn ymgadw yn ei hymyl beunydd. Yr oedd yn dysgu yr eneth bach i fyned ar ei gliniau dan y coed i weddio ar yr Arglwydd Iesu, ac i gydadrodd â hi yr holl

emynau oedd ei rhieni wedi wedi dysgu iddi. Parhaodd y ddwy yn y cyflwr caethiwus yma dros naw mlynedd, nes yr oedd Regina yn bedair ar bymtheg, a'i chyfeilles fechan tuag un ar ddeg mlwydd oed.

Yr oeddent trwy yr holl amser fel pe buasent yn dymuno cyrhaedd rhyw ddaioni. Yr oeddent yn adrodd yn barhaus gymaint o adnodau o'r Beibl ag oedd Regina yn gofio; ond yr oedd ganddynt un emyn hoff iawn, a byddent yn adrodd hono yn bur fynych.

Yn y flwyddyn 1764 arweiniodd rhagluniaeth y nef y milwriad Seisonig Bouquent i'r wlad hono. Fe orchfygodd yr Indiaid, a gorfu iddynt ofyn am heddwch. Caniataodd hyny, ar yr ammod fod iddynt ddychwelyd yr holl ddynion gwynion oedd ganddynt fel caethion. Dygwyd dros bedwar cant at y milwriad; ac yn eu plith y ddwy eneth fechan. Aeth y milwriaid a hwy i dref yn Pennsylfania a elwir Carlisle, er mwyn i'r rhieni oedd wedi colli eu plant fel hyn gael gweled a oeddent ymhlith y rhai hyny. Aeth mam dorcalonus Rigina dlawd, erbyn hyn yn weddw, i Carlisle, yn mhlith eraill i chwilio am ei dwy ferch! Wedi myned yno yr oedd yn methu yn lân adnabod Regina. Yr oedd wedi prifio, yn gwisgo ac yn siarad fel yr Indiaid. Aeth y fam i fynu ac i lawr yn mhlith y gaethglud dan wylo; ond methai adnabod ei merch. Safai dan synu a wylo, pryd y daeth y milwriad ati a dywedodd, "A ydych chwi yn cofio dim trwy ba un y gellid gael gafael yn eich merch?" Dywedodd hithai nad oedd hi yn gwybod am ddim, oddyeithr emyn hoffus a arferai ganu gyda'i phlant. Yr hon oedd fel y canlyn :—

Unigol, ond nid unig wyf,
  Er mewn neillduedd echrys-lawn;
'Rwy'n teimlo 'Ngheidwad lle y bwyf
  Yn gwneyd fy oriau 'n ddifyr iawn;
    Myfi ag ef, ac ef a mi—
    Iё, yma 'n unig nid wyf fi.

Dymunodd y milwriad arni ganu yr emyn fel yr arferai gynt yn ei theulu bach. O'r braidd yr oedd wedi myned dros ddwy linell, nes bod Regina yn rhuthro o'r dyrfa, gan ganu yr un modd, ac ymaflyd i freichiau ei mam. Wylodd y ddwy mewn llawenydd wrth gofleidio eu gilydd. Ond nid oedd rhieni yr eneth fach arall yno; mae yn debyg eu bod

wedi eu lladd. Ymaflodd yn Regina; gwrthodai ymadael er dim; cymerwyd hi adref gyda Regina er bod y fam yn bur dlawd.

Dechreuodd Regina ymofyn am y llyfr y bu yn dysgu adnodau o hono; ond nid oedd gan ei mam yr un Beibl, canys yr oedd yr Indiaid wedi ei losgi, a phobpeth arall yn y tŷ pan y lladdasant ei gwr a'i phlant. Penderfynodd fyned i Philadelphia i geisio un, a phan ddeallodd ei gweinidog ei hamgylchiad, rhoddodd un iddi. Ac er syndod nid oedd Regina wedi anghofio y ffordd i ddarllen.

---

## PARCHU Y BEIBL.

YSGOLAIG Sabbothol bychan a anfonwyd ryw ddiwrnod gan ei fam i'r Siop i ymofyn sebon; y Siopwraig ar ol ei bwyso a gymmerai ddalen o Feibl a osodasid ar y bwrdd cyfrif megys papyr diwerth; ar hyn y bachgenyn a synai yn ddirfawr, a dywedai yn gyffrous, "Meistres, y Beibl yw hwna!" "Wel, beth os mae e?" ebe y wraig. "Y *Beibl* yw," meddai y bachgen drachefn, "a pha beth yr ydych chwi yn myned i wneyd ag efo?" "Ei roddi am y sebon," oedd yr ateb. "Ond, meistres, ni ddylech chwi rwygo y llyfr yna, oblegid y *Beibl* yw," ebai y bachgen, gyda phwyslais neillduol. "Beth waeth am hyny?" ebe y wraig yn o sarug: "mi a'i prynais fel papyr diwerth i'w ddefnyddio yn y Siop." Y bachgenyn gydag egni chwanegol a lefai eto yn fwy, "Pa beth, y Beibl! buasai yn dda genyf pe buasai yn eiddo fi; ni buaswn yn ei rwygo fel yna." "Wel," ebe y wraig, "os teli am dano yr hyn a roddais i, ti a'i cei." "Diolch i chwi," ebe y bachgen, "mi a redaf adref at fy mam i geisio arian." I ffwrdd ag efe, a dywedai, "Mam, mam, a welwch chwi yn dda roddi ychydig o arian i mi?" "I ba beth?" ebei y fam. "I brynu Beibl," atebai yntau: "oblegid yr oedd gwraig y siop yn rhwygo y Beibl, a minai a ddywedais wrthi na ddylai wneyd hyny; a dywedodd hithau y gwnai hi ei werthu i mi: O, mam, rhowch i mi ychydig arian i'w brynu ef, fel na byddo iddo gael ei rwygo." Ei fam a atebai, "Nis gallaf, fy machgen bach i, nid oes genyf ddim." Y plentyn wrth hyn a griai; eto taer erfynai am arian, ond yn ofer. Yna aeth yn ol i'r siop dan igian, a dywedai, "Mae fy mam

yn dlawd, ac nis gall roddi dim arian; ond O, meistres, peidiwch a rhwygo y Beibl, canys dywedodd fy athrawon wrthyf mai gair Duw ydyw. "Y wraig, wrth ganfod y bachgian yn dra gofidus, a ddywedai, "Wel, paid a chrio; ti a gei y Beibl os deui di a'i bwysau o papyr arall." Wrth y cynnigiaid annysgwyliadwy hwn, y bachgen a sychai ei ddagrau, ac a ddywedai yn llawen, "Gwnaf hyny, meistres, a diolch yn fawr i chwi." I ffwrdd ag efo at ei fam darchefn i ofyn am bapyr; hithau a roddes gymmaint ag a feddai hi; yna aeth at ei gymmydogion i grefu am ychwaneg; a phan feddyliodd fod ganddo ddigon, brysiodd a'i sypyn dan ei gesail i'r siop, ac wrth fyned i mewn, llefai, "Yn awr, meistres, dyma y papyr." "O'r goreu," ebai y wraig, "gâd i mi ei bwyso." Troai y fantol o ochr y bachgen, a llefai allan, a dagrau o lawenydd yn dysgleirio yn ei lygaid, "Myfi biau y Beibl!" a chan ei gipio i fynu, llefai, "Myfi a'i cefais! myfi a'i cefais!" ac ymaith y rhedai tuag adref, dan weiddi ar hyd y ffordd, "Mi a gefais y Beibl! mi a gefais y Beibl!!"

---

## Y MORWR IEUANC.

LLENCYN, oddeutu 17 neu 18 mlwydd oed, a alwodd gyda gwr ieuanc i brynu Traethawd. Gofynwyd iddo, "A fuasai ef mewn un addoliad ar fwrdd llong?" "Do, y prydnawn diweddaf; doe y tiriais o'm mordaith, ac heddyw yr wyf yn rhwym i'r Alban i ymweled a'm cyfeillion. Bu fy ymweliad a Chapel Bethel* yn foddion o hapusrwydd mawr i fy meddwl." "Mae yn ddywenydd genyf i chwi ei chael felly," eb y trysorydd, "ond a oeddech chwi yn anhapus?" "Mi a adroddaf, syr, y pethau hyn a ddygwyddasant yn ystod fy mordaith ddiweddaf. Mi a hwyliais o Lundain mewn llestr Albanaidd, i'r India Orllewinol, fel ail-is-lywydd, yn adyn gwaethaf a fu ar y môr erioed, yn enwedig am dyngu. Ein Llywydd, er ei fod yn forwr da, a chymwynasgar i'w gyd forwyr, eto ni ofalai am ei enaid ei hun, nac eneidiau ei

*"Bethel."—math o long fawr wedi ei chysegru at wasanaeth crefyddol yn mhlith y morwyr. Mae amryw yn awr gwedi eu gwneuthur mewn amrywiol borthladdoedd, ac mae llawer o ddaioni yn cael ei wneuthur ynddynt, fel ag y mae y morwyr yn eu cyfrif yn well na lleoedd eraill ar y tir.

gyd-ddynion. Buom ar y môr tua 16 dydd, yna daeth y noswaith ag oedd i mi wylio ar y bwrdd; yr oedd y noson hono yn dywell a chymylog iawn, ac nid oedd ond ychydig wynt ar y pryd. Yr oedd genym amryw o'n hwyliau isaf ar godiad. Yr oeddwn yn rhodio yn mlaen ac yn ol ar yr ochr hono i'r llong ag oedd bellaf oddiwrth y gwynt, ond daeth hyrddwynt dysymwth nes peri dalfa dŷn i'r llestr, a heb barotoi i'w gyfarfod fe'm taflwyd a'r draws un o'r pyst. Gwedi teimlo niwed trwm, rhoddai agorfa i'm digofaint trwy lw ofnadwy; gan regu y gwynt, y llong, y môr, ac (truenus yw adrodd) y Bod a'n creodd. O'r braidd y daeth y rheg echryslawn hon dros fy ngwefusau, nad aeth yn saeth yn ol i fy meddwl fel rhyw olygfa ddychrynllyd, fel ag am fynyd neu ddwy y meddyliais weled y mor yn gwahanu, a'r llestr yn soddi. Cymerais y llyw oddiar y dyn oedd wrtho, a throais y llestr a'i phen yn uniawn i'r gwynt. Trwy y nos hono yr oedd fy rheg yn erchyll fel drychiolaeth arswydus o flaen fy llygaid, meddyliais mai ei chanlyniadau echrydus a fyddai fy nilys ddamnedigaeth. Yr oeddwn yn annedwydd am lawer o ddyddiau. Yr oedd arnaf ormod o gywilydd i ddywedyd yr achos. Gofynais i un o'r dynion, a oedd ganddo un llyfr a roddai i mi i'w ddarllen. Cynygiodd i mi ffugdraethawd Ffrengig gan Rousseau. Gofynais a oedd ganddo Destement neu Feibl. Atebodd fi trwy ofyn "a oeddwn i yn myned i farw. O'm rhan i," ebe efe, "ni fyddaf fi byth yn myned i drafferthu fy mhen yn nghylch y Beibl neu lyfr gweddi. Gadewais y materion hyn i'r offeiriad, i ba un y gadawais ran o'm cyflog am weddio troswyf, a phe buasech chwithau yn gwneyd felly, ni fuasach mor alarllyd." Gwyddwn fod gan y Llywydd Feibl, ond yr oeddwn yn anfoddlawn i ofyn am ei fenthyg.

"Llawer o ddyddiau a aeth heibio yn anghysurus iawn, ni fedrwn weddio, ac, yn wir, meddyliais nad atebai un dyben. Ar y pummed dydd fel yr oeddwn yn chwalu rhyw bethau yn fy nghist, gwelais yn mhlith rhyw sothach a brynaswn erbyn fy mordaith y dernyn hwn o bapyr. (Ar yr un pryd yn rhoddi ei law yn llogell ei wasgod, ac yn tynu allan o gôd goch fechan ddalen o Feibl, yn cynwys y bennod gyntaf o Esaiah agos i gyd.) O! fel y dychlamodd fy nghalon pan wybum ei fod yn ddernyn o Feibl. (Yn y fynyd hono yr oedd dagrau yn treiglo ar hyd ei ruddiau, ac yn gwasgu y ddalen

hon at ei fynwes.) Ond, Syr (meddai ef), meddyliwch beth a deimlais pan ddarllenais y geiriau hyn :—
"Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd: pe byddai eich pechodau fel ysgarlad ânt cŷn wyned â'r eira; pe cochent fel porph or, byddant fel gwlan." Esa. i. 18. (Yna fe gymerodd ychydig seibiant i sychu y dagrau ymaith.) O Syr (ebe efe drachefn), yna mi a weddiais, a'r Arglwydd, o'i fawr drugaredd, a welodd yn dda symud, mewn rhyw fesur, yr euogrwydd mawr oddiar fy nghydwybod, er i mi barhau yn alarus, ac edrych tua'r llawr, hyd y prydnawn diweddaf, ar fwrdd y *May-flower*, pan osodais fy hun i fyned i ffordd gyda theulu Bethel. Fe'm cyffrodd yn ddwfn, ac yn awr yr wyf yn hyderu fod fy mhechodau oll wedi eu maddeu gan yr Arglwydd mawr."—*Drysorfa Y. S.*

---

## ENNILL GYFOETH A'I GOLLI.

YN y flwyddyn 1786, yr oedd dyn ieuanc, y pryd hyny yn preswylio yn Nhalaeth Maine, yn berchen cyllell logell, yr hwn a gyfnewidiodd am alwyn o rum o'r India Ddwyreiniol. Gwerthodd hwnw yn symiau bychain, a chafodd ddigon i brynu dau alwyn, a chafodd fwy drachefn y drydedd waith, yn ganlynol prynodd farilaid, yr hyn a ganlynwyd mewn amser âg ychwanegiad dirfawr, Mewn gair daeth yn gyfoethog, a daeth yn *squire* y *district*, trwy ei ddiwydrwydd ar arian y gyllell logell. Bu farw yn werth eiddo yn cael ei brisio i bedwar ugain mil o ddoleri. Rhanwyd hyn trwy ewyllys rhwng ei bedwar plentyn—tri mab ac un ferch. Ymddangosai fod y llwyddiant oedd yn dilyn y tad wedi hollol adael y plant: oblegid yr oedd pob ffolineb a gwastraff a allent ei gyflawni fel pe buasai wedi meddiannu eu holl fryd a'u meddwl. Priododd y ferch mewn modd anhapus, aeth ei chyfran yn fuan ymaith trwy afradlondeb ei gwr. Nid oedd y meibion fymryn mwy llwyddiannus, a bu dau o honynt feirw mewn afradlonedd a thlodi. Mae yr olaf o'r teulu er ys llawer o flynyddau yn byw ar ewyllys da ei gydnabod yn nyddiau ei lwyddiant, oblegid yr oedd balchder yn ei gadw o'r tlotdŷ. Ychydig ddyddiau yn ol bu farw mewn modd sydyn, heb neb yn ei wylio mewn ysgubor, lle yr oedd wedi gorwedd yn ei feddwdod. Erbyn chwilio ei lo-

gellau, cymaint ellid gael ynddynt oedd dernyn o linyn *a chyllell logell!*

Felly y dechreuodd y cyfoeth gyda chyllell logell, a diweddodd yn yr un modd ag y dechreuodd.

Gadawn i'r darllenydd dynu yr addysg a welo yn briodol oddiwrth yr hanesyn uchod, ond yn unig hysbysu fod yr hanesyn yn gywir, ac yn eithaf hysbys i lawer sydd yn lled sicr o'i gyfarfod a'i ddarllen.—*Boston Ledger.*

---

## DETHOLION.

CYFADDEFIAD DYCHRYNLLYD.—Gofynwyd unwaith i hen foneddiges, paham na byddai hi byth yn darllen y Beibl. Ei hateb ydoedd, "Am na l wyf yn caru ei ddarllen. Ni chefais fy nysgu i'w garu pan yn oeddwn ieuanc, ac yn awr yr wyf wedi myned yn hen bechadures, ac nid oes dim yn hyfryd i mi yn y Beibl.—*Drysorfa.*

I WELLAU TAN IDDWF.—Dywed gohebydd i'r *Providence Journal* fod (*cranberries*) wedi eu gwneyd yn blastr a'i roi ar y tan iddwf (*erysipelas*) yn ei wella yn effeithiol.

YR IUDDEWON.—Dywedir fod 4,658,800 o Iuddewon yn y byd yn awr. Mae yn Ewrop 2,451,179 o honynt.

GOFYNWYD i foneddwr wedi methu yn ei fasnach, beth oedd yn fwriadu ei wneyd eto? Atebodd, "Arosaf gartref am dipyn i ddyfod yn gydnabyddus âm teulu."

---

### DYGWCH FEICHIAU EICH GILYDD.

PABELLU 'r wyt yn rhosydd Moab,
  Yn nghyraedd swn 'r Iorddonen ddu;
Cnawd a natur sydd yn gwywo,
  Poen a gofid lawer sy';
Teithiaist anial ddyrys arw,
  Gwlad gelynion daethost trwy;
Edom, Moab, a Philistia,
  Chwerwon wrthyt fuont hwy.

Ond yn awr ar gwr yr afon,
  Afon niwiliog, dywell ddu,

Yn yspio drwy'r tywyllwch
Am y Ganaan nefol gu:
Dringi Pisgah yn aml, aml,
I gael gweled cyrau'r wlad;
Lle mae Iesu'r cyfaill goreu,
Mewn urddas a'r ddeheulaw'r Tad.

Colled fawr i deulu Salford
Yw dy lesgedd hir a maith;
Colled ydyw i bob oedran,
Am hyfforddiant ar eu taith:
Megys llygaid oeddit iddynt,
A chafarwydd iawn a'r ffordd,
O'r Aipht ysbrydol drwy'r anialwch
I'r Ganaan nefol hyfryd hardd.

Anhawdd weithiau peidio grwgnach,
Yn ngwyneb troion Brenin nef;
Anhawdd tewi, anhaws boddloni,
Bendithio sydd wrolawith gref;
Rhodder i ti ras i 'mostwng—
Amynedd eto ronyn bach—
Yna cei am yr ucha',
Yn siriol, llon, a pherffaith iach.

Ar ol taith flinderog arw,
Ddyrys, cribog, serth, a blin;
Weithiau'n ffaelu ag anadlu—
Bron dyffygio gan mor flin—
Yn nghanol seirff ac ysgorpionau,
Llewod, eirth, a bleiddiaid blin—
Cei ar fyrder glyd orphwysfa,
Yn nhŷ dy Dad, mwyneiddiaf un.

Yn nhŷ dy Dad cei weled,
Y Duwdod yn y dyn;
Yn nhŷ dy Dad cei weled
Y teulu oll yn un;
Yn nhŷ dy Dad cei glywed
Caniadau sereiph, saint;
A thithau yn eu cwmni
O, ryfedd, ryfedd fraint.

Mae i ti etifeddiaeth
Yr ochr draw i'r llen;
Ti fyddi'n berffaith freuin,
A choron ar dy ben:
Gwir byddi'n berffaith foddlon
'Roi'th goron wrth bur draed
'R hwn roes ei fywyd drosot,
A'th olchodd yn ei waed.

*Llundain.* A. BYEWATER.

## IAWN GYFRIF EIN DYDDIAU.

[Crynodeb o bregeth a draddodwyd gan y Parch. HENRY REES, Liverpool, yn Nghymdeithasfa y Bala, am 6 ar gloch yn yr hwyr, Meh. 16eg, 1848, ac a ysgrifenwyd wrth ei gwrando.]

SALM xc. 12. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb."

FE ddylai breuolder ein heinioes a byrdra ein hoes, fod yn dra phwysig ar ein meddwl. Er mor frau yw ein heinioes ac mor fer yw ein hoes, y mae ymddygiadau llawer yn y byd fel pe byddent i fyw yma byth. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau." "Dysg i ni" eu cyfrif, fel y byddo yr ystyriaeth yn foddion i ddwyn "ein calon i ddoethineb."

Yn bresenol galwn eich sylw at ddau fater, sef—

I. NATUR Y DDYSGEIDIAETH.

II. EFFAITH Y DDYSGEIDIAETH; "fel y dygom ein calon i ddoethineb."

I. NATUR Y DDYSGEIDIAETH.

1. Dysg i ni ystyried ein heinioes drangcedig mewn cysylltiad â'r maith dragywyddoldeb. Fe all ystyried breuolder ein heinioes, heb fod mewn cysylltiad â thragywyddoldeb, fod yn aneffeithiol er ateb y dyben. Os yw ein heinioes mewn cysylltiad â thragywyddoldeb, a'n byw ni yma hefyd mewn cysylltiad a'n byw ni yn nhragywyddoldeb, y peth goreu a fyddai i ti ystyried pa fodd yr ydwyt yn teithio. Cymer yn araf, bechadur, nid yw ein heinioes ond "megys dyddim;" ond, cofia bechadur, y mae hi i ddechreu yn fuan ar dragywyddoldeb. Er engraifft, edrychwch ar y baban bychan newydd ei eni, y mae yn greadur dyddim iawn; edrychwch arno yn mhen ychydig, dacw fo yn gadael aelwyd ei fam, ac yn mhen ysbaid drachefn, ni a'i cawn ef yn ddyn heinyf, yn teithio yn gyflym tua glyn cysgod angeu, ac ar ol cyrhaedd yno, bydd ei holl orchwylion yn cael eu lapio i fyny yn un sypyn. Dyna yr amser, bechadur, y byddi di yn

dechreu byw. Er i ti dreulio miloedd o flynyddoedd yn nhragywyddoldeb, ni fyddi ond dechreu byw yno wed'yn. Pa fodd y byddi yn ymdeimlo y pryd hyny? O! gyfeillion, a ydych chwi ddim yn cael eich gwneyd yn ddifrifol weithiau?

2. Dysg i ni ystyried mor ebrwydd y derfydd ein dyddiau. Pe buasai yn werth i neb fyw yn y byd yma, fe fuasai yn werth i'r hen dadau, y rhai oeddent yn byw naw can' mlynedd ar y ddaear. Ond ni fuasai hyny ond megys dyddim mewn cydmariaeth i dragywyddoldeb. Mor ebrwydd y bydd ein dyddiau wedi eu llyngcu gan dragywyddoldeb! Y mae ein hoes fer yn myned heibio yn gyflym iawn, yn "gynt na gwenol gwehydd," yn "gynt na llongau buain." Tafl dy olwg ar ryw amgylchiad yn dy fywyd, mor ebrwydd y mae wedi myned heibio. Meddyliwch yn awr pwy oedd yn llywodraethu yn y gymydogaeth yma, neu pwy oedd yn prynu ac yn gwerthu, yn trin y ffermydd a'u llywio, pa le y maent yn bresenol? Y maent wedi bod yn byw yma, y maent wedi marw, yn bridd ac yn lludw. Felly y byddwch chwithau a minau wedi myned yn fuan iawn. Myned, myned o hyd, myned wrth gysgu, myned wrth fwyta ac yfed, myned dan bechu yn erbyn Duw. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau."

3. Dysg i ni ystyried mor ddysymwth ac mor annysgwyliadwy y derfydd ein dyddiau. Oes ddiflanedig iawn ydyw dy oes di, ac oes ansicr iawn hefyd. Fe allai y bydd rhai o honoch yn teithio heno neu fory tuag adref dros fynydd, cofia mai ar y mynydd y bu Moses farw. Cofia pan y byddi ar dy daith, mai ar ei thaith y bu Rahel farw, cyn gorphen ei thaith. Felly dithau bechadur, y mae dy oes yn ansicr iawn.

II. Effeithiau y ddysgeidiaeth.

"Fy mab os derbyni di fy ngeiriau, ac os cuddi fy ngorchymynion gyda thi; fel y parech i'th glust wrando ar ddoethineb, ac y gogwyddech dy galon at ddeall; ïe, os

gwaeddi ar ol gwybodaeth, ac os cyfodi dy lef am ddeall; os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei di ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw." Diar. ii. 1—5. "Os ceisi" di hi, hwyrach y cei di hi; o nage, nid oes dim hwyrach am dani, ti a'i cei. Edrych arnat dy hun bechadur ar gyffiniau byd tragywyddol, dyna yr ystâd yr wyt ti ynddi. A oes genyt ti rywbeth gogyfer a byd tragywyddol? Ti a fyddi yn fuan iawn fel brycheuyn ar fyd tragywyddol, a dim ond haul o'th gwmpas di yno.

*Rome.* H. J. H.

---

## TRAGYWYDDOLDEB!

ANFARWOLDEB sydd yn cyfansoddi mawredd dyn. Yr oes ddiddarfod hono, sydd yn cyrhaedd yn mlaen, yn mlaen tu hwnt i'r bedd—dyna sydd yn gwisgo y bywyd hwn â'i bwysigrwydd annhraethol. Dywedir wrthym ganddo Ef, yr hwn mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog, na therfynir byth, byth, yr hanfodiad a gychwynwyd yma ar y ddaear hon. Er y gall y ddaearen fyned yn chwilfriw mân; er y gall yr haul, yr hwn sydd trwy yr oesodd maith yn cynneu yn y ffurfafen, fyned allan mewn nos dragywyddol; er y gall yr holl fydoedd a wasgarwyd gan law yr Hollalluog trwy yr ëangderau annherfynol syrthio a gwywo fel dail yr hydref—bydd enaid dyn, heb farweiddio na gwanâu, yn eu goroesi hwynt oll. Gyda pha fawrhydi y mae hyn yn gwisgo natur dyn! Tragywyddoldeb! pwy a all amgyffred y meddylddrych? Pa ddychymyg a all ymestyn yn mlaen mewn dirnadaeth o'r oesoedd diddiwedd y mae dyn i fyw ynddynt? Pan y cymharom ddeng mlynedd a thrugain y bywyd daearol â'r miliynau a'r miliynau anrhaethadwy o oesau dyfodol, O pa frycheuyn, pa ddiddymdra yw bywyd

yn y byd hwn! Mae aml eglurhadaeth wedi ei rhoddi i geisio dodi rhyw ddrychfeddwl o barhad di ben draw. Dywedwyd: Tybier fod un dyferyn o'r cefnfor mawr i'w sychu i fyny bob mil o flynyddoedd, pa faint o amser fyddai cyn y darfyddai y dyferyn olaf, ac y gadewid gwely y cefnfor yn sych? Wedi i hyny gymeryd lle yn mhell, yn mhell yn mlaen mewn oesodd i ddyfod, ni byddai tragywyddoldeb ond megys yn oriau ei fabandod. Dywedwyd: Tybier fod y ddaearen ëang yr ydym ni yn byw ynddi wedi ei gwneyd i fyny o dywod mân, a bod i un tywodyn gael ei gymeryd ymaith yn mhen miliwn o flynyddoedd, ac felly yn mlaen, O y tymhor anamgyffredadwy o faith a fyddai wedi myned heibio cyn y dygid ymaith y tywodyn olaf! Ac eto ni byddai tragywyddoldeb ond megys yn ngwawr ei foreuddydd!—ni byddai yr enaid anfarwol ond fel newydd gychwyn ar ei yrfa ddidderfyn. Dywedwyd: Tybier fod rhyw bryf ednog bach, mor fychan fel nas gellid ei ganfod gan lygad dyn, wedi ei osod i gario ymaith byd hwn, yn ei enau, i'r seren bellaf a osodwyd gan law Duw yn entrych nef. Byddai cannoedd o filiynau o flynyddoedd (a chofier fod un miliwn yn fil o filoedd), yn ofynol tuag at iddo gwblhau un daith. Mae y pryfyn bach yn dechreu gyda deilen pren, ac yn cymeryd ymaith ei lwyth bychan, mor fychan fel nas gallasai hyd yn nod y *microscope* ddeall fod dim o'r ddeilen wedi myned ymaith, ac yn cychwyn allan ar ei daith. Wedi i filiynau a miliynau o flynyddoedd dreiglo ymaith, mae yn dyfod yn ei ol drachefn i gymeryd ei ail lwyth. O, pa oesoedd dirif fyddai yn ofynol cyn y cymerid un ddeilen ymaith! A pha bryd gan hyny y cymerid yr holl bren ymaith? Pa bryd y dygid yr holl goedwig ymaith? A pha bryd, yn wir, y byddai i'r pryfyn hwnw gymeryd y mymryn olaf o'r ddaear hon, a'i ddwyn ymaith yn ei daith hirfaith, hirfaith? Hyd yn nod y pryd hwnw, ni byddai tragywyddoldeb ond megys newydd ddechreu. Y pryd hwnw byddai yr ysbryd yn para i edrych

ar dragywyddoldeb, diddiwedd, digyfnewid, yn treiglo o'i flaen. O! mae y meddwl yn suddo i lawr yn berffaith flinedig gyda y fath fyfyrdodau. Rhaid i ni bara cyhyd â Duw! Cyhyd ag y bydd Duw, cyhyd a hyny y bydd y fflam a anadlodd ef i'n mynwesau yn cynneu yn nysgleirdeb dedwydd y nefoedd, neu yn llosgi yn nhân caddugol anniffodd-adwy uffern!!—*John S. C. Abbott.*

---

## YR YSGOL SABBOTHOL A'I LLYFR.

MAE gan Dduw ei ddyn at bob gwaith. Yr oedd Pedr ac Ioan yn rhai ëofn a didderbyn wyneb, ac yn llawn o sêl dros yr Arglwydd Iesu Grist a'i efengyl, eto "gwyr anllythyrenog ac annysgedig oeddent," felly ni wnaent y tro i fyned i bob man; a chan fod "achos Duw" yn sefyll mewn angen am ysgolor penigamp i fyned i Areopagus i siarad â'r dysgedigion athronyddawl, tadau pa rai a roisant Socrates i farwolaeth am godi allor i'r "Duw nid adwaenir," dacw ef yn cyfarfod y gwr a godwyd wrth draed Gamaliel, ar y ffordd i Damascus, ac yn gwneyd y gwrthryfelwr a'r erlidiwr, yr hwn oedd yn llusgo gwyr a gwragedd i garchar, mor addfwyn a'r oen, ac yn weithiwr difefl drosto; ac yn y diwedd yn dyoddef marwolaeth er mwyn yr enw y bu unwaith yn ddirmygu.

Pan oedd angen am sefydlu yr Ysgol Sabbothol yn ein byd, dacw ef yn galw Raikes o Gaerloyw, a Charles o'r Bala, at y gorchwyl, enwau pa rai fydd yn anwyl gan bawb o'i deiliaid yn mhob oes a gwlad, am mai hwy fu y moddion yn llaw Duw i ddwyn y sefydliad bendigedig hwn i sylw y byd. Credwyf nad oes neb a amheua nad yw yr Ysgol Sabbothol yn un o'r sefydliadau mwyaf bendithiol, gwerthfawr, a gogoneddus, a fedd ein byd. Gwir fod yn ein gwlad athrofaäu gwychion a mawreddog, ond can wired a hyny, nad yw pob dosbarth o ddynion yn alluog i fyned

iddynt; ond am yr Ysgol Sabbothol, mae manteision hon yn nghyrhaedd pob gradd o ddynolryw, ac i'w meddianu "heb arian ac heb werth." Hon yw yr athrofa lle y dysgir i bechadur euog, "Fod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd ag ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau." Dyma fan manteisiol i ddysgu i ddynion ddyben eu creadigaeth—eu sefyllfa golledig—am drefn Duw yn Nghrist i'w hachub—ac am yr addewidion Dwyfol i bawb a ymddiriedant ynddo am fywyd tragywyddol.

Hefyd, mae llyfr yr Ysgol Sabbothol y mwyaf ardderchog a gwerthfawr a fedd ein byd. Fel cyfundraeth foesol y mae pob ymdrech o eiddo dyn tuag at ychwanegu at ei oruchel ardderchogrwydd a'i nerth yn ofer. Fel llyfr o farddoniaeth a hyawdledd, saif mewn mawredd goruchel, yn uchhedeg goruwch y cynnyrchion rhagoraf a esgorodd y talentau dysgleiriaf arnynt, a oleuasant erioed y byd llenyddol. Fel llyfr o ddadguddiedigaethau, megys anfarwoldeb yr enaid, a'r sefyllfa ddyfodol, tafla ddylif o oleuni ar anialwch ein meddyliau. Fel cynghanedd, mae ei ddoethineb yn orddwfn, annherfynol, ac anolrheinadwy. Cyferfydd â phob cyflwr mewn amser, ac efe ydyw y gadwyn euraidd sydd yn cyrhaedd o'r ddaear i'r nef. Dysga i ni pa fodd i fyw, a pha fodd i farw. Y mae yn arfogi y Cristion mewn llwyr arfogaeth—cipia oddiar farwolaeth ei gelyn gwenwynig, ac oddiar y bedd ei buddugoliaeth fostfawr, a chyfeiria yr enaid at ei ogoniant coronedig, a'i anfarwoldeb gwynfydedig, goruwch y bedd.

*Utica.* R. E.

---

## TRIOEDD DOETHINEB.

1. TRI arwyddion anwybodaeth: ymddwyn anfoesus, iaith anghyfiawn, a hel dirgelion y cymydogion.

2. Tri chytundeb a wnant wr yn gyfoethawg: cytundeb

â gair Duw, cytundeb a'i wraig a'i deulu, a chytundeb a'i gymydogion.

3. Tri pheth y sydd ac hebddynt nis gellir a wnant wladwr: bonedd, celfyddyd, a dawnusder.

4. Tair arwydd tangnefgarwch ar ddyn: trugaredd at ei ysgrubl, caru cartref, a chanu gyda ei orchwyl.

5. Tair arwydd bonedd o gwnad ar ddyn: haelioni, cyfarch hawddgar, a gwybodau deddfolion.

6. Tri arwyddion creulondeb: tarfu anifail yn ddi-raid, briwa coed a llysiau yn ddiachos, a bod yn daer am gymwynas.

7. Tri arwyddion trugaredd: syniadu cwyn plentyn, troi oddiar ffordd anifail gorweddawg, ac ymddwyn yn serchawg tuag at ddyeithr ac estron.

8. Tri arwyddion anian drwg mewn dyn: rhoi cynghor cyn a'i ceisier gantho, a wnelo na bo raid nac achos iddo, ac a sôn am a welo ar ei gymydogion.

9. Tri pheth a ddiweddant yn ddrwg fynychaf, am hyny goreu yw eu gadael: cyfeddach, ymryson, a chwilio helynt dyn arall.

10. Am dri pheth ni cherir neb gan ei gallach: caswir heb achos cyfiawn drosto, cynghor ni ofynir, ac athrodion.

11. Tri pheth a ddylid eu diolch: gwahawdd, rhybudd, ac anerch.

12. Tri thywysogion serchog: digrifwch, haelioni, a syberwyd.

13. Tair gormes doethineb: meddwdawd, godineb, a dryganian.

14. Tri gwreiddyn doethineb: gwirionedd, dysg, a chydwybod.

15. Tri pheth a gadarnhâ gynnefawd: addwynder, awdurdawd, a doethineb.

16. Tri pheth ni fawr brisier am danynt onid elo yn ry hwyr: cynghor câr, rhybudd oedran, a barn cydwybod.

17. Tri pheth hardd ar ddyn yn mhob lle, ac ar bob amser, ac yn mhob gradd a chyflwr, ac a ennillant barch ac anrhydedd iddo: caredigrwydd, diwydrwydd, a gwybodau moliannus.

18. Tri argae doethineb: gwirionedd, cariad, a phwyll.

19. Tri pheth a gau yn erbyn doethineb: celwydd, llid, a rhyodres.

20. Tri argae awen: gwybodau, haelioni, a diwydrwydd.

21. Tri pheth a gau yn erbyn awen: diawgswrth o gamp, cybydd-dawd, ac anwybodaeth.

22. Tri chyfrwym gwybodaeth: llythyr, dosbarth cyfiawn, a lles gwlad a chenedl.

23. Tri ymglywed doeth a deddfol: ymglywed â'r gwirionedd, ymglywed a'i serch, ac ymglywed a'i nerth.

24. Tri pheth a lanwant wagder: dadwrdd anghall yn mhen gwag, chwerthin anghall o galon wag, a llaid budreddus mewn ffynnon wag; sef doethineb a ŷr i maes y dadwrdd, a syberwyd cynneddfol a ŷr i maes y chwerthin, a dwr gloewffrwd a ŷr i maes y llaid.

25. Tri pheth a gaiff dyn trugarog: cariad ei gymydogion, parch doethion, a thrugaredd Duw.

26. Tri pheth a geir o hir ddilyn drwg: cosb cyfraith ei wlad, ei gasau gan bawb, a digofaint Duw.

27. Tri dyn y mae Duw yn eu caru: cadarn cyfiawn, dewr trugarawg, a hael diedifar.

28. Tri dyn a fyddant naturiol i dri pheth: melinydd i ladrata, eglwyswr i ragrithiaw, a chlerwr i gelwyddu.

29. Tri pheth a gaiff dyn dyoddefus: cariad a'i adnapo, ffyniant yn ei drafodion, a rhad Duw ar a wnelo.

30. Tair dedwyddgamp gŵr: bod yn llawen yn ei dŷ, yn ddiwyd yn ei orchwyl, ac yn ddyddiwr rhwng ei gymydogion.

31. Tri pheth sy'n dyfetha y byd: brenin ffol heb gynghor, barnwr heb gyfiawnder, a gwas heb ufudd-dawd.

32. Tri menwydigion teulu: pendawd gofalus, bugail cywir, a negeswr doeth brysgar.

33. Tri anffawd teulu: goruchwyliwr diofal, bugail anghywir, a chenad annoeth na ddelo yn ol o'i neges.

34. Tri pheth nid iawn ymddiried iddynt: iechyd henaint, hinion gauaf, a diniweidrwydd arglwydd.

35. Tri pheth nid callach credu y naill na'r llall: llw gordderchwr, breuddwyd gwrâch, a chwedl heb warant.

36. Tri pheth anhebgor i ddoeth: gwrando, gweled a thewi

37. Tri pheth ar ddyn a bair hoffi ei gyfeillach: syberwyd pwyll, a daioni.

38. Tri pheth byr eu parhad: rhyfeddoldeb, gwag ogoniant, a thegwch ieuenctyd.

39. Tri dyn a ddywedant y gwir: plentyn, ffol, a diofal.

40. Tri pheth di-glwyf di-glefyd a fawr gystuddiant a'u harwain: cariad, câs, a galar.

41. Tri pheth a ffrwythlonant ddoethineb: gwybod am a fu, ystyr am y sydd, a phryderu am a ddaw.

42. Tri pheth a arwain i dlodi: gloddest, diogi, a merchetta.

43. Tri pheth ni wna ddyn doeth: myned ar hyd fôr lle gellir tir, gollwng i maes ei gyfrinach, a gollwng dydd i fyned heibio heb wneuthur daioni.

44. Tri pheth a bair cywreinrwydd: galluogrwydd, awen ewyllysgar, a gwybodaeth o gelfyddgarwch.

45. Tri pheth a barant hawddfyd: iechyd corff, meddiant diangen, a chydwybod lân.

46. Tri pheth a geir o ymgynneddfu yn dda: parch ac anrhydedd y byd, boddlondeb meddwl a chydwybod, a derbyn da gan Dduw.

47. Tri pheth a bair i wr glod a chymeriad caredig: dywedyd yn deg yn wyneb, rhoi gair da yn nghefn, a ffyddlondeb cyfeillach.

48. Tri pheth annifyr eu gweled: cyfoethawg hael yn myned yn dlawd, a dedwydd yn myned yn ddiriaid, a chwerthin am ben y dyn doeth ymbwyllgar.

49. Tri a fyddant oreu'r byd arnynt lle nas adnaper: celwyddogion, bradon a lladron.

---

## SYLWEDDNODAU PREGETH AR FEDDWDOD.

GAN Y PARCH. W. WILLIAMS, CAERNARFON.

PHIL. iii. 19. "Duw y rhai yw eu bol."

I. ACHOSION MEDDWDOD.
1. Esiampl ddrwg.
2. Cymdeithas ddrwg.
3. Cystuddiau corfforol.
4. Helbulon a phrofedigaethau.
5. Weithiau argraffiadau crefyddol ar y meddwl.

II. YR ABERTHAU A WNEIR I'R DUW HWN.
1. Abertha y meddwyn ei gysuron ei hun.
2. Cysuron ei deulu.

3. Ei amser.
4. Ei foddion, a'r hyn a ddelo i'w feddiant.
5. Ei enw da.
6. Ei gorff.
7. Efe a ddamnia ei enaid.

III. Y DRYGEDD O HONO.

1. Y mae yn darostwng y dyn islaw yr anifail.
2. Mae yn ei wneyd yn agored i beryglon.
3. Yn agored i lawer o demtasiynau.
4. Mae yn caledu ei gydwybod.
5. Mae yn dinystrio ei ddefnyddioldeb yn mhob cymdeithas.

1. Gwelwn mai rhyfeddod fawr yw fod Duw yn ail sobri y meddwyn.
2. Gofynaf a ddymuna y meddwyn farw yn y cyflwr annymunol hwn?

## Y GWERTH O DDYSGU UN ADNOD.

YR oedd gwraig weddw dduwiol yn byw mewn pentref yn Nghaint, a chanddi fab nodedig o ddrwg, yr hwn oedd ei hunig blentyn; er holl gynghorion, gweddiau, a dagrau ei fam, yr oedd yn mynu ei ffordd ei hun. Pa fodd bynag cafodd ganddo fyned i Ysgol Sabbothol a gynnelid yn y pentref; ond ni wrandawai ar ddim a ddywedid wrtho yno, ac yr oedd ei ddull afreolus yn llygru y plant eraill, ac yn dyrysu yr holl ysgol. O dosturi at ei fam dduwiol, ceisiwyd cyd-ddwyn ag effelly am flwyddyn a haner; ond o'r diwedd, gwelwyd yn hollol angenrheidiol ei droi allan o'r ysgol, er rhybudd i eraill. Yn lled fuan ar ol hyny, efe a ymrestrodd yn filwr mewn catrawd (*regiment*) oedd yn myned allan i'r America; yr oedd y pryd hyny yn amser y rhyfel diweddaf a fu rhwng Lloegr a'r Unol Dalcithau.

Yn mhen peth ysbaid wedi hyn, dygwyddodd i'w fam dorcalonus gyfarfod a milwr duwiol yr hwn oedd yn dyfod i America mewn catrawd arall; a hi a roddes Feibl bychan iddo i'w gario i'w mab, gyda chenadwri ddifrifol oddiwrthi. "Pwy a wyr (meddai) pa ddaioni a wna y Beibl i fy machgen caled!" Wedi cyrhaedd pen ei daith, aeth y milwr duwiol i chwilio am fab y wraig weddw, ac efe a'i cafod yn flaenor y

catrawd yn mhob oferedd ac annuwioldeb. Wedi iddo wneyd ei hun yn adnabyddus iddo, efe a ddywedodd, "James, mae eich mam wedi anfon trwof fi ei hanrheg olaf i chwi." "Beth," atebai ef mewn dull diofal, "ac a ydyw yr hen wreigan wedi myned o'r diwedd? Gobeithio ei bod hi wedi anfon tipyn o arian i mi." Y milwr duwiol a'i hatebodd, er fod ei fam yn fyw pan ymadawsai ef â Lloegr, fod yn fwy na thebyg na chai ef byth mo'i gweled yn y byd hwn; "ond," meddai, "mae hi wedi anfon i chwi rywbeth mwy o werth nag arian ac aur," gan gyflwyno y Beibl iddo; "a, James, ei deisyfiad difrifol ydoedd, yr hwn y mynai i chwi edrych arno fel yn dyfod i chwi oddiar ei gwely angau, ar i chwi ddarllen un adnod, o leiaf, o'r llyfr hwn bob dydd; a ellwch chwi nacau dymuniad olaf eich mam?" "Wel," ebai James, "nid yw hyny yn llawer i'w wneyd; ac mi a ddechreuaf yn awr."

Efe a agorodd y Beibl ar y geiriau hyn, "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch." "Wel," meddai, "mae hyn yn hynod hefyd. Mi a agorais ar yr unig adnod yn y Beibl a ddysgais i allan erioed, a hyny pan oeddwn yn yr Ysgol Sul. Nis gallaswn yn fy myw, er ceisio, ddysgu yr un arall. Mae hyn yn bur rhyfedd! Ond pwy ydyw y *fi* yna sydd yn yr adnod?" "A wyddoch chwi ddim?" meddai y milwr duwiol. "Na wn i yn wir," meddai yntau. Y milwr da gan hyny a eglurodd iddo; dywedodd wrtho am Iesu, ac am wahoddiadau trugarog yr efengyl. Ac yr oedd James yn gwrando arno yn dra astud. Aethant gyda'u gilydd i dŷ y caplan, lle y cawsant ymddyddan pellach am wirioneddau yr efengyl. Y canlyniad ydoedd, i fab y wraig weddw ddyfod o'r awr hono allan yn gymeriad hollol wahanol i'r hyn a fuasai o'r blaen; ac efe a ddaeth yn un mor nodedig am ei ymarweddiad da ag ydoedd yn flaenorol am ei ddrygioni. Yn fuan wedi ei droedigaeth, galwyd y fyddin i frwydro â'r gelyn. Ar derfyn y frwydr, milwr duwiol wrth rodio trwy y faes y gwaed, a ganfu o dan dderwen fawr gaeadfrig, gorff marw James, a'i ben ar y Beibl, yr hwn oedd yn agored ar yr adnod, "Deuwch ataf fi, bawb a'r y sydd yn flinderog, ac yn llwythog," &c. Yr oedd yr afradlawn dychweledig wedi myned i mewn i'r orphwysfa nefol.

Bu y Beibl hwnw yn fynych yn llaw Mr. Dudley, un o oruchwylwyr y Beibl-Gymdeithas; nid oedd dim llai na han-

er cant o ddalenau wedi eu staenio a gwaed y milwr tranceddig. Onid yw yr hanesyn hwn yn annogaethol iawn i athrawon yr Ysgol Sabbothol? Mae yn dyweyd wrthynt am bara i lafurio er pob digalondid, oblegid pe na heuid ond un hedyn, gall hwnw, fel yn amgylchiad mab y wraig weddw, gynnyrchu cynauaf toreithiog. Tra yn yr Ysgol Sabbothol, fe fethwyd cael ganddo ddysgu allan ond un adnod; ond yr un adnod hono, a fu yn foddion, yn llaw Ysbryd Duw, i'w ddwyn ef allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef. "Y boreu, haua dy had, a phrydnawn nac atal dy law; canys ni wyddost pa un a ffyna ai hyn yma ai hyn acw."—*O'r Drysorfa.*

---

## YR HEN WRAIG A'R BEIBL.

HEN wraig gerllaw Montreal, yn Canada, yn perthynu i'r grefydd Babaidd, oedd wedi cael Beibl, a'i hoffeiriad a ddeuai i ymweled â hi, a bu yn daer wrthi am ei roddi i fyny. Wrth weled nas gallai lwyddo i gael ganddi ymadael a'i thrysor, ceisiai ei hudo i'w werthu, gan gynyg iddi ar y cyntaf bump, yna deg, pymtheg, ac o'r diwedd ugain coron am dano. Y wraig dda, gwedi gwrthod y cynnygion hyn, yn y diwedd a gydsyniai i'w werthu am bum' coron ar hugain. Yr offeiriad a gytunai, talid yr arian, rhoddid i fyny y llyfr adgas, ac ymadawai yntau yn fuddugol. Ond yr hen wraig dda a gychwynai yn ddioed tua Montreal, ac âg arain yr offeiriad prynai bump ar hugain o Feiblau newyddion iddi ei hun a'i chymydogion. Ofered yr ymdrech i lesteirio cynnydd y gwirionedd dwyfol, ac mor llwyr, yn yr amgylchiad hwn, y cyflawnid diareb y gwr doeth. "Y neb a dreiglo gareg, ato y dychwel." Diar. xxvi. 27.

---

## DYN DU CYSTUDDIEDIG.

DYN du, o'r enw Robert, berwedydd siwgr, a gafai gystudd irad tros amryw flynyddoedd: ei afiechyd a ddechreuai, fel y tybid, trwy i ddyferyn o siwgr berwedig syrthio ar ei fraich, pan oedd wrth ei waith. Y dolur a dorai allan ar y lle, ac a ymdaenai, hyd oni syrthiai ei fysedd oddi wrtho. Cyfodai yr anhwyl i'w ben, a'i lygaid a gwympasant, yn nghyda â darnau o'i ben-glog. Ei draed hefyd a lygrid, nes syrthio ymaith. Er hyny goddefai hyn oll mewn amynedd nodedig,

ac, ar amserau, byddai yn gorfoleddu yn y gobaith o gael ei dderbyn i'r wlad lle nad oes marwolaeth, na thristwch na galar chwaith. Y tro diweddaf yr ymwelais ag ef, meddai ei weinidog, nis gallwn oddef edrych arno, ond yn unig llefaru wrtho, a gweddio drosto, wrth ddrws ei ystafell. Pan ofynais iddo pa fodd yr oedd, dywedai ei fod yn dysgwyl wrth amser yr Arglwydd, pryd y gwelai efe yn dda alw am dano. "Massa," ebe efe, "y ddwylaw gwedi myned; y ddau lygaid gwedi myned; y ddau droed gwedi myned; dim mwyach yma ond yr ysgerbwd hwn. O Massa! y boen weithiau yn rhy drwm i mi: yr wyf yn gorfod gweddio ar yr Arglwydd am help." Pan oedd ar drancedigaeth, cynghorai bawb o'i amgylch i fod yn ffyddlawn i fyw i Dduw; ac yn enwedig ei wraig, yr hon a arosai gydag ef yn holl amser ei gystudd; peth digon anghyffredin y pryd hyny yn mhlith y bobl dduon Ond parhaodd hon yn ffyddlawn, a bu yntau farw yn ddedwydd, gan ei chynghori i fyw i Dduw.

---

## ARADR ALBERT A BEIBL BAGSTER.

Ychydig flynyddoedd yn ol, dyn oedd yn byw mewn pentref, heb fod yn mhell o Norwich, a wnaeth aradr newydd pur gywrain, a mawr ddymunai ar i'w aradr gael cymeradwyaeth ei Freninol Fawrhydi Tywysog Albert. Gwedi talm o amser cafwyd cyfleustra priodol i ddwyn Mr. John Smith—canys dyna oedd enw y gwr, i sylw y Tywysog; a chymerodd ei ddarluniau, ac a'u dangosodd iddo, ac a hysbysodd y cwbl yn mherthynas i'w welliadau. Boddhawyd y Tywysog yn neillduol, a rhoddes iddo ganiatâd i alw yr aradr newydd yn Aradr Albert." Yr oedd Mr. Smith ar achlysuron, yn arfer ymbleseru mewn cyfansoddi ychydig o farddoniaeth, a chan gymeryd allan o'i logell engraifft deg o rai o'i gywyddau, dywedai wrth ei Freninol Fawrhydi, ddarfod iddo wneyd cywydd, pan ddaeth ei mawrhydi i'w hoed, ar ei choroniad, ac hefyd ar ei phriodas, a dymunai ar i'r Tywysog Albert ei anrhydeddu drwy gyflwyno copi o honynt i'w mawrhydi—yr hyn beth a addawodd yntau yn bur dirion ei gyflawni.

Dychwelodd Mr. Smith adref yn dra llawen, a meddyliodd fod y cwbl drosodd; pan, er ei syndod, yn mhen ychydig

wed'yn daeth sypyn mawr yn dwyn yr argraff-arfau breninol yn gyfeiriedig at Mr. Smith. Yr oedd pawb wedi synu ac agorwyd y sypyn gyda chwilfrydedd a phryderwch nid bychan. Cynnwysai "Beibl Cynnwysfawr Bagster," wedi ei rwymo yn hardd a'i anfon gan y Tywysog—yn gydnabyddiaeth ddestlus a phriodol i Mr. Smith.

Dygwyddodd hyn ar amser blwyddyn Jubili Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr; a thrwy fod Mr. Smith yn Fedyddiwr, fe feddyliodd i roi cais at ddefnyddio yr anrheg ragorol yma ryw fodd er cynnorthwyo cyllidau y Gymdeithas hono, ac hefyd er caffael rhyw swm tuag at Ysgol-dŷ oedd yn cael ei adeiladu yn ei bentref. Gan hyny fe geisiodd wybod a wnai y Tywysog fod mor garedig ag *ysgrifenu ei enw* yn y Beibl, ac hysbyswyd iddo y gallai ei anfon i Balas Buckingham, ac y cyflawnid ei gais. Yr oedd Mr. Smith yn anfoddlawn i fentro ei anfon, rhag ofn i ddim damwain gymeryd lle, a phenderfynodd ei gymeryd yno ei hun. Cyrhaeddodd y Palas. Yr oedd y Tywysog wedi myned i Windsor. Mr. Smith fel dyn doeth ac aiddgar, aeth can mhelled a Windsor; ac, ar ol aros ychydig, efe a welodd y Tywysog, yr hwn a ysgrifenodd ei enw yn y Beibl. "Ond yn awr," ebe John Smith, "a wnai'r Frenines fy anrhydeddu drwy ysgrifenu ei henw *hi* hefyd yn y llyfr?" "Mi af ac a ofynaf iddi" ebe'r Tywysog. Yn dirion fe wnaeth felly; a daeth y llyfr yn ol, er mawr lawenydd Mr. Smith, gyda'r ddau enw.

Ar ei ddychweliad adref i'r pentref, mynegodd Mr. Smith am y tro i'w gyfeillion, a dywedai fod iddynt groesaw i ddyfod i weled y llyfr, yn nghydag enwau y Frenines, a'r Tywysog Albert yn eu llaw ysgrifau eu hunain; ond ar yr ammod—sef drwy i bob un dalu swllt. Hwythau yn siriol a wnaethant felly, a thrwy y llwybr yma llwyddodd Mr. Smith i godi o £40 i £50 tuag at y ddau achos a enwyd genym.

Y mae y dygwyddiad yn dwyn anrhydedd i bawb yn yr hanes. Yr ydoedd yn anrheg hynod a gwerthfawr o eiddo y Tywysog—yr ydoedd yn dirion ac ystyriol ar y Frenines i ufuddhau i'r deisyfiad dysyml; yn fedrus a dyfal ar ran Mr. Smith, ac yn haelionus ar ran yn agos i fil o ymwelyddion, i gynnorthwyo gwaith da, tra yr oedd ar yr un pryd yn ddifyrus i'w chwilfrydedd hwy, drwy gael edrych ar enwau Breninol yn Meibl Bagster, a gyflwynwyd i John Smith, yr hwn a enwogid am ei "aradr Albert." Ac yn awr, fel y dywed-

ai Mr. Brock, wrth draddodi yr hanes, "Duw gadwo y Frenines, ac a lwyddo yr aradr."—*Juvenile Missonary Magazine.*

---

## TYNERWCH Y LLYGAD.

Y FARN arferol a lettywyd o dynerwch y llygad, a goddodd o'r boen a deimlir yn nyfodiad i mewn ehediad, neu ryw sylwedd estronol, cydrhwng yr amrantau; ond y mae hyn yn dygwydd oddiwrth ddoeth, a chadwol gynaliaeth natur, ar gyfrif annheimladrwydd canwyll y llygad. Coder canwyll y llygad i fyny, ac i'r sylwedd hwnw gael ei gymhwyso at arwyneb y llygad, dim poen a braidd yr un teimlad fydd gynyrchiedig; symuder y sylwedd hwn, a thröer allan yr amrant, a thra y mae ef yn cael ei ddal yn ddadymchweledig, gosoder y sylwedd hwn arno, ni bydd yno fwy o deimlad yn gynnyrchiedig, nag oedd yn deimledig pan gymhwyswyd ef at ganwyll y llygad. Y casgliad yw, bod y ddau arwyneb pan eu cyffyrddir ar wahan, bron yn annheimladol i'r cynhyrfiad hyny; ond gadawer i'r sylwedd hwnw fod yn osodedig cydrhwng yr amrant a chanwyll y llygad, y teimlad cynyrchiedig sydd hynod o boenus. I godi y teimlad hwn rhaid i'r ddau arwyneb fod yn gyffyrddiedig, a'r sylwedd hwnw gael ei dynwasgu cydrhyngddynt. Os nad hyn fyddai yr achos niweid anniwygiedig a ddygwyddai yn aml i'r rhan dryloyw o'r llygad, cyn y byddai yn sylwedig; ac os na wnaeth codiad yr amrant, a gwahaniad yr arwynebau bron ddileu teimlad, gweithrediad nis gallai fod yn ffurfiedig i'r sych-bilen (*cataract*) neu y llygad-draws (*squinting;*) canys pwy a fedrai ddyoddef yn llonydd y teimlad yr hwn a raid gyfodi oddi wrth wthiad nodwydd neu fach i'r llygad, pe byddai ef gymharol i'r hwn sydd yn codi oddi wrth ehediad neu sylwedd estronol cydrhwng y llygad a'r amrantau? Y cais a ellir ei gynnyg mewn dull pur unigol gan ryw un arno ei hun, trwy yn unig gadw yr amrantau ar wahan trwy ymdrech yr ewyllys pan y gellir yn hyf roi pen y bys ar ganwyll y llygad heb un anghyfleusdra. Enynfa, trwy ëangu y llestri, a rydd gyfodiad i boen yr un modd a'r teimlad sydd ar y cyntaf, fel pe buasai rhyw sylwedd estronol wedi myned rhwng yr amrantau.—*Guthrie on the cure of Squinting.*

## DIARHEBION ARABAIDD.

OS bydd eich cyfaill oll yn fêl, na fwytewch ef oll.

Os byddwch yn teithio trwy gymydogaeth o ddeillion, byddwch ddall eich hun.

Pan fyddwch yn eingion byddwch amyneddus; pan yn forthwyl tarewch yn union, a chywir.

Cymerwch gyngor gan un mwy, a chan un llai na chwi eich hun, ac ar ol hyny ffurfiwch eich barn eich hun.

Yr hwn nad yw yn alluog i gymeryd amnaid, nid oes ganddo feddwl ychwaith i amgyffred maith eglurhad.

*Pa.* *Cyf.* ——

---

### AM GYMORTH I WEDDIO.

ARGLWYDD dysg i ni weddio,
Ac och'neidio tua'r nef,
Am dy Ysbryd dd'od i waered
Yn ei ddylanwadau ef;
A'n calonau'n d'od i waeddi
Am ein golchi yn y gwaed,
'N edifeiriol am ein beiau,
Ac i gwympo wrth dy draed.

*Remsen.* JOHN ROBERTS.

---

### NIS GALL NEB OCHELYD ANGEU.

Y GWYCHAF, doethaf a fendithir,
Yn nyddiau angau ni ddiengir;
Hwn a fedd fawredd a fwrir—heb ddim,
A heb ddim, diddim y diweddir.

Alecsander Mawr, uwch cawr ceurydd,
Ynnillai y byd, a llu bedydd;
A marw a wnaeth, medd mirain ieithydd,
Arch neu 'styllen fu ei obenydd:
Aristotlus, fedrus fu
Ar ddysg oll urddas gallu;
Tydain ail Tad Awen oedd,
Taliesin teulu oesoedd.
Pob un aeth, mae pawb yn war
Ar ei ddiwedd i'r ddaiar:
A fu, a ddarfu, a fydd—yn ddiau,
Angau ag arfau ing a'u gorfydd;
Minnau nid oes ym annedd
O'r byd, ond fy hyd o'r bedd.

GWILYM LLEYN.

## YR EFENGYL YN NEWYDDION DA.

**GAN Y DIWEDDAR BARCH. E. PAYSON, D. D.**

A OES neb yn amheu a yw yr efengyl yn newyddion da o lawenydd mawr mewn gwirionedd a'i nid yw? Deuwch gyda mi i ardd Eden. Edrychwch yn ol i'r awr gyntaf wedi gwrthgiliad dyn. Gwelwch y gadwen auraidd a gydiai ddyn â Duw, a Duw â dyn yn cael ei thòri, ïe, am byth yn ol pob ymddangosiad; a'r byd truenus hwn yn gruddfanu dan bwys euogrwydd dynol, a melldith ei Greawdydd, gan suddo yn ddyfnach ddyfnach i lynclyn diwaelod trueni ac anobaith. Gwel y Bod ofnadwy hwnw sydd yn dân ysol, yn ei gylchynu ar bob llaw, ac megys yn ei amwisgo ag awyrgylch o dân. Clyw y ddedfryd ofnadwy o'i enau. Fe bechodd dyn, am hyny rhaid iddo farw. Gwel frenin dychryniadau yn dyfod mewn rhwysg nerthol i roi y ddedfryd ddychrynllyd mewn gweithrediad, y bedd yn lledu ei safn i dderbyn holl ddynolryw, ac uffern isod yn ymagor yn arswydus i lyncu y trueiniaid euog, dinerth, ac anobeithiol, yn dragywydd. Dyma oedd sefyllfa ein rhyw colledig wedi y codwm. Ymdrechwch os gellwch, i gael iawn olwg ar ddychryniadau y cyflwr. Ymdrechwch am fynyd i anghofio eich bod wedi clywed sôn am Grist na'i efengyl erioed. Golygwch eich hunain fel bodau anfarwol yn prysuro i dragywyddoldeb, a melldith deddf dòredig Duw, fel cleddyf tanllyd yn eich ymlid; angeu a'i saeth wedi ei throchi mewn gwenwyn marwol yn eich dysgwyl; cwmwl du try-lawn o fellt Dwyfol ddialedd yn treiglo uwch eich penau; eich traed yn sefyll mewn lleoedd llithrig yn y tywyllwch; a'r pydew diwaelod isod yn dysgwyl eich cwymp. Yna, pan y mae, nid yn unig bob gobaith, ond pob modd i ddianc, megys wedi ei gymeryd ymaith, tybiwch fod y cleddyf tanllyd yn cael ei ddiffodd yn ddisymwth; colyn angeu yn cael ei dynu; haul cyfiawnder yn

ymdòri yn ei ddysgleirdeb, nes arliwio bwa ar y cwmwl oedd mor fyw [illegible] ddywedd o'r blaen; ac ysgol auraidd yn cael ei gollwng i waered o byrth agored y nef, tra mae côr o angelion yn disgyn yn brysur gan floeddio. "Wele yr ydym ni yn dwyn i chwi newyddion da o lawenydd mawr, canys ganwyd i chwi Geidwad, yr hwn yw Crist yr Arglwydd." A allech chwi tra yn syllu ar y fath olygfa, ac yn gwrando y fath genadwri angelaidd, amheu ai newyddion da a gynnwysant? Oni chydunech â hwy yn hytrach, i floeddio; Newyddion da! Newyddion da! "Gogoniant yn y goruchâf i Dduw," am fod tangnefedd ar y dddaear, ac ewyllys da i ddynion!

## MARW!

Y MAE marw ynddo ei hun yn fater sobr iawn, ac mae meddwl am farw, yn foddion i sobreiddio y meddwl ac y mae yn creu rhyw iasau oerion trwy y cyfansoddiad, nes y mae y dyn yn cael ei feddiannu â braw. Y mae yn peri cyffroad yn y teimlad; ac yn foddion i ddeffroi y gydwybod. Ac y mae hithau yn galw ei pherchen i gyfrif, ac yn cyfeirio meddwl at ddydd sobr sydd i ddyfod, pryd y bydd iddi hi addef ei hun yn euog neu yn ddieuog. Hefyd dylem gydgymdeithasu â'r marw yn barhaus, a gadael y meddwl i fyfyrio arno, fel na byddo fel estron i ni; ond dylem ffurfio adnabyddiaeth ag ef megys Job, "Gelwais ar y pwll, tydi yw fy nhad, ac ar y pryf, tydi yw fy chwaer." Dylem ollwng y meddwl i gymeryd ei hedfa trwy y dyffryn tywyll hwn, ac i dramwy yn fynych trwy glyn marwolaeth, fel na byddo yn beth dyeithr i ni, pan y bydd raid i ni rodio y llwybr hwn, a chadw y marw yn agos at y meddwl, a pheidio ei daflu yn mlaen, oblegid y mae yn ein hymyl, nid oes ond megys cam rhyngom ag ef. Hefyd, dylem gymeryd marw at ein ystyr

iaeth, ac i feddwl yn ddifrifol am dano, oblegid mae yn ddyben ar dynged bob un ac y mae y fantol yn troi, naill i'r wlad ddedwydd hono, lle nad yw ei phreswylydd yn dywedyd claf ydwyf, neu i wlad haner nos, a thrwy hyn y mae o'r pwys mwyaf i ni chwilio i mewn am drysor a weinydda gysur i ni yn y bwlch cyfyng hwn. Cael adnabod Crist yn rhan i'r enaid, adnabod fod y ddamnedigaeth wedi ei symud ymaith, a thragywyddol heddwch wedi cael ei wneyd rhyngom a Duw, a goleu yn ein llestri cyn y delo y waedd, fel y byddom barod i fyned i mewn gyda'r priodfab.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

## DIAREBION THALES.

BETH sydd brydferthaf? Y byd, o herwydd gwaith Duw ydyw.

Beth sydd alluocaf? Angeu, o herwydd y mae yn buddugoliaethu ar bob peth.

Beth sydd fwyaf anhawdd? Eich adnabod eich hun.

Beth sydd hawddaf? Rhoddi cynghor.

Pwy ffordd sydd raid i ni gymeryd i arwain buchedd dda? Peidio gwneyd dim a farnwn yn ddrwg i eraill.

Beth sydd angenrheidiol i ddedwyddwch. Corff iach a meddwl boddlawn.

## DADL Y PENTEULU A'R HEN LANC.

PENTEULU. A welwch chwi yn dda, Syr, ddyweyd pa faint yw eich oed?

*Hen Lanc.* Y mae hwna yn ofyniad anfoneddigaidd, ac annheg.

*Penteulu.* Y mae yn ofyniad ysgrythyrol. Gofynwyd ef gan dywysog i hen ŵr parchus: ac atebwyd ef yn foneddigaidd. "A dywedodd Pharaoh wrth Jacob, Pa faint yw dyddiau blynyddoedd dy einioes? Dyddiau blynyddoedd fy ymdaith," ebai y patriarch, "ydynt ddeng mlynedd ar hugain a chant."

*Hen Lanc.* Pa faint yw eich oed chwi?

*Penteulu.* 45. A ddywedwch chwi yn awr pa faint yw eich oed chwi?

*Hen Lanc.* 35.

*Penteulu.* Yr ydych yn edrych yn hŷn o lawer.

*Hen Lanc.* Wel, dyna yw fy oed i.

*Penteulu.* Y mae modryb Elin yn dweyd eich bod yn hŷn na Thomas ei mab hi, yr hwn sydd dros 40. Ac oni chlywais i chwi yn dyweyd, eich bod yn cofio blwyddyn y bara mall? Deugain mlynedd i —— oedd hyny. Ai tybed eich bod yn cofio yr hyn a fu 5 mlynedd *cyn* eich geni? Yr hyn a gymerodd le 5 mlynedd *wedi* eu geni a gofia pobl eraill. Os ydych chwi fel hwy, mae eich oedran yn 45. Y mae eisiau co' da i dwyllo. Ac y mae y celwyddog yn gas gan Dduw, ac yn ddirmygus gan ddynion. Nid wyf yn dyweyd eich bod chwi felly, ond fy mod yn gweled ychydig anghysonderau rhyngoch ag eraill. Ond paham yr ydych yn aros yn unig? Ai arnoch chwi y mae y bai, neu ar eraill?

*Hen Lanc.* Yr wyf yn *antinomian* cydwybodol. Credaf fod etholedigaeth mewn cael gymhares bywyd: ac nid oes yr un wedi ei threfnu i mi, onidê, daethai i ymofyn am danaf. "*Tynged*" yw cael gwraig.

*Penteulu.* Prin yr wyf yn deall y gair *tynged;* ond y mae yn swnio yn baganaidd yn fy nglust i; a phobl baganaidd fyddaf fi yn ystyried y rhai a soniant lawer am dynged mewn priodas, ac a ddywedant am bob drwg, "Felly y *mynai* fod."

*Hen Lanc.* A ydych chwi ddim yn credu *fod tynged?*

*Penteulu.* Yr wyf yn credu fod *Duw*, a bod pob da yn dyfod oddiwrtho. Y mae *gras* yn mhob peth; ond y mae hwn bob amser yn gadael lle i ddyledswydd. "*Llafuriwch* am y bwyd a bery." Dyma ddyledswydd tuag at enaid. "Yr hwn a *ddyry* Mab y dyn i chwi." Dyma ras i enaid. "A *roddech* iddynt." Dyma ras i'r creadur. "A *gasglant.*" Dyma ddyledswydd y creadur. Ac y mae gras a dyledswydd mewn cael gwraig. Ni roddir hi ond i'r dyn sydd yn ymofyn am dani. Os ydych yn dysgwyl i dynged ddyfod a gwraig i chwi, paham na aroswch i dynged eich llusgo o'r gwely—casglu eich cynhanaf—codi y bwyd i'ch safn—a thynu eich bys o'r tân? A gadewch i mi ddyweyd wrthych yn ddifrifol, os dysgwyliwch am grefydd nes i dynged ddyfod a hi i'ch mynwes, byddwch yn sicr o farw hebddi.

*Hen Lanc.* Gan fod ymofyn am wraig yn ddyledswydd, a

hòno mor bwysig, paham y mae Cymry yn codi allan yn y tywyllwch at y gorchwyl hwn? Mae hyn yn fwystfilaidd, canys dywed y Beibl am y nos, "Ynddi yr ymlusga pob bwystfil y coed." Ac am y dydd, "Dyn a â allan i'w waith, ac i'w orchwyl hyd yr hwyr." Paham y ceisir gwraig yn absenoldeb yr haul? A fyddai dim gwell mantais i'w dewis hi, fel pob peth arall, wrth oleuni y dydd? Ai nid yn ei gwaith y mae ei hadnabod? Os nad tynged sydd yn ei roddi, myner ei gweled yn corddi y llaeth, neu yn cyweirio yr ymenyn, neu yn troi caws, neu yn pobi bara, neu yn rhoddi elusen i dlawd, neu yn darllen Taith y Pererin.

*Penteulu.* Yr ydych wedi fy llwyr orchfygu ar y pen hwn. Tery yn gryf i fy meddwl yn awr, mai oddiwrth yr arferiad yna y tarddodd y son am *dynged* mewn priodas. Y mae delw y tywyllwch ar y gair. Yn y nos y cynlluniwyd cynnifer o briodasau annedwydd. Y dydd y mae *gras* yn rhoddi cymhares bywyd. Y nos y mae *tynged* yn ei rhoddi. Nid oes dim a fyno rhagluniaeth â miloedd o briodasau, ond yn unig ei bod yn eu goddef yn gerydd ar y rhai a'u gwnant. Ac fel y dywedodd Duw wrth Israel am eu brenin, y gall ddywedyd wrth lawer gwr am ei wraig—Rhoddais hi yn fy *llid*.

*Hen Lanc.* Pa faint sydd er pan ydych chwi wedi priodi?

*Penteulu.* Dwy flynedd ar hugain.

*Hen Lanc.* Pa faint oedd eich oed y pryd hyny?

*Penteulu.* 23: a'm priod yn ddwyflwydd yn iau.

*Hen Lanc.* A oedd genych eiddo?

*Penteulu.* Nid llawer. Yr oedd genyf fodd i dalu am briodi—cymeryd tŷ—a'i ddodrefnu.

*Hen Lanc.* A oedd cynnysgaeth gan eich gwraig?

*Penteulu.* Oedd.

*Hen Lanc.* Pa faint.

*Penteulu.* O, ni wn i ddim. Yr oedd ganddi serch, cynnildeb, diwydrwydd, a medr. A wyddoch chwi pa faint a dâl y pethau hyn?

*Hen Lanc.* Mewn gwirionedd, a fentrasoch chwi gymeryd yn wraig eneth 21 oed heb ddim arian ganddi!

*Penteulu.* Y mae yn well genyf fi y pethau eraill. Byddaf yn chwerthin yn fy llawes am ben y rhai a feddyliant lawer o'u glendid, ac a ymffrostiant fod ganddynt gwpl o ganoedd yn gynnysgaeth. Gellir colli y rhai hyn; ond ni chyll fy mhriod i mo'i gwaddol, nes colli ei hiechyd. Y maent yn

nghadw, nid yn ei llogell, ond yn ei phen, a'i chalon, a'i gewynau. Ac nid oes un banc yn talu llog yn debyg i'r manau hyn.

*Hen Lanc.* A oes teulu genych?

*Penteulu.* Oes: y mae genyf 6 o blant.

*Hen Lanc.* Y mae genych felly *wyth*, a chyfrif eich hunan a'ch priod, i ofalu am fwyd a dillad iddynt! Yn wir, y mae *bil* gwisgoedd fy nhraed yn fy nychrynu i yn aml; a phan feddyliwyf y rhaid i mi gael gyda hyny, hosanau, crysau, a napcynau, hetiau, llodrau, a chobau bychain a mawrion, yn nghyda thalu am fy mwyd a'm lletty, byddaf yn synu pa le yr wyf yn cael modd: ond pe cawn wraig a 6 o deulu fel chwi, byddai y *bil* yn fwy wyth waith. Am fy mil *pum' punt* i, y mae eich un chwi yn *ddeugain!* Gwareder fi rhag y fath anturiaeth ryfygus

*Penteulu.* Bum yn rhyfeddu weithiau fy hunan pa fodd y mae fy ngwraig ofalus a chynnil gyda rhagluniaeth dyner yn cael pethau at eu gilydd; ond gwyr ein gymydogion ein bod oll yn gwisgo yn lan a pharchus; canys awn i'r capel bob Sabboth. Y mae golwg fy mhriod a'm plant yn tystio ein bod yn cael digon o fwyd. Ac yr wyf finau yn edrych gystal a chwithau yn mhob ysty . A sicrhâf chwi nad oes arnom ddimai o ddyled. Hefyd, y mae yr amser caletaf wedi myned heibio. Y mae y ddau blentyn hynaf yn enill mwy na'u bwyd. Ni bu erioed eu ffyddlonach i gynnorthwyo rhieni. Os byddwn byw i fyned yn hen, credwyf na cha' fod dim eisiau arnom tra gall ein plant ein cynnorthwyo.

*Hen Lanc.* Wel, yn wir, mae rhagluniaeth wedi dysgu rhyw wers i chwi a ymddengys yn galetach i mi nag a fyddai dywedyd holl broblems Euclid ar un anadl. Ond rhaid i chwi addef fod fy nghysuron yn tra-rhagori. Preswyliaf mewn tŷ fy hunan, a chadwaf ddwy forwyn a hogyn i edrych ar fy ol. Pan ddeuaf adref y nos, y mae y gadair freichiau yn barod i'm derbyn, a "slippers nice" yn fy nghroesawu at y tân; a phan gyfodaf y boreu, y mae botasau dysglaer yn fy nysgwyl yn yr un man. Cymeraf fy moreufwyd yn un ystafell, ciniawaf yn y llall, a threuliaf y dydd yn fy llyfrgell. Yn y naill a'r llall yr wyf yn rhodio ar hyd y carpedau mwyaf prydferth. Ond yr ydych chwi yn bwyta eich holl brydiau yn y gegin, ar y llawr cerig. Cydeistedd yr holl deulu wrth y bwrdd. Y mae y plentyn ieuangaf yn nadu ar lin ei fam, a'r nesaf ato

wedi colli ei fwyd gan wneuthur galanasdra ofnadwy ar y bwrdd a'i holl amgylchoedd. Ac y mae y plant hynaf yn chwerthin ar yr olygfa.

*Penteulu.* Addefaf yr oll a ddywedasoch am y ddwy forwyn, yr hogyn, y slippers, y botasau, a'r gwahanol ystafelloedd; ond a ydych chwi yn meddwl nad oes dim i'w gael gyda phlant heblaw gofid? Clywsoch chwi y bachgen yn wylo ar lin ei fam, ond a welsoch chwi mo hono erioed yn gwenu yn llygaid ei dad a'i fam? Dyma anrheg na wyddoch chwi ddim am ei gwerth. Sylwasoch chwi ar yr ail yn colli ei fwyd, ond a welsoch chwi erioed mo hono ar fin nos yn cyfarfod ei dad yn y drws, yn ymaflyd yn ei law, ac yn ei arwain at y tân i'r gadair a ddarparasai iddo; ac wedi dattod careiau ei esgidiau i'w attal allan drachefn, yn adrodd iddo helyntion y dydd? A welsoch chwi erioed deulu duwiol lle mae chwech o blant yn cadw dyledswydd? Dacw hwy yn eistedd mor ddystaw a'r bedd. Mae yr ieuangaf fyth ar lin ei fam. Mae yr hynaf yn darllen pennod, ar ail yn rhoddi pennill allan; cydganant, ac yna y mae y tad yn gweddio. Erbyn codi oddiar eu gliniau, y mae y fam wedi gwlychu gwisgoedd ei maban â'i dagrau. A oes dyledswydd deuluaidd yn rhai o ystafelloedd yr Hen Lanc ni wn i?

*Hen Lanc.* Ni chymerwn i lawer a newid fy myd â chwi beth bynag.

*Penteulu.* Ni newidiwn i ddim â chwithau chwaith. A ddeuwch chwi am y cyntaf i dreulio diwrnod o un awr ar bymtheg? Cewch chwi yr ystafelloedd a'r llyfrgell a ddarluniasoch; arosaf finau yn y gegin drwy y dydd gyda'r teulu heb ddim ar y bwrdd ond Beibl a llyfr hymnau, a Thaith y Pererin bychan addurniadol, gwerth swllt.

*Hen Lanc.* Beth, a oes Taith y Pererin addurniadol Cymreig i'w gael am swllt?

*Penteulu.* Oes. Cyhoeddwyd a gwerthir ef gan Mr. Griffith Jones, Argraffydd, Bala. Gall pawb gael hwn, ac y mae yn rhyfedd genyf os bydd neb hebddo. A chyda hwn a'r ddau eraill a enwyd, mi ddala beth y curwn i chwi am ddiwrnod difyr, Byddwn i wedi bwyta un awr ar bymtheg cyn y byddech chwi wedi treulio pedair. Byddem ni yn barod i ofyn, Pa le yr aeth y dydd? tra y byddech chwi yn dywedyd yn iaith Job am y nos, "Y boreu y dywedaf, Pa bryd y cod-

af, ac yr ymedy y dydd? canys caf ddigon o ymdroi hyd y cyfnos."

*Hen Lanc.* Diau mai Paul yw y doethaf, a'r ysgolhaig mwyaf o holl ysgrifenwyr y Beibl. Rhydd ef gynghor i beidio priodi. A'r farn gyffredin yw mai hen lanc oedd. Tybia eraill fod ganddo wraig, ac y mae ati hi y cyfeiria pan y sonai am "gorff y farwolaeth," ac y dywed iddo gael "cènad Satan i'w gernodio."

*Penteulu.* Pan yn traethu ei farn am y pethau hyn, dywed Paul, "Dywedyd yr wyf *fi*, *nid* yr Arglwydd." Gan hyny, ni waeth genyf fi beth a ddywed ef na chwithau, tra yr ydych yn myned yn erbyn deddf bwysicaf natur, a thystiolaeth Duw ei hun. Dywed ef, "Nid da bod y dyn ei hunan."

*Hen Lanc.* Yr ydych yn myned yn hen, er eich bod wedi byw yn ddedwydd. Ni feddwch ddim darpariaeth ar gyfer y plant wedi i chwi adael y byd: phe byddai genych ychydig bunoedd, a rhyw hen gelfi o ddodrefn, beth yw hyny rhwng cynnifer! Ond am danaf fi, y mae genyf ddigon i fyw ar y llog, a bydd yr hawl genyf i'w gadael i'r neb a fynwyf ar y diwedd.

*Penteulu.* Y mae genyf finau fy nghymeriad i'w adael i'r plant. Ac y mae gan eu mam ei hesiampl gynil a gofalus i'w throsglwyddo iddynt, a chânt hwy yr un rhagluniaeth a ninau. Ond yr ydych *chwithau* yn myned yn hen, Syr, mor gynted a ninau, os nad yn gynt. Ac nid wyf yn adnabod gwrthddrych mor druenus a hen lanc amddifad yn gogwyddo i'r bedd. Y mae y rhith-gyfeillion a ddysgwyliant wrth ei wely am ei eiddo yn cymeryd arnynt deimlo anwyldeb ato; ond ymgiliant i'r ystafell arall i chwerthin am ei ben, a braidd na ddywedant mewn geiriau y dymunent ei glywed yn rhoddi yr ochenaid olaf, ac yn myned oddiyma i le gwell neu waeth. Ni cha gymwynas gan neb heb dalu; ond dysgwyliaf fi i'm priod a'm plant fy ngwylio. Pan fydd fy mhen yn trymhau yn angeu, caf roddi ei bwys ar serch ei hunan, heb nac aur, nac arian, na phres, i galedu y gobenydd Pe cynnygiai rhywrai gyflog i'm gwyliedyddion i am eu gwaith, byddent yn barod i ddywedyd, "Bydded eich arian gyda chwi i ddystryw." Ac nid cysur bach i mi wrth wynebu byd arall yw meddwl gadael fy mhlant a'm hwyrion yn y byd yn gofgolofnau o'm henw. A dysgwyliaf eu cwrdd yn y nef.

*Hen Lanc,* Yr ydych yn peri i mi synu a dychrynu; ac eto ni fedraf eich gwrthbrofi. Peth ofnadwy yw meddwl am wylwyr gwely angau â thynerwch ar eu gwefusau, a brad yn eu calonau. Ac ofnwyf mai ataf fi y cyfeiria Job pan y dywed, "Ni bydd iddo fab nac ŵyr yn mysg ei bobl.—Y rhai a ddel ar ei ol, a syna arnynt o herwydd ei ddydd ef; a'r rhai o'r blaen a gawsant fraw." Ymwrthodaf a'm hantinomiaeth; ac os byddaf byw i weled dydd y yfory, codaf at fy nyledswydd. Ië, yr ydych chwi yn dyweyd fod *dydd* yn well na *nos* i ymofyn am wraig?

*Penteulu.* Ydwyf siwr.

*Hen Lanc.* Wel, mi curais i chwi mewn un pwnc onido?

*Penteulu.* Dó, yn hollol.

*Hen Lanc.* Rhoddaf finau y goreu i chwithau am bob peth arall.—*Cronicl.*

---

## EFFAITH DARLLEN Y BEIBL.

ENNILLWYD gwraig dlawd, yr hon a arferai weithio yn achlysurol mewn teulu crefyddol, ac a hoffai wrando arnynt yn ymddyddan â hi am gyflwr ei henaid. Un tro, wrth glywed darllen y Testament Newydd, dywedodd, "O mor dda fyddai genyf gael y fath lyfr tlws a gwerthfawr i'm tŷ; mae fy ngŵr yn medru darllen, ac os gellwch gael un i mi, talaf am dano trwy ychydig ar y tro." "O'r goreu," ebe y feistres dirion oedd yn ei ddarllen iddi—"cymerwch hwn gyda chwi adref." Ar ei dychweliad i'w thŷ yn yr hwyr, dangosodd y llyfr i'w gwr. "Beth ydyw," meddai yntau. "Y Testament." "A ydych chwi wedi ei brynu?" "Ydwyf." "Buasai yn well genyf i chwi beidio: gwastraff arian oedd hyny, nid yw y llyfr o werth dim." "Ydyw, ydyw," meddai y wraig, "y mae pethau da iawn ynddo, yr wyf wedi eu clywed fy hun. Yr ydych chwi yn medru darllen ac os gwnewch chwilio am danynt, byddwch yn sicr o'u cael—y maent ynddo." Wrth iddi felly ei berswadio yn daer, derbyniodd ac ef, agorodd y llyfr, a'r geiriau cyntaf a welodd oedd Luc. xviii 35—39; "A bu, ac efe yn nesau i Jericho, i ryw ddyn dall fod yn eistedd yn ymyl y ffordd yn cardota; a phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe a ofynodd pa beth oedd hyn. A hwy a ddywedasant iddo, mai Iesu o Nazareth oedd yn myned heibio. Ac efe a lefodd, gan ddy-

wedyd, Fab Dafydd, trugarha wrthyf. A'r rhai oedd yn myned o'r blaen, a'i ceryddasant ef i dewi: eithr efe a lefodd yn fwy o lawer, Mab Dafydd, trugarha wrthyf." Yr oedd effeithiau deniadol y geiriau hyn yn anorchfygol; sugnwyd ei fryd ar unwaith at lyfr hanes Iesu. Parhaodd i'w ddarllen am oriau, ac wrth ei gau y noson hono, dywedodd gyda theimlad dwys, "Y mae ynddo bethau da yn wir, y mae ynddo werth uwchlaw pob dirnad." D. T.

## CHWEDL HYNOD AM GAETHWAS DUWIOL.

YR oedd rhyw gaeth Negroad yn un o ynysoedd yr India Orllewinol, yr hwn a ddygasid o Affrica, ac a gawsai ei ennill i'r ffydd Gristionogol. Ac wedi hyny efe a ymddygai mor ganmoladwy fel y derchafwyd ef gan ei feistr i sefyllfa o ymddiried mawr ar ei etifeddiaeth. Un tro yr oedd ei feistr wedi ei anfon i'r farchnad i bigo allan iddo ugain o gaethweision, a'r Negroad a ufuddhaodd i'r gorchymyn. Cyn bod o hono yn hir yn edrych o'i gwmpas yn y farchnadfa, efe a ganfyddai hen gaethwas adfeiliedig yn mhlith y rhai oedd ar werth, ac efe a fynegodd i'w feistr y chwenychai yn fawr i hwnw fod yn un yn mysg ei brynedigion. Ei feistr, gan ryfeddu yn fawr at ei ddewisiad, a wrthodai ei gais ar y cyntaf. Ond ei weinidog ffyddlawn a ymbiliai mor daer, nes bu o'r diwedd iddo gydsynio. Y caethweision newyddion a gymerwyd yn ebrwydd i'r blanigfa, a bu rhyfedd gan y meistr weled ei weinidog yn gwneuthur mwy o sylw o'r hen gaethwas nag o un o'r lleill. Cymaint ydoedd ei ofal am hwnw fel y cymerai ef i'w dy, gan ei roddi i orwedd ar ei wely; porthai ef wrth ei fwrdd, a diotai ef o'i gwpan; a phan byddai yn oer, efe a'i cariai ef i wres yr haul; ac os yn rhy frwd, dodai ef yn nghysgod y coed. Y meistr wrth hyn a dybiai fod yr hen Negroad yn rhyw berthynas i'r hoffwas, am hyny efe a ofynodd iddo un diwrnod ai ei dad oedd efe. "Syr, massa," ebai y gwas, "hwn dim tad i mi—hwn dim ewyrth—hwn dim perthynas—hwn dim cyfaill i mi." "Paham ynte," ebai y meistr, "yr wyt ti mor garedig wrtho?" "Fo gelyn i mi, massa," ebai y gwas, "fo gwerthu fi i'r caethfasnachwr; a Beibl fi yn dywedyd, 'Os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod.'"

## Y LLYWYDD WASHINGTON.

YN y flwyddyn 1777, pan oedd y fyddin Americanaidd yn gwersyllu yn *Valley-Forge*, fel yr oedd hen Grynwr duwiol o'r enw Potts, yn myned ar rhyw achlysur trwy goedwig dew oedd yn agos i'r gwersyll, efe a glywai lais dynol yn rhywle yn y wig, ac fel yr oedd efe yn dynesu ato, efe a'i clywai yn amlycach, a deallai mai llais gweddi wresog oedd yno yn y goedwig annghyfanedd: efe a gyfeiriai yn ddystaw a gochelgar tua'r fan lle yr oedd y gweiddiwr; a phwy a ganfyddai dan gysgodwydd caead frig, fel pe y'i gwnaethid i'r perwyl hyny, ond Maes lywydd yr Unol Daleithau, ar ei liniau, yn tywallt ei galon mewn gweddi, o flaen Llywydd Mawr y bydoedd, a'r fynyd y daeth Potts yn agos ato, yr hwn a ymguddiai yn mysg y prenau, yr oedd Washington yn eiriol dros ei anwyl wlad, gydâ gwresogrwydd anarferol; ac yn diolch am y daioni a amlygasai y Goruchaf tuag atynt yn y cyf yw ddull a ddangosai yn amlwg fod ei feddwl yn rhy orlawn i gael geiriau i'w draethu; efe a fawrygai y doniau dieilfydd a'i dyrchafasai ef o ddyfnder anghyoeddusrwydd, i fod yn ben cenedl fawr, yr hon y pryd hwn oedd mewn cyfyngder. Cyffesai ei hollol anaddasrwydd ei hun i'r fath orchwyl pwysig; a wylai dan yr ystyriaeth o'r dystryw a allai camgymeriad o'r eiddo ef ei ddwyn ar ei wlad; a chan daenu achos, a llesion mil filoedd oeddent y pryd hyny heb eu geni, o flaen yr Uchel Iôr yr hwn y mae ei drugaredd yn parhau yn dragywydd, efe a daer atolygai am gymhorth yr Anfeidrol. Can gynted ag y darfu i'r Cadfridog weddio, aeth Potts ymaith, dychwelodd i'w dŷ, ac ymollyngodd i eistedd ar gadair, wrth ystlys ei wraig, lle y bu dros amser yn methu dywedyd gair, gan rym y teimladau a orlenwai ei feddwl.

Pa ryfedd i Washington fod mor lwyddianus, a buddugoliaethus, gan ei fod mor gyfarwydd ar y gelfyddyd nefol o gyfeillachu â'r Hollalluog mewn gweddi.—*O'r Dyddanion, gan Iorwerth Glan Aled.*

---

## HANESYN AM Y PARCH. GEORGE WHITFIELD.

GWR ieuanc yn perthyn i goleg Princeton yn y wlad hon, a glywodd fod Whitfield yn pregethu yn y gymydogaeth, ac efe a aeth i wrandaw arno, yn dra awyddus i gael allan a

oedd y pregethwr mewn gwirionedd yn teilyngu yr enwogrwydd mawr a briodolid iddo. Yr oedd y diwrnod yn wlawog, a'r gynnulleidfa yn fechan; ac nid oedd y pregethwr, yr hwn a arferai gyfarch miloedd ar unwaith, yn rhoddi allan ei ymadfertheodd grymus fel ar brydiau eraill. Wedi gwrandaw un rhan o dair o'r bregeth, dywedai y gwr ieuanc ynddo ei hun, "Nid yw y dyn hwn yn un mor hynod wedi y cwbl, nid yw ond hollol gyffredin ac arwynebol—dim ond ymddangosiad, ac nid rhyw lawer o hyny;" a chan syllu oddeutu ar y gynnulleidfa, efe a welodd eu bod yn edrych mor ddisylw ag arferol, a bod un henwr penodol, yr hwn a eisteddai ar gyfer y pwlpud, a'r hwn yn wastad a syrthiai i gysgu wedi gwrandaw y testyn a chyllun y bregeth, yn mwynâu ei hunell fel arferol. Oddeutu y pryd hwn, safai Whitfield, heb ddywedyd dim. Aeth ei wynebryd yn dra chyflym trwy amrywiol gyfnewidiadau, nes yr oedd yn edrych yn debycach i gwmwl o flaen taranau nag i ddim arall; a chan ddechreu yn dra phwyllog, dywedodd, "Pe daethwn yma i siarad â chwi yn fy enw fy hun, chwi a allasech orphwys eich penelinoedd ar eich gliniau, a'ch penau ar eich dwylaw, a chysgu; ac yn awr a phryd arall, edrych i fyny a dyweyd, Am ba beth y mae y siaradwr hwn yn baldordd? Ond ni ddaethum i atoch yn fy enw fy hun, Naddo; mi a ddaethum atoch yn enw Arglwydd Dduw y lluoedd, ac"—yma fe darawodd ei law a'i droed ar unwaith, nes yr oedd yr holl dŷ yn adsain—"ac y mae yn rhaid i mi—mi fynaf gael fy ngwrandaw." Yr oedd pawb trwy y capel fel wedi dychryn, a'r henwr cysglyd yn eu mysg. "Felly," ebai Whitfield, gan edrych arno ef, "a ddeffroais i chwi, ai do? Yr oeddwn yn meddwl gwneyd hyny. Ni ddaethum yma i bregethu i brenau a meini; daethum atoch yn enw Arglwydd Dduw y lluoedd, ac y mae yn rhaid i mi gael gwrandawiad genych." Yr oedd y gynnulleidfa yn awr wedi cyflawn ddeffroi, ac yr oedd y gweddill o'r bregeth yn hynod effeithiol. "Yr oedd bellach" meddai y y gwr ieuanc wrth adrodd yr hanes, "yn gallu ein cludo yn mlaen fel y mynai, ac i'r lle y mynai."—*Drysorfa.*

---

## Y GWYDDEL DALL.

CYFARFU gwr eglwisig yn Iwerddon unwaith â dyn tlawd dall rhwng pedwar ugain a deg a chant oed, a chan ei

gyfarch sylwai ei fod ef yn hen iawn. "Ydwyf," ebai yntau, gan ychwanegu, "Mae yn dda i mi gael o honof fyw i fyned yn hen, ond (meddai mewn llais isel) drwg fu i Solomon." Y gweinidog a ofynai iddo, paham y dywedai felly? "Pe buasai Solomon farw yn ieuanc, buasai yn un o'r dynion mwyaf yn y byd; ond pe buaswn i farw yn ieuanc, mi a fuaswn yn uffern. Bu Solomon fyw i waradwyddo ei hun; bum i fyw i gaffael gogoniant." Gwedi dadgan o hono ei ymddibyniad ar waed Crist am iachawdwriaeth, a chydnabod mai trwy yr Ysbryd Glan y daethai efe i wir wybodaeth o bethau dwyfol, y gweinidog a ofynai iddo pa un a glywsai efe neb yn llefaru am y pethau hyn? Atebai, "Na ddo." Yna y gweinidog a ymofynai am y modd y daethai i wybodaeth o'r testynau a adroddasai. I hyn yr atebai, mai o gylch pum' mlynedd yn ol, gwedi myned yn dywyll, ac awydd arno ymbarotoi erbyn tragywyddoldeb, parai i'w ŵyr oedd yn medru darllen geisio Beibl, yr hwn ar ddarlleniad y Beibl, agorai yr Arglwydd ei galon, a gwnelai iddo deimlo ei gariad. Cydnabyddai hyn gydag arwyddion amlwg o ddiolchgarwch gan ganmawl a bendithio Duw.

## CYFLYMDER A MAINT TONAU Y MOR.

MAE cyflymder y tonau yn ymddybynu ar eu maint. Rhai tonau mawrion a dreiglant o ddeg milldir ar hugain i ddeugain milltir yn yr awr. Y mae yn gred gyffredin fod y mor ei hunan yn ymsymud gyda y don; ond y gwir ydyw, mai y rhanau arwenebol o hono yn unig sydd yn rholio, tra y mae corff mawr y welgi, oddyeithr yr hyn a welir fel tonau ar y brig, yn sefyll yn yr un man, ac yn codi ac yn disgyn yn ddiorphwys, yn gyffelyb i ddringlyn (*pendulum*) awrlais. Gellir egluro hyn yn y modd canlynol:—pan ysgydwir un pen i raff estynedig, rhed y don ar hyd y rhaff i'r pen arall, er nad ydyw sylwedd y rhaff yn symud nemawr o'r un man. Yn debyg y mae ton y môr; ond pan y cyrhaeddo y don draeth bâs, y mae y pryd hyny yn wir yn rholio yn mlaen: gan nad oes lle iddi ddisgyn i'r dyfnder, y mae yn syrthio drosodd, ac yn treiglo rhagddi, am fod pob peth hylif yn ymofyn cyfartaledd. Y mae tymhestl ar y môr yn beth mòr enbydus, fel y mae yn anhawdd edrych arni, heb i'r dychryn gael y goreu ar y pwyll; ac er mor uchel yw y don, gwna dychymmyg hi yn uwch o

lawer. Nid oes un don yn fwy na deg troedfedd goruwch wyneb arferol y dwfr, yr hyn, gyda y deg troedfedd islaw y wyneb arferol y disgyn eilwaith iddo, a wna yr holl uchder, o waelod y dyffryn dyfrllyd hyd i grib yn y don yn ugain troedfedd. Gellir profi yn rhwydd pa un ai cywir ai anghywir ydyw hyn, trwy edrych pa mor uchel ar yr hwylbren llong y gellir gweled y terfyngylch uwch ben brigau y tonau, gan wneuthur cyfrif am ogwyddiad y llong, ac am ei suddiad ychwanegol yn y dwfr ar achlysur fel hyn nag amser arall.

Y mae trochion y don yn llawer uwch na'r don ei hunan, a phan ddelo ton yn erbyn unrhyw wrthddrych, gall ymdaflu i unrhyw uchder.—*O'r Arweinydd.*

---

## BARA ADDFED.

Y MAE bara wedi ei wneyd o flawd gwenith yn anghymwys iawn i'r cylla newydd ei grasu. Cyn ei ddefnyddio, dylai gael amser i addfedu, neu fyned trwy gyfnewidiad. Gall pobl ieuainc, neu rai yn mwynhau iechyd da, ei fwyta newydd ei grasu, heb deimlo ar y pryd unrhyw niweid oddiwrtho; ond nid felly y gwna a'r oedranus: ac nis gall neb ei fwyta heb anmharu eu peirianau treuliawl. Y mae bara newydd ei grasu yn myned trwy gyfnewidiad cyffelyb i'r hyn a gymer le mewn cwrw newydd, neu laeth enwyn newydd ei gorddi; pa rai ydynt yn niweidiol tan ar ol y gyfnewidiad. Tra y mae hyn yn cymeryd lle, y mae y bara yn rhoddi allyn gyfran fawr o *carbon*, neu hylif afiachus, ac yn sugno i mewn gymaint o *oxygen*, neu hylif iachus. Yn ol cyfrif meddygon, y mae un rhan o bump yn fwy o faeth mewn bara addfedd, na phan y tynir ef o'r pobtŷ: ac nid hyny yn unig, ond y mae yn cyfranu graddau mwy o sirioldeb o lawer. Bydd ysbrydoedd anifeilaidd y neb a fwytâo hen fara addfed yn uwch na phe byddai yn arfer ei fwyta pan yn newydd. Y mae un peth mewn cysylltiad â hyn y byddai yn dda i bawb ei gofio, a hyny ydyw—gadawer i fara addfedu lle y gall sugno i mewn yr *oxygen* yn ei stad buraf; o herwydd bydd yn sicr o archwaethu o'r awyr a fyddo o'i amgylch pan yn addfedu; ac o ganlyniad, dylid ei roddi lle y byddo yr awyr buraf. Nid yw cell o un math yn briodol iddo, mwy nag ystafell wely.—*Weekly Instructor.*

## DETHOLION.

**Byrdra Bywyd.**—Nid yw bywyd ond diwrnod byr; ond y mae yn ddiwrnod gweithiaw. Fe *all* diwydrwydd arwain i ddrygioni; ond *nis gall* segurdod arwain i ddaioni.—*Mrs. Hannah More.*

**Y Corff a'r Meddwl.**—Mae amser yn myned heibiaw, a dulliau y meddwl yn gystal a'r corff, yn cyfnewid; ond y corff a'r meddwl a erys yr un yn mhob oes, ac ydynt agored i'r un damweiniau o afiechyd a chyfeiliornad.—*Southey.*

**Y Sabboth a'r Nefoedd.**—Dedwyddwch y nefoedd fydd cadw Sabboth yn wastadol a diddiwedd. Mae y nefoedd yn cael ei galw yn Sabboth, i beri i'r rhai sydd yn caru Sabbothau hiraethu am y nef, ac i'r rhai sydd yn hiraethu am y nef garu Sabbothau.—*Henry.*

**Angelion Duw.**—Yr oll a wyddom ni am yr angelion ydyw, eu bod yn gwasanaethu ar y ddaear, ac yn canu yn y nefoedd.—*Luther*

---

### MYFYRDODAU.

Myned wnaethum ryw ddiwrnod
Mewn i'r corfflan mewn myfyrdod;
Hardd yw'r lle gan aml lwybrau,
A llwyni gwyrdd, a choed a blodau.

Colofnau marmor gwerthfawr gloyw,
Yn goffadwriaeth am y meirw;
Ac aml rybydd, neu ryw adnod,
"Edrychwyr, byddwch chwithau barod."

Ar ol cael rhybydd am fy niwedd,
A gwel'd y fan a'r lle i orwedd;
Ac enw Daniel wedi ei gladdu,
Duw sydd Farnwr, gwell dystewi.

Yn agos ataf'r oedd bedd Enoch,
Brawd caredig, cyfaill serchog;
Fel pregethwr doniau llithrig,
Drychfeddyliau yn nodedig.

Mrs. Griffiths oedd yn gorphwys,
A fu flynyddau yn yr eglwys;
Melys, gwlithog oedd ei phrofiad,
Dyweyd yn dda am Grist, y Ceidwad.

Jones o'r porth yn Maes-y-carw,
Tewi wnaeth er pan fu farw;
Bu flynyddau yn cynghori,
Hen ac ieuainc i ffoi at Iesu.

Yn agos ato'r oedd Rhys Dafydd,
Y ddau yn gorphwys yno'n llonydd;
Y ddau a'u cyrff yr un diwrnod
Yn y capel—tro tra hynod.

Bu Rees am ddyddiau dan y meini,
Sydd gan y ddeddf wrth argyhoeddi;
O ras caed rhyddid a diangfa
Trwy'r iawn a dalwyd ar Galfaria.

Fe ddysgodd ef ei egwyddorion,
Ar *Green* y Bala gan enwogion;
Pan yn hen 'r oedd melys cofio,
Y gwirionedd glywodd yno.

Aml waith y byddai'n ofni,
Wrth wel'd ie'nctyd mor ddigrynu,
Nad oedd gweled drwg y cyflwr,
Na'r mawr werth sydd mewn Gwaredwr.

Pan yn awr yn myned heibio,
Mae Ellis Jones yn hawdd ei gofio;
Cymwynasgar fel cymydog,
Mewn cyfeillach byddai'n serchog.

Ufudd, parod i bob galwad,
Ei gred fe dd'weda'n rhwydd ei brofiad;
Heb un gobaith ynddo'i hunan,
Crist yn bob peth, Crist yn gyfan.

Hiraethu'r oedd ef tua'r diwedd,
Am fyn'd i'r wlad 'does ond tangnefedd;
Ac araf hynod cafodd fyned,
Fel tywysen fyddai'n addfed.

Ffarwel, frodyr, dros ychydig,
Yna gorphwys rhai lluddedig;
Hyd foreu mawr yr adgyfodiad,
Cyfodwn oll ar d'rawiad llygad.

O foreu rhyfedd, boreu'r codi,
Yn iach mewn nerth daw'r saint i fyny;
Heb un gwahanglwyf nag ôl pechod;
Yn berffaith hardd yn ngwisg ei phriod.

Fy enaid clyw, O saf, a gwrando,
Yn mhlith y dorf, ti fyddi yno;
Y cwestiwn pwysig, yn mha gyflwr?
A wyt mewn heddwch â dy Farnwr?

*Utica, Hyd.* 15, 1853. JOSEPH HUGHES.

## CREFYDD DDADGUDDIEDIG A CHREFYDD DRADDODIADOL A DYCHYMYGOL.

Y MAE crefydd ddadguddiedig a chrefydd draddodiadol a dychymygol, yn cydredeg trwy yr oesoedd. Y ddychymygol yw yr ëangaf ei therfynau a'i gwrthddrychau, hyd yma.

Rhoddaf i ieuenctyd America ychydig o hanes y grefydd *draddodiadol* a *dychymygol* yn mysg ein cenedl ni am oesoedd. Cawn fod y blaid a elwir y Derwyddon, yn dilyn math o grefydd gymysg, o grefydd y Patriarchiaid mewn traddodiad, a chrefydd ddychymygol y paganiaid. Daeth y grefydd hon gyda'n cenedl o wlad Sinar, ganoedd o flynyddoedd cyn Crist, a bu mewn bri mawr yn Nghymru am oesau. Gelwid y bobl hyn yn Dderwyddon, am mai dan y coed derw y cadwent eu haddoliadau; am yr ystyrient nad cymhwys oedd amgau Bod Anfeidrol o fewn muriau (sef Duw). Ond cysegrid llanerch fawr yn y goedwig, i'r perwyl, eu prif orsaf oedd Ynys Môn, lle y gwelid olion eu temlau yn ddiweddar, ac mae enwau eu llefydd cysegredig ar y manau yno hyd heddyw, megys Tref y Beirdd, Tref y Dryw, Bwlch Derwydd, Tref y Derwydd, &c. Amlwg yw, eu bod yn uchel mewn dysg, ac eto yn uchel mewn ofergoelion ynfyd iawn. Tybiai llawer fod efrydwyr Duwinyddiaeth yr oes hon yn uwch mewn dysg na neb o'u blaen, pryd y mae llawer o le i feddwl fod y Derwyddon ofergoelus yn nesu i safon y gwr dysgedig yn y "C—ll" (yn y nodau a roddodd ef arni gan na soniodd gymaint a bod Ysbryd Glan, nag angen am ei waith.) Byddai raid i'r efrydydd Derwyddol fedru ysgrifenu a deall Groeg, er ei fod yn Gymro, a bod yn deall y celfyddydau a'r gwyddorau. A byddai gwyr ieuanc 20 mlynedd yn ymdrechu mewn efrydiaeth galed i fod i fynu a'i wers; a byddai gwyr enwog o Ffrainc, a manau eraill yn dod at y Derwyddon i derbyn dysg ar seryddiaeth a ffisygwriaeth, &c. Ac eto am nad oeddent yn meddu crefydd

ddadguddiedig, nac arweiniad yr Ysbryd Glan, yr oeddent yn ymbalfalu fel deillion a'r bared. Lle y gwelwn fod y ddysgeidiaeth ddynol oreu yn syrthio yn fyr, o wella cyflwr a moesau dyn, pryd y profwyd ganwaith fod yr Ysbryd Glan yn galluogi y Cymro uniaith i ddadguddio anchwyliadwy olud yr efengyl, fel y darllenid hi ar redeg gan ganoedd ar yr un fynyd. Ond y mae dysg dyn yn werth llafurio am dani, ac yn wir werthfawr er cael allan feddwl Duw yn ei air.

Eglur yw fod y Derwyddon wedi derbyn eu syniadau am Dduw a chrefydd, yn draddodiadol o oes i oes, o Noah, ac fel y mae traddodiad yn ychwanegu ato ddychymygion lawer o oes i oes, priodolasant waith Duw yn y dylif i Noah, ac addolant ef fel Duw. Hil Gomer a ddaliasant eu traddodiadau am Noah eu tad, fel eraill o'r cenedloedd. Ac yn ol eu gwagariad o wlad Sinar, ni chawsant fawr o hamdden i addoli, nes cyrhaedd Brydain ar eu dyfodiad yno dan Prydain. Sefydlasant eu crefydd gyda'u gilydd (a'u cyfreithiau yr un modd); a chan i lygriad ddechreu yn eu plith yn Sinar, ni wellasant ddim ar ol eu dyfodiad i Brydain. Eto cadwasant yn eu plith lawer o wir grefydd, fel y gwelir hi yn gymmysg a Derwyddiaeth. Wedi sefydlu cyfreithiau yn Brydain, ymddiriedodd y penaeth, sef, Prydain y cyfan i'r Derwyddon, y rhai oedd o dri swyddau, sef, Beirdd, Ofyddion, a Derwyddon. Y Beirdd oedd i ysgrifenu, i gadw achau y genedl, ac i gofnodi unrhyw beth neillduol. Yr Ofyddion oeddent physygwyr, dewiniaid, a cherddorion y ddwy radd yn myned dan yr enw Derwyddon, ac yn perthyn i'r Offeiriadaeth. Un o'u gorchwylion pwysicaf oedd addysgu y bobl ieuaingc mewn crefydd a moesoldeb. Er mwy o ddiogelwch iddynt, etholid yr enwogaf o honynt trwy bleidlais i fod yn benaeth, yr hwn a elwid yn Archdderwydd. Ac am fod elw mawr yn dyfod i'r swyddog hwn, byddai amraefaelion a thywallt gwaed yn yr etholiadau hyn yn aml. "Gwreiddyn pob

drwg yw ariangarwch." Yr Archdderwydd oedd y barnydd gwladol a chrefyddol, ac ystyrient ei farn mor gywir a barn Duw ei hun.

*Rome*. T. WILLIAMS.

[*I'w barhau.*]

---

TREM AR YR YSGOL SABBOTHOL.

HEN arferiad y byd ydyw gweinyddu addysg y naill i'r llall. Y mae angenreidrwydd am iddi fod felly, oddiar y newidiad aml sydd yn bod ar oesoedd neu oesolion y byd yn barhaus, yn nghyd a bod y rhan ddechreuol o bob oes yn ymgychwyn mewn amddifadrwydd o wybodaeth natur a gras. Yn awr un o'r llwybrau a luniwyd tuag at ddwyn yn mlaen addysgiaeth grefyddol yn y byd ydyw yr Ysgol Sabbothol, ac anwyl o beth ydyw at hyny hefyd. Bwriwn olwg fer ar ei *tharddiad*, ei *dyben*, a'i *llwydd*. O barth i'w tharddiad dechreuol, nid oes genym ni ddim ffeithiau ysgrythyrol a brawf ei hanfodiad o gwbl. Na. Ofer ydyw troi i'r Hen Destemant na'r Newydd am ei hanes. Ceir yno mae yn wir awgrymiaeth am Ysgol a hanfodai yn nyddiau Samuel, Elias, ac Eliseus, a meibion y Prophwydi, ond nis mynegir ei bod yn un Sabbothol. Er hyny, gorwedd egwyddorion a phrif gynnwysiad natur yr Ysgol Sabbothol yn wythïenau amlwg trwy gorff yr Ysgrythyrau. Ond amgylchiadau yr amseroedd a fu yn offerynol foddion i'w dwyn yn nghydau cyfleu mewn gweithrediad. Wrth hyny, cael ei dwyn i fôd o groth angenrheidrwydd cyfaddasol a ddarfu i'r Ysgol Sabbothol, o herwydd pe gwnaethai pob rhieni a phenau teuluoedd eu rhan a'u gwir ddyledswydd tuag at eu teuluoedd mewn addysgiaeth grefyddol, gartrefol—mwy na thebyg ydyw—na buasai raid am Ysgol Sabbothol yn y wedd y mae yn bod yn awr o gwbl.

Yr Ysgol Sabbothol gyntaf a fu yn y byd erioed hyd y

gwyddir, ydoedd yr un a sefydlwyd gan y gweithgar ar haelfrydig Charles Borromeo, Cardinal ac Archesgob Pabaidd yn Milan, Ewrop. Cymerodd hyny le ryw bryd o'r flwyddyn 1570, i'r 1584. Cynnelid hi yn yr Eglwys Gadeiriawl trwy gynnorthwy offeiriaid a lleygion parchus. Pa bryd, ac yn mha le, sefydlwyd hi gyntaf yn Lloegr, nid ydyw yn hawdd penderfynu. Os gogyfer ag Ysgolion Sabbothol y ffurfiwyd y gwahanol Egwyddorau (Catecism) a wnaed er's o ddau i dri chan' mlynedd yn ol, megys yr eiddo y Dr. Newell, Dr. Owen, Dr. Watts, &c. Yna rhaid eu bod yn hanfodi yno y pryd hyny. Eithr nis meddwn brawfiadau digonol i allu penderfynu mai felly y bu. Dywed rhai mai y Parch. David Simpson, Awdwr y llyfr a elwir yn "Plea for Religion," a'i sefydlodd gyntaf yno, a hyny yn Marclesfield yn y flwyddyn 1778. Ond myn eraill mai yn Gloucester y cychwynasid yr un gyntaf, dair blynedd wedi hyny, sef, yn y flwyddyn 1781, gan Mr. Robert Raikes, Argraffydd parchus yn y ddinas ddywededig. A cheir achos a dull ei sefydliad ar y pryd ganddo ef, yn gyhoeddus yn yr Iaith Saesonaeg. Yr Ysgol Sabbothol gyntaf a gadwyd yn Llundain meddai, ydoedd yn Surrey Chapel gan y Parch. Rowland Hill. Cymerth hyny le y 7fed o Hydref, 1784. O hyny i ddiwedd y flwyddyn 1785 daeth lluaws o anrhydeddusion y deyrnas i ganfod ei gwerth, megys y Bardd Cowper, y Parch. John Newton, Thomas Scott, John Wesley, yn nghyda Dr. Watson, Esgob Llandaff, a Dr. Burgess, Esgob Ty Ddewi gynt, ond Salisbury yn ddilynol. Yr Ysgol Sabbothol gyntaf a fu yn Nghymru yn ol pob hanes ydoedd yr un a ffurfiwyd gan y Parch. Thomas Charles, Bala, yn y flwyddyn 1785, sef, yn mhen y pedair blynedd wedi ei chychwyn yn Lloegr, gan yr anfarwol Raikes. Cynaliwyd hi ar y cyntaf ganddo yn ei dŷ ei hun, canys nid ydoedd eto wedi hollol ymgefnu ar yr Eglwys Sefydledig Elai oddiamgylch i gasglu yr ieuengctyd iddi, a buan y cynnyddodd gymaint fel y cydsyniodd i'w symud i gapel y T.C.

yn y lle. Wrth ymchwilio, cafodd Mr. Charles, allan na fedrai ddim mwy nag un o bob ugain o drigolion y dywysogaeth ddarllen, am hyny, teithiodd trwy Gymru i sefydlu Ysgol Sabbothol yn mhob man ag y gallai. Cytunai ar dynion cymhwysaf a fedrai ei gael i'w cadw gan dalu cyflog iddynt am hyny. Dywedai fod ganddo ar amserau gymmaint ag ugain o athrawon taledig o dan ei arolygiaeth ar unwaith. Eithr fel y cynyddodd rhif a grym yr ysgolion, newidiodd ef eu ffurf i fod yn rhai rhadlawn, ac iddo ef yn hollol y perthyna yr enw o ddwyn y drefn a grym hon i weithrediad cyffredinol. Mor awyddgar a selog ydoedd y gwas hwn i Grist gyda'r Ysgolion Sabbothol, a diwygiaeth oleuol a moesol ei gydgenedl, fel y bu iddo yn y flwyddyn 1803 fynu argraffwasg i'r Bala at eu gwasanaeth, a daeth drwyddi hi 320,000 o Lyfrau o bob math i fod yn nghylch un mlynedd ar ddeg. Y mae yr Ysgol Sabbothol Gymreig erbyn hyn yn 72 mlwydd oed, ac nid oes eisiau dyweyd am dani hi yn yr olwg a geir arni, "ac os o gryfder y cyrhaeddir pedwair ugain mlynedd." Na. Y mae yr olwg ddymunol a geir arni yn dywedyd yr â trwy lawer pedwariaeth o'r fath. Yr Ysgol Sabbothol gyntaf a gadwyd yn America meddai, ydoedd yn y flwyddyn 1796. Eithr yn mha fan o'r America y bu hyny nid ydyw yn hawdd dywedyd. Ond mynegir mai y gyntaf un a gadwyd yn New York erioed ydoedd yn y flwyddyn 1803 a hyny trwy dalu i'r Athrawon am eu gwaith gan un David Bethune, Esq. Ar gyntaf un drachefn a ddygwyd yn mlaen yn holl America ar yr egwyddor wirfoddol ydoedd yn Pittsburgh, Pa. Cymmerth hyny le yn1809, 46 mlynedd yn ol.

*Freedom, Cattaraugus Co.* JOHN WILLIAMS.

[*I'w barhau.*]

---

## CYFARWYDDIADAU I DDARLLEN Y BEIBL.

Y BEIBL yw y llyfr goreu; ei ddarllen sydd waith da; ei ddeall a etyb ddyben mawr; a'i gredu sydd hanfodol i

iachawdwriaeth. Y goreu, y mwyaf, a'r gwerthfawrocaf o drysorau y ddaear yw y Beibl; dyledswydd yw ei ddarllen, braint yw medru ei ddarllen yn iawn, dedwydd yw yr hwn a'i darlleno er rhyngu bodd Duw, ac er ei lês ei hun. I'r dyben i elwa ar y maes hwn:—

1. Darllenwch, ac edrychwch at Dduw am fendith. Mae darllen y Beibl heb *fendith* arno yn felldith; mae ei ddarllen heb *ddysgwyl* bendith yn annhèilwng; mae ei ddarllen heb edrych *at Dduw* am fendith arno yn ddidduwiaeth. Dywed Seneca nad oedd llafurwyr yr Aipht byth yn edrych i'r nefoedd am fodd i ddyfrhau eu meusydd, ond ar liteiriant afon Nilus tros eu cheulanau, fel yr unig achos o'u toreithiog lawnder. Llawer afon Nilus eto y dysgwylir wrthynt, yn lle bendith Duw wrth ddrllen y Beibl.

2. Darllenwch, a myfyriwch. Gweddi (medd Awstin) heb fyfyrdod sydd sŷch a ffurfiol, a darllen heb fyfyrdod sydd ddiddefnydd ac anfuddiol. Hefyd, dywed yr un gŵr, "Arglwydd, pa fwyaf a fyfyriwyf arnat ti, melusaf o hyd ydwyt i mi." Y treiddiwr dyfnaf yw y myfyriwr mwyaf; hir edrych a ddwg adnabyddiaeth; hir sylwi a ddwg allan y sylwedd; hir graffu a bair ddaell. Edrychwch nes gweled, creffwch nes adnabod, myfyriwch nes sylweddoli. Cyfoeth i enaid, nerth i râs, a choron i bob dyledswydd yw myfyrdod. 1 Tim. iv. 15. Mammaeth gweddi yw myfyrdod, medd Gerson. Paradwys Hierom oedd myfyrdod, medd efe. Trysordŷ, lle mae pob grâs yn gloedig, yw myfyrdod, medd Basil. Porth mynedfa i ogoniant yw myfyrdod, medd Theophylact.

3. Darllenwch, a gwnewch; dygwch i ymarferiad yr hyn a ddarllenoch. Beibl mewn llaw, heb ddim yn y galon na'r fuchedd, sydd fel asyn yn dwyn trysorau gwerthfawr ar ei gefn, to yn ymborthi ar ysgall. Mae darllen ar tafod yn dda; mae darllen a'r fuchedd yn well; y darllenwr yw yr h[illegible] sydd yn darllen a'i draed, ac a'i dafod: yr hwn sydd yn [illegible] i ymarferiad yr hyn y mae yn ei ddarllen a'i ddeall o'r

Beibl, Duw a'i cynorthwya i ddeall yr hyn y mae efe yn fethu; y ffyddlonaf mewn gwaith yw y doethaf mewn gwybod; mae gwneyd heb wybod beth i wneyd yn wael; mae gwybod beth i wneyd a pheidio ei wneyd yn waelach. Gwybodaeth anymarferol (*theory*) yw arweinydd ymarferiad, ymarferiad yw bywyd gwybodaeth anymarferol.

4. Darllenwch, a chymhwyswch. Darlleniad yw tyniad y bwa cymhwysiad yw cyrhaeddiad y nôd. Darlleniad heb gymhwysiad sydd fel llestr heb gaead, a ollwng o hono mor fuan ag y rhoddir ynddo. Ni chyrhaedda un dyn iechyd corfforol wrth ddarllen Galen, na gwybod prif-reolau Hippocrates, heb ymarferol gymhwysiad o honynt; felly ni chyrhaedda neb iechyd ysbrydol wrth ddarllen prifreolau gair Duw, heb brofiadol gymhwysiad o'r hyn sydd ynddynt. Y gwir reswm paham y mae llawer yn darllen cymaint ac yn elwa cyn lleied yw diffyg cymhwysiad.

5. Darllenwch, a gweddiwch. Dywed Luther mai yr agoriad oreu i gelloedd dirgelwch yr ysgrythyrau yw gweddi. Defnyddiwch y rhan a ddarllenoch yn weddi, gweddiwch nes cael mwynhad, mwynhewch nes diolch, diolchwch nes dangos y tâl y Beibl ei ddarllen. Y duwinydd goreu yn yr ysgrythyrau yw y gweddiwr mwyaf wrth ei ddarllen; yr esboniad goreu ar adnod yw yr un a geir mewn atebiad i weddi. Gweddiwch cyn, wrth, ac wedi darllen. Nid rhyfedd bod darllenwyr y Beibl yn ein hoes ni mor dlawd o brofiad, maent yn methu myned at y trysor o eisiau yr agoriad. Darllenwch lyfrau da pob dyn a gewch, ond Llyfr Duw yn benaf, cofiwch. Darllenwch y Beibl fel maen prawf pob llyfrau ereill—fel clorian i'ch pwyso eich hunan—fel drych i'ch gweled eich hunan—fel llusern i'ch chwilio eich hunain. Darllenwch y Beibl nes methu peidio; darllenwch nes cael blâs arno; darllenwch nes cael amgeledd trwyddo, ac o'i fendithion cyfoethoger chwi a minau.—*D. S. S.*

## GWIRIONEDD.

NID oes dim hawdd ond gweled gwirionedd.
Nid oes dim anhawdd ond cael gwirionedd.
Nid oes dim doeth ond caru gwirionedd.
Nid oes un gwybodus ond a wyr wirionedd.
Nid oes un dewr ond a ddywedo wirionedd.
Nid oes un cyfaill ond a ddengys wirionedd.
Nid oes dim amlach na chanmawl gwirionedd.
Nid oes dim anamlach na cheisio gwirionedd.
Nid oes dim rhyfeddach na chlywed gwirionedd.—*Catwg Ddoeth.*

## YMDDIRIED YN NUW.

**"Y mae eisiau a newyn ar y llewod ieuainc; ond y sawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisiau dim daioni."**

RHYW gynifer o flynyddau yn ol, yr oeddwn gyda chyfaill, yr hwn oedd ar y pryd mewn cryn afiechyd, yn ymdrechu gymaint ag a allwn i'w ddyddanu a'i gysuro dan ei gystudd.

Un prydnawn, trodd ein hymddyddan ar y testyn melys o "Ymddiried yn Nuw." Clywodd y wraig a wasanaethai yn benaf ar fy nghyfaill, yr hon a ymddangosai rhwng deg a deugain a thriugain oed, ac o ymddangosiad prydferth a chrefyddol, yr ymddyddan, a llefodd allan yn fyrbwyll adwys, "O, ymddiriedwch yn Nuw! rhoddwch eich ffydd yn y Goruchaf, ac ni chewch byth eich gadael. Mae genyf fi yn wir ma'm," meddai, gan gyfeirio ataf fi, "achos i ddywedyd felly. Yr wyf fi yn ferch i amaethwr bychan, a hyny hefyd oedd fy ngwr. Tra yr oedd fy ngwr yn fyw, yr oeddwn yn hynod o gysurus; ond pan fu farw, gadawodd ar ei ol gryn ddyledion, a gwerthwyd yr offer hwsmonaeth, dodrefn y tŷ, ac, yn wir, yr oll a feddwn, oddieithr fy nillad, er eu talu. Gwedi cael fy ngadael yn weddw gydag un plentyn, bachgen pedair oed, cymerais ran o dŷ, ac ymdrechais gynal fy hun drwy wnio, neu wneuthur negesau; ond nis gallaswn wneuthur llawer felly, o herwydd gadael fy mhlentyn ei hunan. Cymerais lawer o boen a thrafferth i blanu yn foreu yn ei feddwl gariad ac ofn yr Arglwydd, a chred sefydlog yn y Gwaredwr. A phan yn llawn difrifoldeb gyda y gorchwyl hwn, anghofiais braidd y tlodi a'r angen oeddwn wedi cael fy ngadael ynddo. Gallaf eich sicrhau, ma'm, fy mod lawer gwaith wedi

cau y drws rhag i'm cymydogion sylwi nad oedd genyf ddim i barotoi ciniaw. Cefais fy nwyn i fyny yn dda, ac nis gallaswn oddef y meddwl am droi allan i gardota. Un noswaith, yr oeddem yn bwyta ein swper; nid oedd genym ddim ond bara, ac nid oedd genym ddigon o hwnw i dòri ein heisiau. 'Mam,' meddai John bach, pan yr oedd yn gorphen ei damaid olaf, 'beth a wnawn ni boreu yfory; nid oes ddim bara yn y tŷ, ni chawn ddim boreufwyd?' Dywedais wrtho, 'Nac ofna, John; nid annghofiodd Duw nyni; gad i ni weddio arno ef, a gallwn fod yn sicr y cofia efe am danom.' Gwnaethum iddo blygu i lawr wrth fy ochr, a gweddiais ar Dduw am iddo yn ei ddaioni dosturio wrthym, a rhoddi i ni fara erbyn tranoeth. Yna rhoddais fy mhlentyn yn ei wely. gan ddywedyd wrtho am gysgu yn dawel, ac ymddiried yn Nuw, yr hwn nad ydyw byth yn annhgofio y rhai a ymddiriedant ynddo. Aethym fy hunan i'm gwely, yn credu yn sicr fod fy Nuw wedi gwrandaw fy ngweddi; ac wedi cyflwyno fy hun i ofal ein Harglwydd Iesu Grist, cysgais yn esmwyth hyd bedwar o'r gloch y boreu, pan ddarfu i John fy nihuno. 'Mam,' ebe efe, 'a ddaeth y bara?' 'Naddo eto,' meddwn wrtho, 'ond bydd yn dawel, a chysga dipyn, efe a ddaw.' Ymollyngasom ein dau i gysgu: deffrowyd fi ychydig cyn chwech trwy i ryw un guro wrth fy ffenestr. 'Dame Bartlet,' meddai rhyw ddynes, 'y mae yn rhaid i chwi godi yn y mynyd; mae llaethwraig Mrs. Martin wedi cael ei chymeryd yn bur sal, ac y mae yn rhaid i chwi ddyfod i odro yn ei lle hi.' Dyma lle yr oedd bara i ni ein dau. Hwyliais fy hun yno, ac wedi godro y buwchod eisteddais i lawr yn y gegin i fwyta fy moreufwyd, ond meddyliais am fy mhlentyn, ac nis medrwn fwyta dim. Sylwodd Mrs. Martin, a dywedodd, 'Nid ydych chwi yn bwyta eich boreufwyd, Dame Bartlet.' Diolchais iddi, a dywedais fy mod wedi gadael bachgen bach gartref yn ei wely ac eisiau bwyd mawr arno; ac os gwnai hi ganiatau, y byddai yn well genyf gymeryd fy moreufwyd adref iddo ef. Atebiad caredig Mrs. Martin ydoedd, 'Bwytewch eich boreufwyd yn awr, cewch fyned â boreufwyd i'r bachgen bach yr un modd.' Yna rhoddodd Mrs. Martin i mi fasgedaid o ymborth, digon i mi a'r plentyn am ddauneu dri diwrnod. Gwedi cyrhaedd adref, nis gallaswn lai na chydnabod fy Nuw, a theimlo yn ddiolchgar iddo ef, a fy nodd wraig garedig. Llawenychais galon fy machgen bach â'r olwg ar y boreufwyd:

cododd i fyny yn ddioed, yn llawn awydd i gyfranogi o garedigrwydd Mrs. Martin. Ar ol boreufwyd da, gwnaethym iddo blygu drachefn i lawr wrth fy ochr, tra y dychwelwn ddiolchgarwch i'r Duw daionus ag oedd wedi gwrando ein gweddi y noswaith o'r blaen, ac wedi rhoddi i ni gymwynaswraig mor garedig. Gwedi godi i fyny, cymerais ef ar fy nglin, a dywedais wrtho, 'Yn awr, John, yr wyf yn gobeithio y bydd i'r hyn a ddygwyddodd i ni gael ei gofio genyt drwy dy oes. Neithiwr yr oeddym wedi bwyta y bara oedd genym, nid oedd genym ddim yn weddill erbyn boreu heddyw; ond gweddiasom ar Dduw, am iddo, o'i drugaredd, ac er mwyn ei Fab Iesu Grist, roddi i ni ein bara beunyddiol. Clybu Duw ein gweddi, a rhoddodd i ni fara; bydded i hyny dy ddysgu trwy dy holl fywyd i ymddiried yn dy Dad nefol. Yr wyt yn dymuno ar Dduw, yn y modd mwyaf difrifol, na foed i ti byth anghofio hyn.' "

Gorphenodd Dame Bartlet ei hanesyn addysgiadol drwy ychwanegu. "Ac ni fu arnaf, ma'm, byth eisio' bara drachefn. Yr wyf yn ddedwydd yn fy mab, yr hwn sydd yn awr yn ddyn; y mae yn ufudd i mi, a thirion wrthyf; ac nid ydyw wedi anghofio y boen a gymerodd ei fam gydag ef yn ei ieuenctyd, na'r cyngor a roddais iddo pryd hwnw i ymddiried yn Nuw."

Mewn cysylltiad â'r hanesyn hwn, dylai y pethau canlynol gael eu cofio:—

1. Mae yn rhaid i ymddiried yn Nuw ddechreu gyda chrediniaeth yn efengyl Crist. Cyhyd ag y bydd anghrediniaeth yn ffynu, mae y pechadur o dan y digofaint "a ddadguddiwyd o'r nef yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion." Rhuf. i. 18. "Yr hwn nid yw yn credu," medd ein Harglwydd, "a ddamniwyd eisoes." Ioan iii. 18. Ddarllenydd, ai dyma dy gyflwr di? Os felly, dianc heb oedi at y Gwaredwr hwnw sydd yn alluog i achub hyd yr eithaf y rhai, trwyddo ef, sydd yn dyfod at Dduw. Heb. vii. 25. Dyro dy ymddiried ar unwaith yn ffyddlondeb a didwylldeb Duw y gras, yr hwn felly a garodd y byd, "fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ioan iii. 16; a'r pryd hwnw, ac nid cynt, bydd yn fraint i ti ymddiried ynddo fel Duw y rhagluniaeth.

2. Mae ymddiried yn Nuw i fod mewn cysylltiad â chyf-

lawniad diwyd a pharhaus o ddyledswyddau y sefyllfa y byddwn ynddi. Ni wneir gwyrthiau mwy; buont yn cael eu gwneuthur yn y dyddiau gynt, er profi mai dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan. Ond gan fod y Beibl yn gyflawn, a dim dadguddiad ychwanegol i gael ei roddi mwy, mae oes y gwyrthiau wedi darfod. Mae Duw yn gweithio trwy foddion: ac y mae y gweithiwr a ddysgwylia gynnaliaeth iddo ei hun a'i deulu, heb arfer diwydrwydd a synwyr, yn rhyfygu, ac nid yn ymddiried. Mae yr hwn sydd yn ymddiried yn gywir a chymeradwy yn Nuw, yn taflu ei *ofal*, ac nid ei *waith*, ar Dduw. Y mae y yn llafurio mor awyddus, penderfynol, a diwyd, a phe gallai wneuthur pob peth ei hun; ac y mae yn dybynu mor llwyr ar Dduw, a phe buasai heb wneuthur dim. Ymddyga hefyd, gyda golwg ar bethau y byd tragywyddol, yr un modd ag y gwna gyda golwg ar bethau y byd hwn. Mae Duw yn cyfarfod â'r rhai hyny a rodiant yn ei lwybrau. "Enaid y diwyd a wneir yn fras." Diar. xiii. 4. Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth." Esay xl. 31. Ac yn aml pan fyddo pob moddion dynol yn pallu, mae efe yn ymddangos fel "cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder." xivi. 1. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Melldigedig fyddo y gwr a hydero mewn dyn, ac a wnelo gnawd yn fraich iddo, a'r hwn y cilio ei galon oddiwrth yr Arglwydd. Canys efe a fydd fel y grug yn y diffaethwch, ac ni wel pan ddel daioni; eithr efe a gyfanneddа boethfanau yn yr anialwch mewn tir hallt ac anghyfannedd. Bendigedig yw y gŵr a ymddiriedo yn yr Arglwydd, ac y byddo yr Arglwydd yn hyder iddo. Canys efe a fydd megys pren wedi ei blanu wrth y dyfroedd, ac a estyn ei wraidd wrth yr afon, ac ni ŵyr oddiwrth ddyfod gwres; ei ddeilen fydd ir, ac ar flwyddyn sychder ni ofala, ac ni phaid a ffrwytho." Jer. xvii. 5—8.—*Cym. y Traethodau Crefyddol, Llundain, Rhif.* 886.

---

## Y PWLPUD CYMREIG.

NOS Lun Rhagfyr 21, 1857, yn Nghapel Jewin Crescent, Llundain, traddodwyd darlith gan y Parch. Owen Thomas, ar y *Pwlpud Cymreig*. Taliad chwecheiniog am fyned i mewn, ac yr oedd tê hefyd mewn cysylltiad a'r cyfarfod. Yr elw oddiwrth y tê a'r ddarlith tuag at y *Chapel*

*Building Fund.* Llywyddwyd y cyfarfod gan y Parch. D. Davies, Boro. Ymddengys, yn ol yr adroddiad a ddarllenwyd, ddarfod i'r gwahanol eglwysi Methodistaidd Llundain gasglu tuag at y dryso rfa hon, yn ystod y pum' mlynedd diweddaf, drwy docynau yn unig, o fewn rhyw ychydig i bedwar cant ar ddeg o bunau.

Dechreuodd Mr. Thomas ei ddarlith gydag ychydig sylwadau ar ddylanwad y pwlpud Cymreig ar y genedl; rhif y capelydd drwy Gymru; eu lluosogrwydd mewn cyfartaledd i'r boblogaeth; a bod y rhai hyn oll wedi eu codi drwy rym yr egwyddor wirfoddol. Nododd mai y pwlpud, a cadael crefydd o'r nail du, oedd ac ydyw unig fan difyrwch y Cymry—yr unig le y gallant gael *excitement* i'w meddwl:—dim chwareudai yn y wlad.

Barnai y darllenydd fod pwlpud Cymru yn sefyll ar uwch tir, ar y cyfan, na phwlpudau un rhan arall o'r byd. Clywodd brif bregethwr Lloegr, Scotland, a'r Iwerddon. Gwrandawsai Dr. Chalmers lawer gwaith, ac eraill o brif ddynion Scotland; clywodd Jay o Bath, a phrif ddynion Lloegr; a rhai o brif bregethwyr America. Caed mwy o *ddeall* yn un, a llai o *deimlad*; mwy o gywreinrwydd cyfan soddiadol yn y llall, ond llai o fywiogrwydd: ond am *ddeall* a *theimlad* wedi eu cydwau, Cymru yn ddiau biau y flaenoriaeth. Er nad oedd ac nad ydyw yn gydwastad—er nad ydyw heb ei wendidau a'i ddiffygion—eto, ar y cyfan, rhagorai o ddigon ar bob pwlpud arall yn y byd.

Nododd ryw bedwar neu bump o neillduolion (*characterstics*) allanol y pwlpud Cymreig. Wrth son am bwlpud Cymreig, gorfodid y darlithydd, o angenreidrwydd, i gyfyngu ei sylwadau i'r pwlpud Ymneillduol yn unig. Sylwodd yn gyntaf, *mai pwlpud ydoedd wedi codi o blith y bobl*—o'r dosbarth gweithgar, a lluaws mawr o blith y *radd isaf o'r dosbarth hwnw.* Cybwyllodd am Christmas Evans, fod ei fam ac yntau ar y plwyf. John Elias—bachgen o wŷdd tlawd, yn llafurio yn galed am ei fara beunyddiol;—yn craff, ymenyn oddiar ei fara i wneyd canwyll frwyn, i ddarllen ei lyfr ar ol i'r teulu fyned i'w gwelyau—*dyma John Elias!* Fod y tlodion yn Nghymru, nid yn unig yn cael pregethu yr efengyl *iddynt*, ond *yn efengylu.*

Peth arall, *mai pwlpud hunan-ddysgiadol ydoedd*, (*self-taught.*) Yr oedd *tadau* Methodistiaeth, y mae yn wir, lawer o honynt, wedi cael addysg golegawl yn Rhydychain, Caer-

grawnt, &c; ond am ein teidiau a'n tadau ni, mai dynion oeddent wedi addysgu eu hunain. Ond er mai dynion oeddent heb dderbyn dysgeidiaeth, eto, mai pell oeddynt o fod yn *anwybodus*. Na, yr oedd lawer o honynt yn feistriaid mewn duwinyddiaeth, anianyddiaeth, hanesyddiaeth, daearyddiaeth &c., ac yr oeddentyn dra medrus i wneyd y defnydd goreu o'r hyn oeddynt wedi ei gyrhaedd.

Pwlpud ydyw, *y mae ei weinidogion mewn gwirionedd yn pregethu, ac nid yn darllen eu pregethau.* Pwlpud, y mae ei weinidogion am *wneyd y defnydd goreu o'r llais a roddes Duw iddynt.*

Pwlpud ydyw, y mae gan y pregethwr y fantais o un o'r ieithoedd mwyaf cynnwysfawr, pereiddiaf, cryfaf, a mwyaf dylanwadol yn y byd. Addefai fod yr iaith Gymraeg yn ddiffygiol i drin athroniaeth, anianyddiaeth &c., o herwydd nad oedd y tir hwnw wedi ei wrteithio; ond at grefydd, a phwnc y pwlpud, ei bod heb ei hail.

Y mae un pen arall yn nedweddion y pwlpud Cymreig, y dysgwyliasyd y buasai iddo, o leiaf, gael ei grybwyll. Ond gan mai un o wŷr y pwlpud oedd y darlithydd, yr oedd yn ddigon naturiol, ac yn llawn mor briodol efallai, ar y cyfan, iddo fod yn ddystaw ar y mater. Pa fodd bynag, hyderaf na thramgwydda y darlithydd dawnus, os beiddiaf yn y fan hon ychwanegu un pen—dyma fo:—

*Mai pwlpud ydyw wedi ei dalu yn gywilyddus o shabby.* Nid wyf yn meddwl fod gan y naill enwad fawr o le i ddanod i'r llall ar y mater hwn. Pur briodol y canodd yr hen batriarch, y diweddar John Hughes, Pontrobert, yn ei alarnad i'w frawd, Morris Hughes, o Sardis—

"Ac yn ngwaith y weinidogaeth, cedwaist at athrawiaeth iach,
A chyflwynast bob gwasanaeth *am rhyw cyflog hynod fach.*"

Y mae y Cymry, efallai, yn diwygio mymryn yn raddol ar y mater hwn. Y mae yn llawn bryd i ni yn ddiau.

Os caniateir i un o ddeiliaid y *seats* ddadgan ei farn ar fater felly, dywedai, "Os ydyw pwlpud Cymru i ddal yn ei boblogrwydd—os ydyw i barhau yn ei ddylanwad ar foesau y werin—os ydyw i sefyll ar dir fel prif ddysgawdwr ac arweinydd y bobl—os dysgwlir iddo gael ei lenwi â blaenffrwyth dawn, ac â brasder talent yr oes, y mae yn *rhwym* o gael ei gynnal yn anrhydeddus. Y pwlpud a *gafodd* brif dalentau Cymru. Os megid yno Kemble, neu Keen, neu David Garrich, neu Macready, y pwlpud oedd yr unig *stage* iddo

ddangos ei hun. Ond y mae pethau yn cyfnewid. Y mae drysau eraill yn awr yn agored ar y dde ac aswy—y mae ymgeiswyr eraill heblaw y pwlpud wrth y degau yn codi eu bysedd yn barhaus ar dalent. Heblaw hyny, y mae moddion gwybodaeth yn cyflym gynnyddu; y mae y colegau yn amlhau; a'r manteision i Gymro ddysgu y Saesonaeg, a'r ieithoedd eraill, yn dra gwahanol i'r hyn oeddent, hyd yn nod i'r hyn oeddent yn nechreu y ganrif bresenol. A'm cred gadarn i ydyw, os nad egyr y Cymry eu llygaid, os na chynnaliant eu pwlpudau yn fwy anrhydeddus, yn fwy teilwng o'i urddasolrwydd, a phwysigrwydd ei swydd, y Lloegr, a bydd gwled ydderaill, wedi llyncu hufen a bla enion hen wlad ein tadau.

Dyma fy nghred ddiysgog i, ddarlleuydd. Yr ydwyf yn teimlo gormod o *delicacy* i ddyweyd yr oll sydd ar fy meddwl ar y pwnc; ond dymunwn, yn y modd difrifol, alw dy ystyriaeth, yn neillduol ystyriaeth blaenoriaid a diaconiaid eglwysi Cymru, at y pwnc. Chwiliwch i'r mater—edrychwch o'ch cwmpas—ai tua'r pwlpud Cymreig y mae blaenffrwyth doniau, a thalent yr oes sydd yn codi, ai nad ê? Os *ie*, pob peth yn dda; ond os *nad* ê, pa le y mae y bai? Hyn sydd eithaf sicr—os cyll y pwlpud y dalent, cyll ei ddylanwad—cyll y parch, yr awdurdod, a'r *respect* sydd yn gweddu iddo. Diwrnod tywyll du—diwrnod cymylog a niwliog ar ein hen wlad, a fydd diwrnod machlud haul y PWLPUD CYMREIG! Rhaid i mi, yr wyf yn gweled, adael y rhan arall o ddarlith Mr. Thomas, sef *Neillduolion mewnol y Pwlpud Cymreog*. —*Baner Cymru*.

## DEFODAU PABAIDD.

MYNYCH y clywir yn y dyddiau hyn, ryw wag ogoneddwyr yn haeru mai y grefydd Babaidd yw yr henaf yn y byd; ac y mae rhyw rai ehud, pa rai sydd yn coelio pob peth, yn taeru o blaid a thros yr egwyddorion gau, llygredig, a dinystriol a arddelir gan aelodau yr hen hudoles hon, heb wybod dim oll am danynt, na pha bryd y dechreuasant. Meddyliais gan hyny mai nid anmhriodol a fuasai dangos, mai celwydd ydyw mai egwyddorion apostolaidd ac efengylaidd yw y rhai a ddyrchefir gymaint ganddynt, trwy roddi hysbysrwydd pa bryd y dechreuasant fodoli, a'r cwbl wedi ei sylfaenu ar ddychymygion ffol a disail.

Dechreuwyd arfer y defodau isod yn y blynyddoedd hyn:—

| | |
|---|---|
| Dwfr sanctaidd, | 120 |
| Penyd, | 157 |
| Trefn Fynachaidd, | 328 |
| Gweddiau Lladinaidd, | 394 |
| Eneiniad diweddaf, | 558 |
| Purdan, | 593 |
| Gweddio ar Mair a'r saint, | 594 |
| Goruchafiaeth y Pab, | 607 |
| Cusanu bawd troed y Pab, | 709 |
| Ymgrymu i ddelwau, | 715 |
| Seintio, | 993 |
| Bedyddio clychau, | 1000 |
| Traws-sylweddiad, | 1000 |
| Gwahardd priodi, | 1015 |
| Gwerthu trwyddedau, | 1190 |
| Cyfranu maddeuant, | 1200 |
| Y chwil-lys, | 1204 |
| Cyffesiad, | 1215 |
| Derchafu aberth yr offeren, | 1222 |
| Cusanu llaw, yn lle bawd troed y Pab, | 1846 |

Gwelwn oddiwrth y rhestr uchod fel yr aeth y drwg-ddynion hyn rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo a chael eu twyllo. Gresyn fod neb o synwyr yn feddiannol ar farn yn ol gwybodaeth Gair Duw yn petruso am fynyd awr uwch ben y fath goeledd ofer a rhagrithiol. Yr Arglwydd a roddo gymhorth i bawb a ddarlleno hyn i'w ystyried, oblegid ûs ydyw ac nid gwenith—tollbyrth masnachol ac nid efengyl Grist—gwegi ac nid sylwedd—dychymygion cnawdol ac nid egwyddorion yr ysgrythyrau; ac wrth ei ystyried gocheled y cyfryw y fath gŵn a drwg-weithredwyr, a llefant am Ysbryd y gwirionedd i'w tywys i bob gwirionedd.—*Drysorfa.*

---

## DETHOLION.

SEGURDOD A THLODI.—Mae segurdod yn teithio mor araf, fel y mae tlodi yn dyfod o hyd iddo yn dra buan.—*Hunter.*

CYSTUDDIAU yw cennadon Duw, ac ni ddylem fod yn dawel nes gwybod eu neges.—*Caryl.*

YR hwn sydd yn anfon yr ystorm, sydd yn llywio y llestr. —*Adam.*

MAE Duw yn Hollwybodol yn gystal ag yn Hollalluog, a gall Hollwybodaeth weled rheswm i attal yr hyn allasai Hollalluogrwydd ei gyfranu.—*Cecil.*

PRIF ddyledswyddau dyn yw credu yr hyn sydd wir, caru yr hyn sydd hawddgar, gwneyd yr hyn sydd uniawn, dyoddef yr hyn sydd bennodedig.—*Hannah Moore.*

NA ofelwch pwy a anfoddlona wrthych, o blegid y pethau wrth ba rai y mae genych reswm i feddwl fod Duw yn foddlawn.—*Howe.*

---

DA YW I WR DDWYN YR IAU YN EI IEUENGTYD.

GWAITH hyfryd iawn yn moreuf' oes,
Yw dilyn Crist a chodi 'r groes;
Fy enaid sydd yn llawenhau,
Am ddod yn ieuanc dan yr iau.

*Ramsen.* JOHN ROBERTS.

---

MISOEDD TACHWEDD A RHAGFYR.

Mis Tachwedd—tuchan merydd,
Bras llydnod, llednoeth coedydd,
Awr addaw trwy lawenydd,
Awr drist, drosti a dderfydd:
Y da, nid eiddo'r cybydd,
Yr hael a'i rho pieufydd:
Dyn a da'r byd a dderfydd;
Da nefawl, tragwyddawl fydd.

Mis Rhagfyr—byrddydd, hirnos,
Brain yn egin, brwyn ar ros;
Tawel gwenyn ac eos;
Trin ynghyfedd diweddnos;
Adail dedwydd yn ddiddos;
Adwyth diriaid heb achos;
Yr hoedl, er hyd ei haros,
A dderfydd yn nydd a nos.

GUTYN OWAIN.

# "COFIA DY GREAWDWR."

## ANERCHIAD I IEUENCTYD YR YSGOL SABBOTHOL.

DYWED Solomon yn llyfr y Pregethwr, "Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesâu o'r blynyddoedd yn y rhai y dywedi, Nid oes i mi ddim dyddanwch ynddynt." Yr oedd Solomon yn un o'r dynion doethaf a fu yn ein byd ni erioed. Ysgrifenodd ychwaneg i bobl ieuainc na neb yn y Beibl, sef yn y Diarebion a llyfr y Pregethwr. Y mae hyn yn brawf amlwg na ddylai ieuenctyd gael eu hanghofio hyd yn nod gan y dynion mwyaf dysgedig; ac hefyd na ddylai Duw chwaith gael ei anghofio gan yr ieuenctyd. Er mwyn trefn a mantais ni a ranwn y geiriau uchod o eiddo Solomon dan dri phen.

I. Y ddyled swydd a orchymynir, "Cofia dy Greawdwr."

1. Mae dynion o bob oed ran, yn enwedig yr ieuenctyd, yn dueddol iawn i anghofio eu Creawdwr. "Yr annuwiol gan uchder ei ffroen ni chais Dduw; nid yw Duw yn eu holl feddyliau ef." Am hyny y mae yn ofynol dwyn ar gof iddo yn bur aml, "Cofia yn awr dy Greawdwr." Y mae yn meddwl llawer am bethau y byd yma, ond nid yw Duw yn myned trwy ei feddwl un amser. Mae yn gadael yr Hwn y dylai feddwl fwyaf am dano heb feddwl am dano o gwbl. Cofia ef, beth bynag a gofi: pe byddai i ti anghofio llawer o beth au, paid ag anghofio Duw dy Greawdwr.

2. Y mae yn beth afresymol iawn i ieuenctyd anghofio eu Creawdwr. Plant yn anghofio eu Tad! Y mae yr Arglwydd yn rhyfeddu yn fawr at hyn, nes ydyw yn dywedyd, "Gwrandewch, nefoedd; clyw dithau, ddaear; canys yr Arglwydd a lefarodd, Megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn." Pa reswm sydd yn y fath beth? Pe buasai i'r Arglwydd godi yn erbyn ei blant drwg ni buasai yn beth rhyfedd; ond O! fel y cofiodd efe ni! Ni anghofiodd ef yr

un o honom am un mynydyn erioed; ac y mae yn bur afresymol i ninau ei anghofio yntau.

3. Mae yn ddyledus a rhesymol i bawb gofio eu Creawdwr, ac yn enwedig yr ieuenctyd. Ein Creawdwr yw: Efe a'n gwnaeth ni, do, yn gywrain ac yn hardd iawn. Yr oedd Dafydd wedi sylwi yn fawr ar hyn, pan yn dywedyd, "Clodforaf di, canys ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed: rhyfedd yw dy weithredoedd; a'm henaid a ŵyr hyny yn dda." Beth sydd yn fwy rhesymol nag ydyw i greadur gofio ei Greawdwr? Efe sydd yn wastad yn ein cynnal. "A roddech iddynt a gasglant; agori dy law, a diwellir hwynt â daioni. Ti a guddi dy wyneb, hwythau a drallodir: dygi ymaith eu hanadl, a threngant, a dychwelant i'w llwch." Oni buasai i Dduw ein cynnal buasem yn ein beddau er ys llawer dydd. Y mae ieuenctyd yn meirw wrth y miloedd bob blwydd yn; ond mae Duw, fy nghyfaill ieuanc, wedi dy gadw a dy gynnal di a minau hyd heddyw. O Gynnaliwr da! Bydded i ni ei gofio yn mhob man, ac yn mhob amgylchiad, a hyny hyd ddiwedd ein hoes.

4. Mae cofio ein Creawdwr yn cynnwys amryw o bethau, megys

(1.) Meddwl yn aml ac yn ddifrifol am dano. "Gosodais yr Arglwydd bob amser ger fy mron; am ei fod ar fy neheulaw ni'm hysgogir."

(2.) Dymuniad gwirioneddol a hiraethlawn am fwynhau cymdeithas â Duw. "Arglwydd, hoffais drigfan dy dŷ, a lle preswylfa dy ogoniant." Salm xxvi. 8.

(3.) Ymroddiad bywiog i'w wasanaethu ac ufuddhau iddo. Fel Dafydd pan ddywedodd, "Cofiais dy enw, Arglwydd, y nos, a chadwais dy gyfraith." Salm cxix. 55.

II. Mae y ddyledswydd uchod yn rhwymedig ar ieuenctyd.

1. Mae yr Arglwyd yn gofyn am dano, ac yn ei hawlio. "Fy mab, moes i mi dy galon; dalied dy lygaid ar fy ffyrdd i." Gan fod Duw yn gofyn dy galon, efe yn ddiau a ddylai

ei chael. Wrth roddi dy feddwl i lafurio, a'th ddwylaw i weithio, cofia gadw dy galon i Dduw; ac os bydd iddo ei chael, nid yw yn cael ond yr hyn sŷ ddyledus iddo.

2. Ieuenctyd yw yr amser goreu o'r einioes o ran iechyd grym, ac hamdden. Pan y mae yr iechyd heb gilio, y grym heb ballu, ac helweddus ar un amser yn anweddus amser arall, oherwydd ei fod allan o'r ffasiwn. Ond y mae sancteiddrwydd i fod yn y ffasiwn ar dŷ Dduw byth; ac y mae yn ffasiwn anrhydeddus. O ran henafiaeth, hon oedd y ffasiwn gyntaf a gododd Duw yn Eden; ac y mae hi yn ei pherffeithrwydd yn y nefoedd. Nid yw pechod ond ail beth a gododd— sancteiddrwydd yw y cyntafanedig. Nid yw pechod i ymffrostio er ei fod mor hen a'r cythraul, canys yr oedd hwnw yn angel sanctaidd cyn ei fod yn gythraul aflan. Anwyl frodyr, annogwch y bobl i godi a gosod yr hen ffasiwn i fyny fel y byddo i wyneb y ddaear gael ei gwysgo â ffasiwn y nefoedd, a "sancteiddrwydd i'r Arglwydd yn argraffedig ar ffrwynau y meirch."—*Drysorfa*

---

## TREM AR YR YSGOL SABBOTHOL.

[*Parhad o du dalen* 333.]

DYBEN yr Ysgol Sabbothol a gyfeiria yn mlaenaf, i hyfforddi y genedl sydd yn codi mewn gwybodaeth bur, gywir o air yr Arglwydd, sef y Beibl.

Yn gyntaf oll, cynnyrcha wybodaeth o *lythyrenau ac iaith* y Beibl, yr hyn beth a gymerir fel yn ganiataol gan y Beibl, fod pob meddiannydd arno yn ei fedru eisoes; eithr fel y mae gwaethaf y modd, nid felly y mae yn bod. Dywedai George III. gynt wrth Joseph Lancaster, y dymunai efe fod pob un o fewn ei deyrnas ef yn alluog i ddarllen y Beibl, a chyflawni amcaniaeth o'r fath a wna yr Ysgol Sabbothol; daw a phawb hyd y gall i weled a darllen yn eu hiaith eu hun "fawrion weithredoedd Duw."

Gwybodaeth o *feddwl a neges* y Beibl hefyd sydd ran o'i chynnyrchiad hi. Y mae i'r Beibl air â ni. Llythyr a chenadwri oddiwrth Frenin y nefoedd atom ydyw. Ac megys y gwnaeth Acwila a Priscila gynt âg Apolos, y gwna yr Ysgol Sabbothol â ninau, egyr i ni "ffordd Duw yn fanylach."

Ac yn ddiweddaf, cyflwyno i ni trwy fendithiad Ysbryd yr Arglwydd wybodaeth brofiadol o *rinwedd ac effeithiau* y Beibl. A gwybodaeth yn iawn a fydd hon, y cyfryw a rydd fywyd i'w pherchenog.

Yn ail, I enyn llafur dyladwy yn yr oes gyda phethau crefydd yn gyffredinol.. A bendith anmhrisiadwy ydyw hyn, oblegid y mae segurdod meddyliol fel yr un corfforol yn wir niweidiol i ddyn. Os caiff y diafol genym i edrych ar demtasiynau pechadurus, a'u coleddu yn ein meddwl, fe fydd mwy na haner y fuddugoliaeth arnom wedi ei hennill ganddo yn y fan. Ond i rag-rwystro hyny, gwna yr Ysgol Sabbothol drwy ei chynlluniau dymunol dynu y meddwl at yr hyn a fyddo gwell, a dylanwadu arno er creu ysbryd o weithgarwch ynddo gyda y pethau hyny, fel na byddo gan y cyfryw flas nac amser i edrych ar ynfydrwydd.

Ond, *llwydd* yr Ysgol Sabbothol hefyd sydd werthfawr. Y mae yn anmhosibl bron cael terfyn i'w llesoldeb. Fel y sylwyd ddiweddaf mewn rhan, gwasanaetha i lanhau y wlad i fesur mawr oddiwrth ddrygioni. Er engraifft edrycher ar sir Feirionydd, yn Nghymru. Sir yr Ysgol Sabbothol ydyw hon mewn ystyr. Agos na byddai yn ofer cadw *Assizes* o'i mewn, gan gymaint o weithiau y cafodd y Barnwr fyned trwyddi heb orchwyl iddo i'w wneuthur o'u mewn, ac ymadael oddi yno â menyg gwynion ganddo yn brawf o'i diniweidrwydd. Ac hyd yn nod yn yr America. Yn yr holl bum'au o filoedd o droseddwyr a gymerir i fyny yn chwarterol yn New York, anfynych iawn y ceir un Cymro o'u mewn, beth bynag nid oedd yr un yn nghyfrifiaeth y chwar-

ter diweddaf a gyhoeddwyd. Pa fodd felly? Am fod y Cymry hyd yn hyn heb golli yn llwyr ddylanwad eu breintiau crefyddol. Y mae y nifer a ychwanegwyd o dro i dro at yr eglwysi yn mhob gwlad drwy offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol yn afrifadwy. Nid llai na 20,000 o athrawon, a 30,000 o ysgolheigion, meddir a ddychwelwyd drwyddi hi i'r eglwysi cyssylltiol â'r "*American Suday School Union*" yn 1843. Codwyd lluaws mawr o weinidogion dysgleiriaf y Testament Newydd, a'r cenadau defnyddiol a fu ac sydd yn yn mhlith y paganiaid o'r Ysgol Sabbothol. John Elias a Christmas Evans o Fôn, William Williams o'r Wern, a John Jones, o Dalysarn, oeddent o gedyrn cyntaf ein Dafydd ni; ond o fynwes yr Ysgol Sabbothol yr hanasant. Dr. Phillyp, o *Cape of Good Hope* a ddywedai pan yn ôl ar ymweliad yn Lloegr, "Fod y weddi gyhoeddus gyntaf a ddaeth oddiwrtho erioed wedi ei chyflwyno ganddo pan yn yr Ysgol Sabbothol." O'r Ysgol Sabbothol yn *Newcastle upon Tyne*, y daeth yr enwog Dr. Morrison, cyfieithydd y Beibl i iaith y Chinëaid i sylw.Ië, hi a fu yn achlysur o ffurfiad y "Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor," ag sydd erbyn heddyw a'i bendithion yn llifeirio drwy y byd. Mewn gair, pobloga yr Ysgol Sabbothol lawer ar y nefoedd, miloedd ar filoedd a geir o'i mewn, a briodolant ddechreuad eu dychweliad i'r hyn a gawsant drwy yr Ysgol Sabbothol. Erbyn hyn, ceir fod yn agos i 50,000 o Ysgolion Sabbothol yn y byd. Oddeutu 600,000 o athrawon ewyllysgar wrthi ar waith bob Sabboth yn dysgu yr oes mewn pethau a berthynant i deyrnas Dduw, ac yn nghylch 5,000,000 o ysgolheigion yn cael eu dysgyblu i fyd arall. Yn awr, gan hyny, pwy na ddenai yn mlaen yn wresog i gefnogi y fath sefydliad gogoneddus ag ydyw hon? Mewn ystyr, nid oes dim yn eisiau arnom yn awr, ond Ysbryd yr Arglwydd. Rhaid ei gael Ef, hebddo bydd y cwbl yn fyr o gyrhaedd eu dyben. Cofiwn ei fod Ef yn addawedig a phan ei ceir, rhyfedd fydd y canlyniad.

Esa. xliv. 3—5. A chan fod ein hoes yn fer, a'n hamser yn ansicr, ymroddwn i wneuthur y defnydd goreu o'r cwbl gan droi ffrwd y cyfan i ogoniant yr hwn a'n piau ni a'n breintiau.

*Freedom, Cattaraugus Co.* JOHN WILLIAMS.

---

## HANER CANT O RESYMAU I BECHADUR DROI AT DDUW HEB OEDI.

I. YSTYRIA at bwy yr wyt i droi—at Dduw.

2. Meddwl i ba beth yr wyt i droi—i sancteiddrwydd.

3. Ystyria oddiwrth ba beth yr wyt i droi—oddiwrth bechod.

4. Os myni gael dy ffordd dy hun, trwy oedi, ni bydd i ti byth ymadael a'th bechod.

5. Ystyria yn mha gyflwr yr wyt pan yn oedi!

6. Y mae oedi yn rhoddi mantais fawr i'r temtiwr.

7. Yr wyt yn difenwi Crist a'r Ysbryd Sanctaidd.

8. Pa beth yr wyt yn aros am dano pan yn oedi?

9. Mwyaf a arosi, caletaf fydd y gwaith.

10. Y mae pechod yn cael y fuddugoliaeth yn feunyddiol trwy dy fod yn oedi.

11. Y mae gan yr hen anghyfleusderau; ond yr ieuanc fanteision; gan hyny, onid ynfydrwydd yw oedi?

12. Y mae genyt fwy o fantais nag un oes neu genedlaeth.

13. Y mae oedi yn rhedeg i enbydrwydd—bywyd yn ansicr, a gras yn ansicr.

14. Cofia bod oedi yn ychwanegu dy bechod yn feunyddiol.

15. Y mae yn ychwanegu llid Duw yn dy erbyn.

16. Fe ddamnia dy enaid a'th gorff am byth.

17. Yr amser sydd yn cael ei golli trwy oedi yw yr amser pwysicaf.

18. Ni roddodd Duw un mynyd o amser i'w hebgor i neb.

19. Ystyria fawredd y gwaith sydd i gael ei gyflawni.

20. Y mae llawer yn marw, ac ychydig yn troi, o'r rhai sydd yn cyndyn oedi.

21. Os yw troi yn angenrheidiol, goreu pan gyntaf.
22. Os heb droi at Dduw, byddi heb yr un esgus.
23. Meddwl gymaint yr wyt wedi oedi eisoes.
24. Os oes genyt obaith o iachawdwriaeth, onid yw yn bechod i ti oedi?
25. Os ydwyt yn sicr o iachawdwriaeth dragywyddol, yr wyt er hyny yn sicr o fod yn golledig, os bydd i ti oedi.
26. Pa gymaint sydd yn dysgwyl wrthyt ti pan yr wyt yn oedi! Duw Dad, Mab, ac Ysbryd Glan, angelion, gweinidogion, a phobl dduwiol.
27. Ddarfu i Grist oedi marw?
28. Ddarfu Duw ddim oedi dy wneuthur di yn dda?
29. Pan y byddi i dderbyn rhyw ymwared allanol, goreu pan gyntaf y byddi yn weled yn oreu.
30. Y mae dy ddyledswyddau bydol yn myned heibio heb oedi.
31. Nid ydwyt yn oedi hau a medi, &c.
32. Nid ydwyt yn ymarhous i dderbyn rhoddion oddiwrth dy gyfeillion.
33. Fe ddylit ti ddysgwyl wrth Dduw, yn hytrach nag ef am danat ti.
34. Ni byddi yn oedi cynnorthwyo dy gymydog mewn cyfyngder, ac eto ni wnei dy gynnorthwyo dy hun gyda dy fater mawr tragywyddol.
35. Yr ydwyt yn ymdrin yn anghyfiawnach â Duw, nag â'r diafol; oblegid yr wyt yn oedi, yr hyn sydd yn groes i ewyllys Duw.
36. Ni wna troad cyflym niweid, ac ni achosa byth edifeirwch.
37. Ai nid oes gan Dduw hawl i nodi yr amser? ac fel hyn dywed efe, "Heddyw."
38. Os bydd i ti droi, fe ofidi yn fawr na buasit yn troi yn gynt.
39. A feiddi ddywedyd y gwyddost yn well na Duw pa bryd i droi.
40. Dyfodiad prysur a'th wna yn fwy croesawgar.
41. Bydded i ti wneuthur gyda Duw fel y dymunech i eraill wneuthur â thi.
42. Cofia fod oedi yn wrthodiad.
43. Ddarfu Duw ddim aros pawb fel tydi.
44. Ni wna Duw aros yn amyneddgar byth.

45. Y mae oediad yn blino gweinidogion Duw.
46. Yr wyt yn cael colled fawr pan yn oedi.
47. Yr wyt yn gwneuthur peth raid fod, neu yr ydwyt heb ei wneuthur.
48. Fe fydd dy droedigaeth yn fwy gofidus—yn fwy poenus i ti.
49. Y mae oedi yn perthyn i anghytundeb y gwaith â'r enaid.
50. Os wyt ti yn hepian, y mae damnedigaeth yn ddigon effro.

## TYLWYTH YR EPA.

YN gymaint a bod yr "Arweinydd" yn gyfrwng prio dol i gyfranu gwybodaeth fuddiol, yn enwedig i ieuenctyd; efallai mai nid anfuddiol iddynt, nag annerbyniol ganddynt, fyddai ychydig o hanes yn awr ac eilwaith rai o'r creaduriaid hynodaf a ddarganfyddwyd, sydd yn preswylio diffeithleoedd y ddaear.

Y mae yr anifeiliaid a berthyn i'r tylwyth uchod yn dwyn graddau helaeth o debygolrwydd i'r hil ddynol, o ran ffurf corfforol, yn fewnol y gystal ac allanol; ac yn eu harferion a'u greddfau. Gallwn hysbysu eu bod yn dwyn y berthynas agosaf atom o holl anifeiliaid y maes.

Y maent wedi eu cynnysgaeddu â chôf cryf. Y maent hefyd yn ddrwgdybus, ac yn ystwyth a bywiog yn eu holl ysgogiadau, yn hoff o efelychiad, ac yn llawn o ystumiau. Os cânt eu niweidio neu eu digio, gwnant ystumiau bygythiol, twrw, a sŵn annymunol yn eu hiaith eu hunain; ond pan y bydd rhywbeth yn eu boddhau, byddant y pryd hyny yn edrych yn siriol ac yn gwênu. Y mae tymherau llawer o'r rhywogaeth mor wyllt ac afreolus, fel y mae yn anhawdd eu dofi. Y mae eraill o dymherau mwy tyner, ac yn dangos mwy o serchogrwydd tuag at y cyfryw a ymddygant yn dirion tuag atynt. Ond, yn y cyffredin y mae yr holl dylwyth o dueddiadau drygionus, Hefyd, y mae y

mwyafrif o honynt yn fudron, atgas ac yn lladradgar.

Y mae yr holl rywogaethau oddyeithr un (yr Epa Barbaraidd,) yn gyfyngedig yn y Poethgylch (*Torrid Zone*,) ac yn byw gan mwyaf ar lysiau.

Crybwylla ein llyfrau ar Hanesyddiaeth Naturiol, am oddeutu triugain o wahanol rywogaethau, ac yr ydym yn deall nad ydyw hyny ond rhan fechan o'r rhifedi, hyd yn nod a ganfyddwyd yn niffeithleoedd yr hinsoddau poethion. Dywed Bosman iddo weled rhifedi afrifed o wahanol fathau ar oror Africa. Condamine a ddywed y byddai raid ysgrifenu cyfrol er desgrifio yn gywir, ddim ond y cymeriadau rhywogaethol, y rhai hyny a ddarganfyddwyd ar lanau afon Amazon. Y mae yn niffeithleoedd Africa, India, China, Japan, a Deheudir America heidiau o honynt.

Y mae gan amryw o'r llwyth hwn wagle helaeth yn nghil eu bochau, yn mha un y byddant yn cadw eu hymborth am amser i fwydo, cyn ei gnoi a'i lyncu. Y maent yn hoff iawn o chweina eu hunain, a'u gilydd. Yn y cyffredin y maent yn finteiodd mawrion, ac yn neidio gyda chywreinrwydd a bywiogrwydd mawr yn mhlith cangenau y coed; ond y mae y gwahanol rywogaethau bob amser yn cadw ar wahan, ac mewn gwahanol ardaloedd, nid ydynt byth yn ymgymysgu â'u gilydd.

HANESYDD O'R COED.

[*I'w barhau*.]

---

## "DYNA FI."

YR oedd Hottentot tlawd, yn Neheudir Africa, yn byw gydag Ellmyn duwiol, yr hwn a arferai gadw i fyny y ddyledswydd deuluaidd. Un diwrnod efe a ddarllenai yr hyn a ganlyn, "Dau ŵr a aeth i fyny i'r deml i weddio." Y dyn gwyllt, yr hwn oedd a'i galon eisoes wedi deffro, a edrychai yn ddifrifol ar y darllenydd, ac a ddywedai, "Yn awr, mi a ddysgaf pa fodd i weddio." Yr Ellmyn a ddar-

llenai yn mlaen, "O Dduw, yr wyf yn diolch i ti nad wyf fi fel y mae dynion eraill."

"Na, nid ydwyf fi; ond yr ydwyf yn waeth," ebe yr Hottentot.

Yr Ellmyn a ddarllenai yn mlaen. "Yr wyf yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos; yr wyf yn degymu cymaint oll ag a feddaf."

"Nid wyf fi yn gwneuthur hyny. Nid wyf fi yn gweddio yn y dull yna. Pa beth a wnaf?" ebe yr Hottentot trallodus.

Yr Ellmyn a ddarllenodd, hyd nes y daeth at y publican. "A'r publican, gan sefyll o hirbell, yr hwn ni fynai gymaint a chodi ei olygon tua'r nef."

"*Dyna fi*," ebe yr Hottentot. "Dyna lle yr ydwyf fi yn sefyll."

"Eithr efe a gurodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, O Dduw bydd drugarog wrthyf fi bechadur," ebe yr Ellmyn.

"Dyna fi, dyna fy ngweddi i," ebe y creadur tlawd, gan ymostwng ar ei liniau, a gweddio, "O Dduw bydd drugarog wrthyf fi bechadur," hyd nes aeth (fel y publican) i waered i'w dŷ, wedi ei achub a'i wneyd yn ddyn dedwydd.

---

## MR. THOMPSON.

EGLWYSWR parchus yn y parth gorllewinol o Loegr, a elwid Mr. Thompson, a arferai bob blwyddyn, a hyny dros lawer o flynyddau, ranu i'r tlodion yr hyn oll fyddai ganddo dros ben diwallu angenrheidiau y teulu.

Dyryswyd ei gynllun arferol, pa fodd bynag, a hyny o orfod, un flwyddyn. Canys ymrwymodd, oddi ar haelfrydedd, i roddi deg punt ar hugain tuag at adeiladu capel mewn tref, yr hon yr oedd anghen am gapel mwy.

Gorfodwyd ef, yn lle rhoddi ei ŷd i'r tlodion, fel arferal, i werthu cymaint ag a allai i godi y swm a addawsai tuag at y capel.

Wedi gwneyd yr arian i fyny, aeth ei hunan i'w danfon i'r llaw oedd i'w derbyn.

Ar y ffordd, goddiweddodd foneddiges ieuanc, yr hon a farchogai ar anifail, megys yntau; a bu ymddyddan crefyddol rhyngddynt; ac yn fuan deallodd y naill a'r llall eu bod yn myned i'r un dref.

Ennillwyd sylw a pharch y foneddiges yn fawr iddo, trwy ei agwedd a'i ymddyddanion; a hi a sylwai yn fanwl a difrifol ar ei ymddyddanion. Gwybu ei enw, a'i drigfan; a phan ar ymadael, deisyfodd y gŵr duwiol arni alw gydag ef yn nhy ei gyfaill yn y dref.

Y prydnawn hwnw, coffaodd y ferch foneddig, a hyny gyda hyfrydwch, wrth ei chyfeillion y daith hyfryd a gawsai gyda gwr eglwysig o'r enw Thompson.

"Thompson," ebe gwraig y tŷ, "byddai dda genyf ei fod y Thompson hwnw am yr hwn yr ydym wedi chwilio er ys amryw flyneddau, ond yn ofer.

"Y mae genyf arian wedi eu rhwymo mewn *bag* gan fy niweddar briod, yn ddyledus i un o'r enw, wedi eu gadael nes gelwid am danynt. Ond y mae yn ddigon tebyg ei fod ef wedi marw, ac nad yw ei gymunweinydd, pwy bynag ydyw, yn gwybod dim am danynt."

Penderfynwyd gofyn i'r gwr eglwysig a oedd yn rhyw berthynas iddo ef. Anfonwyd am dano. Daeth yntau, a buan y cafwyd allan mai brawd iddo oedd y Mr. Thompson hwnw, yr hwn yr oedd yr arian yn ddyledus iddo er ys cynnifer o flyneddau, ac mai efe oedd y cymunweinydd.

Talwyd yr arian iddo; syrthiodd yntau ar ei liniau, a benditiodd yr Arglwydd am ofalu yn y modd hwnw am ei bobl dlodion, a phrysurodd i dŷ ei gyfaill, i fynegi y newyddion: ac wrth fyned i'r tŷ a ddywedai, "Diolch i Dduw— mynegir yn Gath, a chyhoedder yn heolydd Ascelon, mai un ffyddlawn yw ein Duw ni."

---

## ATEB PRIODOL I ANFFYDDIWR.

Y PARCH. J. Armstrong, amryw flynyddoedd yn ol, oedd yn pregethu yn Harmony, yn agos i Wabash, Talaeth Indiana; a medlyg yn y lle hwnw, oedd yn anffyddiwr neu anghredadyn proffesedig, a alwai yn nghyd ei gymdeithion i ddyfod gydag ef tra y byddai yn "ymosod ar y Methodistiaid," fel y dywedai. Yn gyntaf gofynai i Mr. Armstrong, a oedd efe yn dilyn pregethu i achub eneidiau? Atebai yntau yn gadarnhaol. Yna gofynai "A ddarfu i chwi erioed weled enaid?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed glywed enaid?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed archwaethu enaid?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed

arogli enaid?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed deimlo enaid?" "Do, diolch i Dduw," ebai Mr. Armstrong. "Wel," ebai y meddyg, "y mae pedwar o'r pump synwyr yn erbyn un nad oes yr un enaid." Yna gofynai Mr Armstrong i'r boneddig, ai meddyg oedd efe; yntau hefyd a atebai yn gadarnhaol. Yna gofynai iddo, "A ddarfu i chwi erioed weled poen?" "Na ddo." A ddarfu i chwi erioed glywed poen?" "Na ddo." A ddarfu i chwi erioed archwaethu poen?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed arogli poen?" "Na ddo." "A ddarfu i chwi erioed deimlo poen?" "Do." Yna dywedai Mr. Armstrong, "Mae pedwar hefyd o'r synwyrau yn erbyn un yn profi nad oes y fath beth a phoen, ond eto, Syr, chwi a wyddoch fod poen, a gwn innau fod enaid yn bod." Y meddyg, wedi cywilyddio, a gerddai ymaith.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH IRA STOUT AT EI FAM,

### YR HWN A DDIENYDDWYD YN ROCHESTER, Y MIS DIWEDDAF, AM LOFRUDDIAETH.

FY ANWYL FAM—Pe gwyddwn am enw uwch a gwell cawsai fod i chwi. Derbyniwch fy ffarwel gwresocaf a serchocaf yn y byd hwn, yr hwn yn wir a fu yn un trallodus iawn i chwi. Yr ydych wedi ennill rhai pethau, mam, ond yr ydych wedi colli eich mab. Na thybiwch fy mod yn eich beio, oblegid nid ydwyf. Yr wyf yn tosturio wrth eraill, am fod pethau mewn sefyllfa mor annedwydd; ond am danaf fy hun, yr wyf yn foddlon. Buasai yn ddymunol genyf gael byw, o'ch rhan chwi, ac eraill, ond nid fy hunan; ond yn ngwyneb yr oll wyf wedi ei ddyoddef, ac a fyddai raid i mi fyned trwyddo pe cawn fy arbed, a ofynwch i fyw? Nis gwn beth yw addewid ddynol; nis gwn beth all bwriad dynol wneyd.

Yn nyddiau fy ieuenctyd, fy mam, gwnaethoch chwi yr hyn oll a allai mam dda ei wneyd i'm gwneyd yn ddyn enwog a da. Genych chwi y dysgais feddwl am Dduw a daioni; a'r weddi gyntaf a ddywedais erioed, a ddysgais genych chwi. Yr ydwyf yn ddyledus i chwi am fy ymlynwrth lyfrau, a'm hawydd a'm wybodaeth, a fy rhinweddau pa rai a all adferu fy nghymeriad sydd yn deillio oddiwrth eich

addysgiaeth. Fy holl wrthnysigrwydd a ddylai orphwys ar fy nhad a minau. Fy anwyl fam, mor dda ac enwog y gallallwn fod, pe y buaswn wedi gwneyd fel y dysgasoch chwi fi. Fy sylw diweddaf yw fy mod yn marw heb wneuthur unrhyw atdaliad am yr oll a wnaethoch i mi. Ond nid oes olwg na gobaith am gyflawniad o hyny, mam.

Peidiwch a galaru gormod ar fy ol, mam, oblegid rhaid i ni oll orwedd yn gyffelyb yn y llwch. Pa wahaniaeth ydyw, pa un ai yn mlodau a gogoniant ieuenctyd, ai ynte yn ngwendid henaint y byddwn feirw. Yn mha le y bydd fy medd, mam? Gadewch iddo fod yn y fath le ag y gallwch chwi a Charlie ymweled ag ef. Ond, y mae genych fab arall, mam, y godidocaf, a'r goreu. Ni addurnwyd y ddaear erioed â gwell mab a brawd, na'n Charlie hapus, yr hwn a adgoffa i chwi am yr hwn a gollasoch. Y mae ganddo holl allu eich mab tàl, heb ei ymarferiadau arswydus, a'i gymdeithasau aflwyddiannus.

Ac yn awr, mam, chwi a wrandewch arnaf fi fwy nag ar eraill; gadewch i mi ddyweyd ar awdurdod y llyfr anfarwol hwnw a elwir y Beibl, y mae byd gwell a goleuach, lle y mae tangnefedd a dedwyddwch yn teyrnasu am dragywyddoldeb. Trwy weddi gywir, ac edifeirwch, gwir ffydd yn Nghrist, a bywyd pur a sanctaidd, y gellir ei fwynhau. Er eich bod, mam, wedi byw bywyd Cristion gwir: eto, gyda theimlad dyfnach, dyddordeb purach, credu yn fwy cadarn yn ngwirioneddau y Beibl, ac yn byw yn agosach at Iachawdwr y byd. Y weddi hon a fydd yn gynnaliaeth a dyddanwch i chwi yn mhob trafferthion, ac yn sirioli gwely angeu gyda gobaith anfarwoldeb dedwydd. Pan y daw yr amser i chwi ymadael a'r fuchedd hon; gobeithio yr wyf y bydd i chwi gyrhaedd y byd hwnw o gariad a goleuni, a mwynhau y tangnefedd a'r tawelwch, yr hyn na chanfyddasoch ar y ddaear.

Derbyniwch ymweliadau, a chynghorion y Cristionogion cyfeillgar a dysgedig, Mr. Ludlow, Mr. Bloss ac eraill, y rhai sydd yn mhlith plant goreu a duwiolaf Duw ar y ddaear.

Yn fy ysgrifen ddiweddaf, rhyddheais chwi a Charlie oddiwrth bob cysylliad â'r weithred ysgeler, ac yr ydwyf wedi adrodd sefyllfa pethau eraill, fel materion o amddiffyniad, barn ac angenrheidrwydd.

Ac yn awr, mam, ffarwel! Yr oedd fy edrychiadau cynt-

af o gariad a gobaith yn cael eu troi atoch chwi, felly derbyniwch fy serchogrwydd a'm bendith.

Ydwyf, mam, yr eiddoch yn angeu, fel mewn bywyd.

MARION IRA STOUT.

## ESIAMPL DDA I FEDDWON.

YR oedd brenin paganaidd, er ys rhai blynyddau yn ol, wedi cael ei gymhell i ymarfer â'r pechod arswydus o feddwdod, trwy arferiad rhai o'r dynion gwynion oedd yn trigo yn y wlad hono; ond tueddwyd ei feddwl, wedi hyn, i ymwrthod â'r ymarferiad erchyll. Y brenin, ar ol ychydig o amser wedi iddo adael heibio yr ymarferiad, a ddywedodd wrth un o'r cenadon, "Pe byddai i chwi gynyg pedair mil o ddoleri i mi am yfed dim ond gwydriad o'r pethau sydd yn dyrysu synwyrau, sef y ddiod feddwol, nis gwnawn, oblegid yr ydwyf wedi cael mwy o gysur mewn mis pan wedi ymwrthod â hi, nag mewn blynyddoedd, pan yr oeddwn yn ymarfer â hi. Ac hefyd, pe buaswn i yn yfed gwydriad eto, nis gwn yn mha le y terfynwn, os cyffrown yr hen flys. Gan hyny, byddai yn well genyf roddi pedair mil o ddoleri i chwi am beidio ei roddi i mi pe byddai achos, canys yr wyf wedi ei gasäu, fel ag y dymunwn beidio ei weled byth mwy." Dyna esiampl i feddwon, onidê, i ddilyn ei hol?

## GWYSTL DA.

"FY Ewythr Oliver," ebe gweinidog eglwys, yn y wlad, wrth hen dyddynwr, perthynol i'w eglwys, "Ewyllysiwn i chwi gludo llwyth o goed i'r hen Mrs. W——, gweddw ein brawd crefyddol, yr hwn a fu yn byw mor hir ychydig uwchlaw i chwi, ar y ffordd i D——." "Myfi a geisiaf wneyd," ebe y tyddynwr; "Ond at bwy yr edrychaf am dâl?" "Darllenwch," ebe y gweinidog, "pan ewch adrau, y tair adnod gyntaf o'r Salm li., ac yna, os bydd arnoch eisiau gwell gwystl am eich tâl, gelwch arnaf fi."

Yn mhen ychydig ddyddiau, cyfarfyddodd yr hen dyddynwr â'r gweinidog, ac a ddywedodd, "Yr wyf yn hoffi y wystl a grybwyllasoch, ac nid oes arnaf ofn y bydd iddo

fethu yn amser cisiau; olegid y mae fy nghalon mor hyderus pan yn eu darllen, fel o'r braidd y gallaswn gau fy llygaid y noson hono."

## DETHOLION.

EICH FFORDD.—Os ydyw Duw wedi dewis i chwi ffordd, ymddibynwch arni, y mae yr oreu a allesid ei dewis; gall fod yn arw, ond y mae yn gywir; gall fod yn flinderus, ond y mae yn sicr.

GWRTHDDRYCH ADDYSG.—Nôd addysg a ddylai fod i'n hyfforddi pa fodd i feddwl yn hytrach na pha beth i feddwl; gwellâu ac ëangu ein dealltwriaeth, fel ag i'n galluogi i feddwl drosom ein hunain, yn hytrach na llwytho ein côf â meddyliau dynion eraill.—*Dr. Beattie.*

SIARAD.—Os meddyli ddwywaith cyn siarad unwaith, ti a siaradi ddwywaith gwell o'r herwydd. Gwell peidio siarad dim, na bod heb siarad i'r pwrpas. A thuag at siarad yn berthynol, ystyria beth sydd yn gymhwys i'w ddyweyd, a phryd y mae yn gymhwys dywedyd hyny. Yn mhob dadleuaeth, bydded gwirionedd yn nôd i ti, ac nid buddugoliaeth; ymdrecha i ennill dy wrthwynebwr yn hytrach nag i'w ddynoethi.—*William Penn.*

FFORDD TANGNEFEDD.—Nes y deloch chwi at Grist, nis gall tangnefedd ddyfod atoch chwi. Mae Crist a thangnefedd yn anysgaredig. Yr ydych wedi bod yn cerdded ffyrdd eraill, yn ymdrech gyda dyledswyddau, ac eto heb gael gorphwysfa: paham na ddeuwch chwi ar hyd ffordd ffydd? Cariwch y baich at Grist.—*Flavel*

TYSTION OFNADWY.—Y mae pedwar peth na ddymunwn er y byd eu cael yn fy erbyn yn y diwedd:—gair Duw, fy nghydwybod fy hun, gweddiau y tlodion, a chyfrif gweinidogion duwiol.—*Phylip Henry.*

### CYNGHOR I'R IEUENCTYD DIBROFFES.

Eich clustiau rhowch ieuenctyd llon,
Yr adeg hon i wrando;
At gyngor da yn dirion trowch,
Na rowch eich bryd ar gilio.

Os mynwch ddilyn llwybrau gau,
  A ffol bleserau bydol;
Cewch dragywyddoldeb i dristau,
  Diderfyn boenau bythol.

Am bob rhyw bechod yn y byd,
  Mae'r gair i gyd yn gwirio
Mai Duw a farn pob troseddwr,
  Yn siwr mae yw arswydo.

Ac oni ddychwel yr annuw,'
  Ac iddo fyw yn ffyddlon;
Mae dydd yn d'od a Duw a dâl,
  Trwy ddial ei elynion.

Y sawl a ddysgwyl ynfyd yw
  Y caiff gan Dduw dderbyniad,
A byw mewn pechod hyd ei oes,
  Yn ddifoes ei ymddygiad.

Trwy'r ddeddf ychwaith ni chyfiawnheir,
  Un cnawd a geir tàn bechod;
Ond ffydd yn Aberth Iawnol Crist,
  Ddaw enaid trist i gymod.

Yn edifeiriol bellach trowch,
  At Iesu ffowch ar fyrder;
Gwaredwr ewyllysgar yw,
  Yn nydd unrhyw gyfyngder.

A dwedwch wrtho Arglwydd da,
  Wyf yr aflana' anwyd;
Yn unig er dy fwyn dy hun,
  'Rwy'n erfyn am fy mywyd.

Oddiwrth ein holl euogrwydd mawr
  Gall Crist yn awr waredu;
Trwy yr anfeidrol iawn a roes,
  Pan ar y groes yn gwaedu.

O credwch yr efengyl fwyn,
  Sy'n llawn yn dwyn llawenydd,
Am obaith da trwy ras ein Duw,
  Y cawn ni fyw'n dragywydd.

Nid am un weithred dda a wnawn,
  Y cawn fwynhau ein gwynfyd;
Ond trwy ymddiried yn yr Iawn,
  Yn gyfiawn Duw a'n cyfyd.

*Rome.* R. D. PUGH.

## ANNOGAETH I DDIOLCHGARWCH.

[Crynodeb o bregeth a draddodwyd gan y Parch. THOMAS WILLIAMS, yn Rome, y dydd diolchgarwch, sef Tach, 18fed, ac a ysgrifenwyd wrth ei gwrando, gan H. J. Hughes.]

1 THES. v. 18. "Yn mhob dim diolchwch."

Y MAE y dydd hwn wedi ei ddewis gan Lywydd y Dalaeth i fod yn ddydd o ddiolchgarwch i Dduw, yn benaf am ei ddaioni rhagluniaethol. Y mae yn destyn cysur i ni yma heddyw fod Llywydd y Dalaeth yn golygu fod un Llywydd mawr goruwch pawb yn mhob man. Y mae y rhan a ddarllenwyd fel testyn yn galw ein sylw yn neillduol at y peth y daethom yma heddyw o'i blegyd. "Yn mhob dim diolchwch."

Galwn eich sylw am ychydig amser at dri neu bedwar o bethau—

I. YR YDYM DAN RWYMAU I DDIOLCH.

II. YR YDYM DAN GYMHELLIADAU PARHAUS I DDIOLCH.

III. Y MAE GENYM DESTYNAU ANEIRIF I FOD YN DDIOLCHGAR.

IV. Y TEIMLAD MWYAF CYSURUS Y GALL DYN FOD YN EI AFAEL YDYW BOD YN DDIOLCHGAR.

I. YR YDYM DAN RWYMAU I FOD YN DDIOLCHGAR.

Nid rhyw garedigrwydd i'r Duw mawr ydyw ein bod yn rhoddi diolchgarwch iddo. O na, yr ydym dan rwymau i wneyd. Nid rhyw wneuthur trugaredd i Dduw yr ydym trwy gadw dydd o ddiolchgarwch fel hyn; nid ydyw ond yr hyn sydd ddyledus iddo. "Yn mhob dim diolchwch." Teyrnged ydyw diolchgarwch ag y mae Duw yn ei *ddemand-io* oddiwrth ei greaduriaid rhesymol, neu ynte fe'u cosbir am byth o herwydd eu hanniolchgarwch. Y mae ymddygiadau llawer yn y byd yn dangos eu bod yn rhoddi rhyw aberth mawr i Dduw, trwy roddi un dydd o ddiolchgarwch mewn blwyddyn. Yr ydym dan rwymau i foliannu yr Arglwydd.

Efe a barodd fod i ni yn y dechreu. Efe a'n cynnaliodd o'r bru hyd yn bresenol; gan hyny diolchwn. Nid yn unig y mae yn fraint ac anrhydedd i ni gael yngynnull at ein gilydd fel hyn, ond yr ydym dan rwymau o wneyd. "Yn mhob dim diolchwch."

II. Yr ydym dan gymhelliadau i ddiolch yn barhaus.

Gallwn edrych ar hyn mewn dwy ffordd—

1. Trwy ei dystiolaethau, trwy ei air. Y mae yn galw arnom yn barhaus. "Clodforwch ef, yr holl bobloedd. O herwydd ei drugaredd ef tuag atom ni sydd fawr, a gwirionedd yr Arglwydd a bery yn dragywydd. Molwch yr Arglwydd." Salm cxvii.

2. Y mae yn ei air, yn anghymeradwyo y rhai a esgeulusant y ddyledswydd bwysig hon. Nid ydyw Duw yn derbyn bywyd anniolchgar yn serchog oddiwrthyt ti a minau. *Un* o'r deg gwahangleifion hyny a lanhawyd gan Grist, a ddaeth i dalu diolch. "Oni lanhawyd y deg? Ond pa le y mae y naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi y gogoniant i Dduw, ond yr estron hwn." Luc xvii. 17. Dim ond un o bob deg yn ymddwyn yn garedig i Dduw, am ei ofal parhaus am danom yn mhob amgylchiad. O ymddygiad annheilwng!

III. Y mae genym destynau aneirif i fod yn ddiolchgar.

Priodol yw dywedyd yn ngeiriau y bardd—

"'Fu neb o feibion Adda erioed,
A rhwymau mwy i ganu ei glod."

"Yn mhob dim diolchwch." Diolch wrth fyned i'r gwely, diolch wrth gyfodi, diolch wrth wisgo, diolch wrth fwyta. Diolch yn holl fanylion amgylchiadau dy fywyd—diolch fod genyt ti fwrdd llawn, ac nad ydym yn ngafael y newyn, diolch am dy synwyrau; pan oeddit ti yn cysgu, neithiwr, cad-

wodd dy synwyrau yn dy feddiant, gan hyny dychwel y mawl iddo. "Yn mhob dim diolchwch."

Diolch am wlad dangnefeddus. Pa faint o werth ydyw gwlad dawel a heddychol, yn hytrach na thywallt gwaed? Y mae yn anmhosibl dyweyd faint. Diolch iddo am oruwchlywodraethu calonau y llywodraethwyr daearol, a chadw rhwymau cariad cenedlaethol y byd mor gyfan.

Diolch dy fod dan amddiffyn llywodraeth sydd yn cael ei dwyn yn mlaen mor dangnefeddus. "Yn mhob dim diolchwch."

Diolch am ei ddaioni rhagluniaethol. Y mae yn rhoddi "had i'r hauwr, a bara i'r bwytawr." Hefyd, gallasai ladd holl anifeiliaid y maes mewn un noswaith, nes y buasent yn ddrewdod yn y wlad; ond, nid felly y gwelodd yn dda wneyd. O ba le y mae hyn yn dyfod? Yr Anfeidrol sydd yn "agoryd" ei "law, a diwallu pob peth byw," â'i "ewyllys da." Agor dy lygaid, ti a weli filoedd o destynau i foliannu yr Arglwydd. Gweithier ni oll at ein dyledswydd.

IV. Y TEIMLAD MWYAF CYSURUS Y GALL DYN FOD YN EI AFAEL, YDYW BOD YN DDIOLCHGAR.

Bod yn feddiannol ar ysbryd i gyflwyno diolch i Dduw am ei ddaioni. Y mae yn ddyledus arnat ti ymostwng o flaen Duw, a'i gydnabod am ei ddaioni, pe b'ai ti heb deimlo felly weithiau, fe'th weithir i'r teimlad hwn wrth ymarfer. Gobeithio y byddwn oll yn ymwneyd a'r ddyledswydd bwysig o'i foli, am ei ddoniau aneirif yn holl fanylion gweinyddiad ei drugareddau tymhorol; ond yn neillduol am ei ddoniau ysbrydol. Nid yn unig am ein bara naturiol, ond am y "bara a bery i fywyd tragywyddol." Fe fydd bara naturiol yn ddiwerth genym oll yn fuan iawn; ond llafuriwn am y "bara a ddaeth i waered o'r nef." Gobeithio y byddwn oll yn cyflwyno y mawl yn deilwng i'r Duw a'n pïau, yn "mŵg yr arogldarth peraidd." Yr Arglwydd o'i ras a'n gweithio yn rhai mwy diolchgar i Dduw yn ein dydd a'n tymhor.

## Y SABBOTH.

YSTYR y gair Sabboth yw gorphwysfa, a elwir felly am i Dduw orphwys arno oddiwrth waith y greadigaeth, ac felly yn orphwysfa i ddyn ac anifail. "Ac ar y seithfed dydd y gorphenodd Duw ei waith yr hwn a wnaethai efe, ar a orphwysodd ar y seithfed dydd oddiwrth ei holl waith yr hwn a wnaethai efe." Ac efe a roddodd orchymyn i'w gadw. "Chwe' diwrnod y gweithi, ac ar y seithfed dydd y gorphwysi, yn amser aredig, ac yn amser cynhanaf y gorphwysi," i'w dreulio i addoli Duw, darllen a gwrando ei air ef. "Cedwch fy Sabbothau, a pherchwch fy nghyssegr; yr Arglwydd ydwyf fi." Ac y mae addewidion i'r rhai a'i cadwant. "Ië, rhoddaf iddynt yn fy nhŷ ac o fewn fy magwyrydd le, ac enw gwell na meibion na merched, rhoddaf iddynt enw tragywyddol yr hwn ni thorir ymaith."

Ac y mae bygythion yn erbyn y rhai a'i torant. "Am hyny, cedwch fy Sabbothau, oblegyd sanctaidd i'w i chwi; llwyr roddir i farwolaeth yr hwn a'i haloga, o herwydd pwy bynag a wnelo waith arno, torir ymaith yr enaid hwnw o blith ei bobl." Ni ddylai ymarferion coelgrefyddol gael ei harferyd arno, ond yn hytrach gweithredoedd o drugaredd a haelioni. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, pa ddyn o honoch fydd a chanddo ddafad, ac os syrth hono mewn pwll ar y dydd Sabboth, onid ymeifl ynddi, a'i chodi allan?"

Fe gyfnewidiwyd y Sabboth, o'r seithfed dydd i'r dydd cyntaf o'r wythnos. Y rheswm dros hyny, ydyw fod Crist wedi adgyfodi oddiwrth y meirw y dydd cyntaf, yr hwn a gadwodd byth wedi hyny yn sanctaidd er côf o hyn. Anrhydeddwyd y dydd hwn gan Grist lawer gwaith, trwy ei waith yn cyfarfod a'i ddysgyblion. "Yna a hi yn hwyr, y dydd cyntaf hwnw o'r wythnos, a'r drysau yn gauad, lle yr oedd y dysgyblion wedi ymgasglu yn nghyd rhag ofn yr Iuddewon, daeth yr Iesu, ac a safodd yn y canol, ac a ddy-

wedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi." Ar y dydd hwnw y derbyniodd yr Apostolion yr Ysbryd Glan i'w cymhwyso i'r gwaith. "Ac wedi dyfod dydd y Pentecost, yr oeddent hwy oll yn gytun yn yr un lle." Dydd i gofio darostyngiad Crist trwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. "Eithr yn awr Crist a gyfododd oddiwtth y meirw, ac a wnaed yn flaenffwyth, y rhai a hunasant." Dydd addoliad cyhoeddus, ac i gofio aberth Crist. "Ac ar y dydd cyntaf o'r wythnos, wedi i'r dysgyblion ddyfod yn nghyd i dori bara, Paul a ymresymodd â hwynt, ac ar fedr myned ymaith dranoeth, ac efe a barhaodd hyd haner nos," dydd o flaenbrawf o'r orphwysfa nefol. *Mr.* ——

## CREFYDD DDADGUDDIEDIG A CHREFYDD DRADDODIADOL A DYCHYMYGOL.

[*Parhad o du dalen* 331.]

YR oedd y Derwyddon fel eraill yn fawr am enwogrwydd. Gwisgent am eu gyddfau dorchau o aur. Eu gwisgoedd oedd glas, gwyn, a gwyrdd, i arwyddo heddwch, dysgeidiaeth a phurdeb. Yn y wisg wen y cyflawnent y gwasanaeth crefyddol. Byddai gan y Derwyddon wrth addoli, ŵy celfydd, yn ddelw o arch Noah; wrth yr hwn y deallent egwyddorion bywyd—am fod ŵy yn cynnal ynddo sylwedd bywyd eu hiliogaeth, fel yr oedd arch Noah yn cynnal bywyd y byd amser y dylif. Mae yn sicr fod y Derwyddon yn addef un Bod mawr; eto, dynion oedd eu prif dduwiau fel cenedloedd eraill. Bernir mai y Pheniciaid a ddysgodd iddynt addoli llu y nefoedd; a hyny pan oeddent yn masnachu yn Brydain mewn alcan (*tin*,) canys yr oedd trafnyddiaeth rhyngddynt. Yr oedd cloddfeydd Cernyw yn agored ugeiniau o flynyddoedd cyn dyfodiad Crist. Wedi i'r Cymry ddyfod yn adnabyddus â llu y nefoedd, buan y cyssylltwyd y cyfryw dduwiaeth â Derwyddiaeth. Yr oeddent mor adnabyddus

â'r bydoedd wybrenol a neb o'u cydoeswyr; ond eu prif dduw oedd Noah, o dan wahanol enwau. Hu Gadarn oedd un o enwau Noah gan yr hen Gymry; ac fe'i ystyrid ganddynt yn enwog mewn doethineb, cyfiawnder, a heddwch; a dywedent ei fod yn wyddfodol yn amser y dylif, pryd y cyflawnodd y fath orchestwaith ag i atal ailddyfodiad y dyliftiad hwnw mwy, trwy iddo lusgo âg ychain banog, Afanc y llyn i dir!! O chwedlau truenus ein henafiaid ofergoelus, a fu yn mro a chysgod angeu, am oesau maith! Diolch byth am ddadguddiad Dwyfol.

Priodolid iddo hefyd radd uwch na dyn, gan y gosodent ef yn eisteddle y Goruchaf, a bernid ef yn meddu llywodraeth gyffredinol, ac yn marchogaeth ar belydr yr haul, gyda'r hwn yr addolid ef. Addolid ef yn Môn dan rith tarw, a buwch; a chan fod Môn o'r un ystyr a buwch; felly oddiwrth Hu Gadarn, oedd ar lûn ŷch y cafodd Môn ei henw, a geilw Taliesin Yynys Môn, yn Ynys Moliant Hu. Yr oedd ganddynt luaws o dduwiau dan wahanol enwau—megys Pen Dragon (yr hwn enw a welais yn ddiweddar gan un o fawrion y wlad hon wrth ei ysgrif.) Beli oedd dduw o fri mawr, am yr ystrid ef yn ffynon goleuni a gwres; ac addolid ef yn ol yr enw Tân, ac yr oedd tân yn cael ei gyneu iddo yn ei demlau. Y tân a gynnelid y cyntaf o Fai, a'r cyntaf o Dachwedd oedd gyssegredig. Gwaednerth y galwai y Cymry eu duw rhyfel. Ac fel yr oedd yn genedl ryfelgar, nid oeddent yn amser rhyfel yn petruso aberthu dynion i'r duw yma. Neifion a barchnt fel duw y môr. Yn y Trioedd, gelwir Arch Noah yn Llong Nefydd Naf Neifion; ac am y duw hwn y dywed Dafydd ap Gwilym, iddo nofio

"O Droia fawr draw i Fôn."

Gwŷn ap Nedd a ystyrient yn dywysog y wlad obry: galwent ef yn frenin y Tylwyth Teg, a haerent eu bod yn arfer dawnsio yn ochrau mynyddau Arfon a Môn. Yr oedd y Cym-

ry yn nechreu y ganrif hon mor barod i son am y Tylwyth Teg, ag yw Cymry yr America i son am Wladychfa Gymreig, a dywedent y byddai y Tylwyth Teg yn rhanu llawer o arian i fugeiliaid anifeiliaid Cymru os cadwent eu tai yn lân. Byddent mor dueddol i ladrata plant, ag ydyw hen wragedd Efrog Newydd i fyned a phlant i gardota. O draddodiad gwrachïaidd ynfyd a chelwyddog. Diolch am ddydd yr efengyl anwyl i yru cysgodau yr hwyr i gilio, ac ellyllon y nos i ffoi.

Cyflwynai ein henafiaid addoliad selog i Afon Dyfrdwy. Ystyr Dyfrdwy, yw dwfr dwyfol; a gelwid hi dyfrdonwy, sef dwfr yn rhoddi gras. Tardda yr afon hon o ddwy ffynon, sydd yn agos i Lyn Tegid, gerllaw y Bala; ac fe dybiai y Derwyddon i'r dwfr hwnw redeg yn ddigymmysg trwy Lyn Tegid, fel arwydd o'r dylif a'r ffrwd a redai trwyddo, yn ffrwd bywyd. Wrth hon, hefyd y deallent y ddau berson a ddiangodd rhag y dylif. Yma y gwelir fod afon Dyfrdwy yn dynodi y rhai a gadwyd yn yr Arch. Yr oedd y syniadau ynfyd hyn, gan ganoedd o'n cenedl mor ddiweddar a'r ddegfed ganrif. Ond, O blant! y mae canoedd o'm cyfoedion fel finau yn America, a fu yn sefyll ar lanerch las, ar fin Dyfrdwy, a'r afon sydd yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen, yn gollwng ei ffrydiau grasol a dylanwadol i'n calonau, fel na theimlem y ddaear dan ein gwadnau, na'n dillad am ein cefnau, na'n gwallt ar ein penau, na gofid yn ein mynwesau, gan rym dylanwad nerthol afon gras trwy enaunau ychain Duw. Diolch am grefydd dda dguddiedig. Profi a gaffom o'i rhinwedd.

*Rome.* T. WILLIAMS.

[*I'w barhau.*]

---

Y MAE gostyngeiddrwydd naill a'i lleihau neu yn cynnyddu yn mhob prawf; ac fel y mae gwir ostyngeiddrwydd yn cynnyddu a theyrnasu, y mae heddwch yn fwynhad.

## TYLWYTH YR EPA.

DOSBERTHIR y tylwyth hwn i dri o wahanol ranau—sef yr Epa (*Ape*,) y Cawrepa (*Baboon*,) a'r Gwrab (*Monkey*.) Y mae yr Epa yn amddifad o gynffon, yn cerdded yn unionsyth. Dyga ei draed a'i ddwylaw raddau helaeth o debygolrwydd i draed a dwylaw dynion. O ran ei arferiad, y mae yn dyner, tirion ac addfwyn, ac yn hoffi efelychu gweithredoedd dynol.

Y mae gan y Cawrepa (neu yr Epa mawr fel ei gelwir gan rai,) gynffon fer; yn gyffredin, cerdda â'i bedwar troed. Angyffredin y bydd yn cerddedd yn unionsyth, oddyeithr pan y bydd yn cael ei orfodi. Y mae rhai o honynt mor dal a dynion, gwyneb hir, a llygaid soddedig sydd ganddo. O ran ei dymher, lled sarug a ffyrnig ydyw. Cawn fanylu ychwaneg arno mewn rhifynau dyfodol.

Y mae y Gwrab yn gyffredin yn perchen cynffon hwy na'i gorff. Y dosbarth hwn yw y mwyaf bywiog a chyflym yn eu hysgogiadau o'r holl dylwyth. Y maent yn dueddol iawn o ladrata pan gânt gyfleustra. Nid ydynt byth yn efelychu gweithrddoedd dynol, and gyda dybenion drygionus. Y maent yn hollol annibynol—oblegyd nid oes arnynt ofn y llewod, y dywalgwn, na'r seirff. Dywed Labat iddo weled yn Africa, rai o'r tylwyth hwn, yn chwareu ar yr un gangen ag y gorphwysai y seirff, gan neidio drostynt, yn ol ac yn mlaen heb eu hofni.

Mewn amryw ranau o'r India, y mae Tylwyth yr Epa yn wrthddrychau addoliod gan y trigolion, ac adeiledir temlau o'r fath wychaf er parch ac anrhydedd iddynt. Y maent bron yn afrifadwy.

Byddant yn gyffredin yn dyfod i'r dinasoedd yn fyddinoedd, ac yn myned i mewn i'r tai gyda pherffaith ryddid. Yn Calicut, cedwir hwy allan gan y trigolion i fesur mawr; ond y maent yn gorfod delltenu eu ffenestri er eu hatal.

Yn Amadabad, prif ddinas Guzart, y mae tri o glafdai i anifeiliaid, a bydd rhai cleifion a chloffion o'r tylwyth hwn yn myned yno; ac hyd yn nod rai iach a ddewisa gyfaneddu yno—cânt eu porthi a'u hamgeleddu.

Byddant yn cydgyfarfod ddwywaith bob wythnos, yn heolydd y ddinas uchod. Yna esgynant i benau y tai, ar ba rai y bydd rhodleoedd bychain; a gorweddant yno yn ystod gwres a phoethder y dydd. Ar y ddau ddiwrnod hyn, bydd y trigolion yn gyffredin yn gofalu am roddi *rice*, *millet*, neu ffrwythydd ar y rhodfeydd, fel pan ddelont na chaffont eu siomi ar ol dyfod. Os dygwyddant gael eu siomi, byddant yn cadw twrw mawr, ac yn dueddol o wneuthur drygioni

Pan yspeiliodd trigolion o Portugal Ynys Ceylon, canfyddasant yn un o'r temlau a gyssegrwyd i'r anifeiliaid hyn, flwch aur bychan, yn mha un yr oedd daint Epa. Ni chynnygiodd y brodorion iddynt ddim llai na $700,000 am dano. Y Viceroy, pa fodd bynag, mewn trefn i'w digaloni, a orchymynodd iddo gael ei losgi.

Yn mhen oddeutu tair blynedd ar ol hyny, daeth dyn yno ag oedd gyda y bobl o Portugal, a chanddo ddaint cyffelyb i'r un a losgasid, ac a roddodd ar ddeall i'r trigolion ei fod wedi cael o hyd i'r hen un. Erbyn hyn yr oedd yr Offeiriad yn llawenychu; ac yn ol yr hanes a gawn, ymddengys iddo ei brynu, a thalu am dano oddeutu $50,000.

HANESYDD O'R COED.

[*I'w barhau.*]

---

## "Y MYNYDD GWYNFYDEDIG."

UN prydnawn Sabboth, ymgasglodd mam a phlant yn gylch oddeutu y tân. Yr oeddent wedi darllen y bummed bennod o efengyl Matthew, y geiriau gwerthfawr a gwynfydedig, gyda pha rai y dechreuodd ein Iachawdwr ei weinidogaeth ar y ddaear. Yr oedd eu calonau yn llawn o

deimladau tyner, gan eistedd yn ddystaw, a phob un yn myfyrio ar yr adnod oedd wedi dal ar ei feddwl wrth ddarllen.

Yna dechreua y fam adrodd ei phrofiad, gan ddywedyd, mai "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru," oedd wedi cael eu hargraffu ar ei meddwl hi, nes oedd y dagrau yn disgyn yn gyflym ar ei dillad gweddwol; a derchafodd ei chalon mewn gweddi at yr Arglwydd i ofyn iddo am i'w galar hi gael bod y galar sanctaidd hwnw a fyddai yn troi yn ddiddanwch yn y diwedd.

"'Gwyn eu byd y tlodion yn yr Ysbryd,' yw yr hyn a ddewisais i," ebe geneth fechen a llygaid gleision, yr hon oedd yn llechu wrth ochr ei mam; "oblegyd y mae arnaf fi eisiau bod yn nheyrnas nefoedd."

"'Gwyn eu byd y rhai addfwyn,' yw fy arwyddair i," meddai un arall, llygaid dysglaer pa un oedd yn llawn ysbryd; "yr wyf yn meddwl mai dyna a'm cynnorthwya i fwyaf."

"Ond, 'Gwyn eu byd y rhai pur o galon,' yw y goreu o'r cwbl, 'canys hwy a welant Dduw,'" ebe bachgen meddylgar oddeutu deuddeg mlwydd oed.

Yr oedd yno un arall, ddwy neu dair blwydd yn henach, yn aros yn ddystaw, er fod ei lygaid deigrynol a'i fochau gwridog yn dangos fod rhywbeth pwysig ar ei feddwl yntau. Ei fam a ofynai iddo, "George, pa un wyt ti yn ei ddewis?" "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder," ebe yntau, gyda gwefusau crynedig. "O! George," meddai y plant nis gall hyny na fod i'r un o honom ni, i'r merthyron yr oedd, y rhai a fu farw er mwyn Crist." "Y mae yn felys i mi," ebe George, mewn dull tawel. "Dywed wrthym paham," ebe ei fam. "Y mae yn anwylaf i mi," atebai y bachgen, "oblegid ymddengys fel pe buasai Crist yn dywedyd wrthyf fi; ac O! mam, y mae yn fy nghynnorthwyo felly pan fydd plant yr ysgol yn chwerthin, ac yn fy ngalw y 'bachgen duwiol.' Ddoe, fel yr oeddwn yn myned i'r ysgol, gwaeddai rhai o honynt ar fy ol, 'Dacw y bachgen fydd yn myned i'r cyfarfod gweddi;' ac yna cymellasant fi i ymladd, a galwasant fi ofnog, oblegid i mi fyned yn mlaen heb siared; ond O! mam, nid oeddwn yn teimlo eu geiriau yn cyffwrdd â mi. Ni chlywais i ddim ond Crist yn dywedyd, 'Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.'"

Yr oedd yno bawb yn ddystaw. Y dagrau a lanwai lygaid

y fam yn awr, oeddent ddagrau dedwyddlawn. "Nid oeddwn i yn meddwl fod erledigaeth yn awr," ebe un o'r plant, o'r diwedd. "Y mae yn wir nad oes neb yn cael ei roddi i farwolaeth yn bresenol, oblegyd credu yn Nghrist," atebai y fam; "ond, gall ychydig ddechreu bywyd Cristionogol heb ei gyfarfod mewn rhyw ffurf. Y mae dewrder yn angenrheidiol er galluogi i ddyoddef yn dawel, i eraill chwerthin a'n gwawdio oblegyd ein bod yn ymddiried yn Nghrist. Y fath yma o erledigaeth yn gyffredin yw y groes gyntaf y mae crefyddwr ieuanc yn ei chael i'w dwyn; ac y mae yr Arglwydd yn ei sirioli yn hyfryd gyda ei eiriau gogoneddus, "Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant, ac y'ch erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog. Byddwch lawen a hyfryd: canys mawr yw eich gwobr yn y nefoedd: oblegid felly yr erlidiasant hwy y proffwydi a fu o'ch blaen."

"Mam." gofynai George; "a gawn ni ganu yr emyn hono a ddysgais heddyw?' yna canasant hi.

"Gaiff Iesu ddwyn y groes ei hun,
A'r byd i gyd yn rhydd?
Na, mae rhyw groes i bawb yn bod,
A chroes i minau sydd."

Felly aeth y Sabboth heibio; a daeth y teulu Cristionogol hwn i lawr, fel Grist o'r mynydd gwynfydedig, a phob un yn dwyn tystiolaeth, fod "ffynon o ddwfr" yn eu calonau, "yn tarddu i fywyd tragywyddol."

---

## GWYBODAETH.

1. PLESER sydd gysgod, cyfoeth sydd wagedd, nerth sydd wâgrodres, ond gwybodaeth sydd oruchel mewn mwynhad, parhad mewn enwogrwydd, yn ddiderfyn yn ei helaethder a diddiwedd mewn parhad. Yn nghyflawniad ei swydd sanctaidd, nid ydyw yn ofni perygl, yn arbed dim traul, nac yn gadael heibio yr un ymdrech.

2. Pwysa y mynydd, edrycha i'r llosgfynydd, ymsodda i'r dyfnfor, tylla i'r ddaear, cheda i'r wybren, amgylcha y ddaear, craffchwilia y dwfr a'r tir, myfyria y pellder, profa y bychan, cynnwysa y mawr, esgyna i'r aruchel, nad oes unrhyw eithafion yn rhy bell i'w gafael, na nefoedd yn rhy uchel iddi ei chyraedd.—*De Witt Clinton.*

## Y BWA.

GEN. ix. 13, 14. "Fy mwa a roddais yn y cwmmwl, ac efe a fydd yn arwydd cyfammod rhyngof fi a'r ddaear. A bydd pan godwyf gwmmwl ar y ddaear, yr ymddengys y bwa yn y cwmmwl."

GELLID meddwl y byddai ymgasgliad cwmmwl yn olygfa ddychrynadwy i deulu Noah. Cwmmwl wedi ei lenwi â tharanau, a thymestl, ac a dylif a ymddangosai fel pe byddai holl elfenau dinystr yn cael eu parotai drachefn, yn erbyn byd euog. Ond Duw, yn ei dosturi, a'i drugaredd, nid yn unig a roddodd addewid i Noah, na byddai iddo ddwyn dyfroedd dylif drachefn ar y ddaear, i ddyfetha pob cnawd, ond hefyd efe a sefydlodd y Bwa i fod yn arwydd o'r cyfammod hwnw ac a'i gosododd yn nghanol yr elfenau dinystriol ei hunan. Yn ol ei ordeiniad, mae yn rhaid i elfenau dialedd ei hunan wrth-droi (*afratce*) ac adlewyrchu pelydrau dysglaer yr haul. Gwneir iddynt adranu lliwiau y goleuni, a'u harddangos yn eu prydferthwch gwahanedig a chynhenid, a gorchymynir i deulu bach Noah i godi eu golwg at y Bwa yn y cwmmwl fel yr ymlidid ymaith eu holl ofnau.

Trwy y pethau hyn yr adgoffeir i ni lawer o wirioneddau tra dyddorol a phwysfawr. Edrychwn i Galfaria, ac yno ni a welwn y Bwa wedi ei osod yn ei holl orwychder yn nghanol cymylau duaf elfenau dialedd. Yno ni a welwn ogoniant Haul Cyfiawnder yn cael ei adlewyrchu; yno ni a welwn holl briodoliaethau y Jehofah yn cyd-ddysgleirio yn eu prydferthwch a'u gogoniant eu hunan, i lygad o ffydd, y mae yr elfenau dinystriol, y rhai a ymddrylliasant yn eu holl gynddaredd ar ben y Messiah, yn arddangos Bwa y cyfammod, perffeithiau y Duwdod yn cyd-ymyfrydu yn iachawdwria dyn euog. Yno "Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant; cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant." Ac yno mae y creadur i gyfeirio llygad ffydd yn barhaus, fel y symudo ymaith ei holl ofnau, ac y caffo gobaith a llawenydd drigo yn wastadol yn ei fynwes.

*Lee, N. Y.* *Cyf. gan* W. M. EVANS.

---

## GWEDDI PLENTYN YN CAEL EI HATEB.

"FY MHLANT," ebe gweddw dlawd, with bump o rai bychain oedd ganddi, "Nid oes genyf fi ymborth i chwi

y boreu heddyw—y mae y bara wedi darfod i gyd, ac nid oes genyf finau arian i brynu ychwaneg. Gweddiwch ar y Duw da am ein cynnorthwyo, oblegyd efe a ddywedodd, 'Galw arnaf fi yn nydd trallod.'"

Christian fychan, sef un o blant y weddw, yr hwn nad oedd uwchlaw chwech mlwydd oed, a aeth ymaith yn drist a newynog tua'r ysgol. Ond fel yr oedd yn myned heibio i ddrws capel, efe a ganfyddodd ei fod yn agored, ac a benderfynodd fyned i mewn a gweddio yno; gan fod y tŷ y cyfaneddai ei fam yn fychan, ac yn anghyfleus iddo gael gweddio wrtho ei hun. Felly efe a aeth i mewn i'r capel—heb wybod fod yno neb ond efe, ac a ymostyngodd ar ei liniau, ac a weddiodd fel y canlyn:—

"Anwyl Dad, yr hwn sydd yn y nefoedd, nid oes genym ni blant ddim i'w fwyta. Nid oes gan ein mam ddim ymborth i ni yn y tŷ, ac oni bydd i ti ein cynnorthwyo, rhaid i ni oll farw o newyn. O Arglwydd! cynnorthwyo ni. Yr wyt ti yn gyfoethog a galluog, ac y mae yn hawdd i ti ein cynnothwyo. Yr wyt wedi addaw gwneyd, am hyny cyflawna dy addewid,"

Felly gweddiodd Christian yn syml, ac yna a aeth yn mlaen i'r ysgol. Ar ol iddo ddychwelyd adrau, efe a ganfu y llian wedi ei osod ar y bwrdd, yn nghyda bara, cig, ŵyau, a *rice*, &c., yn barod erbyn ciniaw.

---

## BACHGEN YN UFUDDHAU I DDUW.

MEWN tref yn Lloegr, yr oedd bachgen tlawd yn byw, yr oedd ei ddillad yn llymion, ac yr oedd ei ddogn dyddiol yn dra phrin. Yr oedd yn amddifad, ac nid oedd ganddo neb i ddarparu iddo, yr oedd yn cynnal ei hun drwy weithio mewn *factory*, lle yr ennillai bum' swllt yr wythnos. Yr oedd yn fachgen da—yn hoffi darllen ei Feibl, ac yn myned i dŷ Dduw ar y Sabboth. Ond yr oedd ganddo feistr annuwiol, yr hwn oedd yn hysbys o'i awydd am fyned i'r capel ar y Sabboth, ac a orchymynodd iddo weithio y diwrnod hwnw. Pa fodd bynag, meddyliodd Jem mae ei ddyledswydd oedd peidio ufuddhau iddo y pryd hyny, ac felly a dreuliodd y dydd sanctaidd yn ei ddull arferol.

Boreu drannoeth, pan ddaeth i'r *factory*, ei feistr, a ofynodd

iddo, "Pe le y buost ti ddoe?" "Myfi a aethum i'r capel, Syr," ebe y bachgen. "Yna gelli fyned yno heddyw," meddai y meistr, mewn ysbryd digllawn; efe a dalodd i'r bachgen yr hyn oedd yn ddyledus iddo, ac ai hanfonodd ymaith.

Erbyn hyn yr oedd Jem heb le i weithio er enill ei fywioliaeth; ond, oblegyd ei fod yn gwybod nad oedd unrhyw ddyben iddo anobeithio, efe a ddechreuodd ymchwilio am le arall.

Yn un o'r ymchwiliadau, gofynodd boneddwr iddo y rheswm am ei ymadawiad a'r lle blaenorol. Y bachgen a atebodd, "Oblegydnad oeddwn yn ewyllysio gweithio ar y Sabboth, Syr." Yr oedd y masnachydd wedi cael ei foddhau yn fawr yn ei atebiad. Efe a'i cyflogodd yn y fan, ac a dderchafodd ei gyflog i ddeg swllt yr wythnos. Y mae gan dduwioldeb "addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon," yn gystal "ac o'r hwn a fydd."

---

## DAU A'R BYMTHEG O RESYMAU DROS FY MYNEDIAD I'R CAPEL SABBOTHAU GWLAWOG.

1. O HERWYDD i Dduw fendithio y dydd Sabboth, a'i sancteiddio, heb wneuthur un eithriad i'r Sabbothau gwlawog.

2. O herwydd fy mod yn dysgwyl i'r gweinidog fod yno; byddai yn destyn syndod i mi pe byddai iddo ef aros gartref o achos y tywydd.

3. O herwydd, os bydd i'w ddwylaw lesgäu, bydd genyf reswm cryf i feio fy hun, oddyeithr fy mod yn ei gynnal trwy fy ngweddiau a'm presenoldeb.

4. O herwydd, trwy aros gartref, gallaf golli pregeth a wnaethai lawer o ddaioni i mi, a gweddiau ag sydd yn dwyn bendith Duw.

5. O herwydd fod fy mhresenoldeb i yn fwy angenrheidiol pan na fydd ond ychydig yn bresenol, na phan fydd y capel yn llawn.

6. O herwydd, pa sefyllfa bynag ydwyf ynddi yn y capel, y mae fy esiampl i yn sicr o ddylanwadu ar eraill. Os arosaf gartref, paham nad eraill wneyd?

7. O herwydd gydag unrhyw fasnach bwysig, nid ydyw tywydd gwlawog yn fy nghadw gartref. Y mae myned i'r capel yn fwy pwysig o lawer yn ngolwg Duw. Heb. x. 25.

8. O herwydd, yn mhlith lluaws sydd yn myned ar ol pleserau, ni bydd tywydd gwlawog yn cadw y boneddigesau o'r donsawd (*ball*,) gymdeithas (*party*,) neu gyngerdd (*concert*.)

9. O herwydd yn mhlith bendithion eraill, y mae y fath dywydd yn dangos i mi ar ba sylfaen y mae fy ffydd wedi ei hadeiladu. Profa faint ydwyf yn ei garu ar Grist; anfynych y bydd gwir gariad yn methu cyfarfod ammodiad.

10. O herwydd y mae y rhai sydd yn aros gartref oblegyd ei bod yn rhy boeth, neu yn rhy oer, neu yn rhy wlawog, sydd yn gyffredin yn absenol ar Sabbothau hyfryd.

11. O herwydd, er y gall fy esgusodion fy moddloni i fy hun, rhaid iddynt oddef adchwiliad Duw, a rhaid iddynt fod wedi eu sylfaenu yn gywir i ddal hyny. Luc xix. 18.

12. O herwydd y mae addewid neillduol, pa le bynag y byddo dau neu dri wedi ymgynnull yn enw yr Arglwydd, y bydd yno yn eu canol yn eu bendithio.

13. O herwydd y mae esgeuluso myned i'r capel yn sail gadarn fod adfeiliad ar grefydd yn bod. Dysgyblion, trwy ddechreu dilyn o bell, yn fuan yn gallu ei wadu fel Pedr, nad adwaenant ef.

14. O herwydd fod fy ffydd i'w hadnabod trwy hunanymroddiad i fywyd Cristionogol, ac nid yn ol esgyniad neu ddysgyniad y gwresraddur (*thermometer*.)

15. O herwydd y mae cael ein gorchfygu gan ryw esgusion yn lleihau ein hawydd am fyned, felly y mae miloedd o'n cyd-ddynion nad ydynt byth yn myned i'r capel, ac eto, yn meddwl fod ganddynt resymau digonol dros eu hesgeulusiad.

16. O herwydd, trwy drefniad priodol ar ddydd Sadwrn, y gallaf fyned i'r capel heb un anhawsder; o'r tu arall, bydd gweithio yn hwyr nos Sadwrn yn gymaint pechod, a phe gweithiwn ar y Sabboth.

17. O herwydd, nas gwn pa faint o Sabbothau yn ychwaneg a rydd Duw i mi; a byddai yn rhyw ddarpariaeth dlawd gogyfer a'm Sabboth cyntaf yn y nefoedd, ddirmygu y Sabboth olaf ar y ddaear.

## YR YSGOLAIG GOREU.

Y MAE yn mhob ysgol ryw un a elwir yr ysgolaig goreu. Nid ydyw athrawon a dysgyblion yn cael unrhyw an-

hawsderau i benderfynu i bwy y bydd y gwahaniaith anrhydeddus hwn yn addas; a phan unwaith y clywsom blant ysgol yn crôchlefain, pan oedd bachgen a llygaid dysglaer yn myned i mewn i'r ystafell, "Wele Frank y dyfod, efe yw y bachgen goreu yn yr ysgol," meddyliasom, y fath gynmoliaeth oedd hyny, ac yn cael ei fynegi i athraw newydd. Ar ol dyfod yn adnabyddus gyda'r ysgoleigion, canfyddasom eu bod wedi dywedyd y gwir. Frank oedd yr ysgolâig goreu yn yr ysgol, ac a fydd mae yn diameu yn un o'r dynion goreu yn y ddinas. Meddyliwch am hyn, blant. "Y bachgen goreu yn yr ysgol!" Pwy na fyddai yn falch o'r fath enw? Y mae yn fwy o werth na miliynau o ddoleri. Ond, fe allai y dywed rhai o'r blant, "Nis gallwn oll fod yn oreu." Y mae hyny yn wir; ond, gellwch ymgeisio; a'r hwn a ymgeisiai galetaf a lwyddа, oblegyd y mae rhyw allu neillduol mewn ymgeisio. Nis gallasai Frank fod yn fachgen goreu yn yr ysgol heb ymgeisio. Os nad elli fod yn oreu, byd ofalus rhag bod yn waethaf. Y mae gan bob ysgol un bachgen, yr hwn sydd waeth na'r ysgoleigion eraill. Y mae genym gŵyn iddo, a chŵyn i'w rieni, ei frodyr a'i chwiorydd. O enw gwarthus: "Y bachgen gwaethaf yn yr ysgol!" Y mae yn ddiamheu y bydd yn un o'r dynion gwaethaf yn y wladwriaeth.

---

### ANERCHIAD I'R "ARWEINYDD."

"Arweinydd" ffyddlon cymer galon,
  Gan'r Ysgolion mae i ti glod;
Dyfod 'r ydwyt trwy bob rhwystrau,
  Gyda pherlau yn dy gôd;
Lloffa'r wyt ti yn llafurus
  Ar faes y dawnus ddyn;
Teithio trwy bob math o dywydd,
  Trwy y gwres ac oerllyd hîn.

Yr Ysgol Sul 'r wyt yn amcanu,
  I wasanaethu yn dy ddydd;
Dy d'wysenau sy'n adeiladu,
  Yn y sancteiddiolaf ffydd;
Buddiol bethau yn dy drysorau,
  Llawn o emau tlysion iawn;
Hir fywyd i ti wneyd daioni,
  Ac am dy lafur daliad llawn.

Un o Blant yr Ysgol Sul.

## CREFYDD DDADGUDDIEDIG A CHREFYDD DRADDODIADOL A DYCHYMYGOL.

[*Parhad o du dalen* 367.]

BARNAI y Derwyddon fod dyn wedi ei gyfansoddi o saith elfen; sef tân, daear, dwfr, awyr, niwl, blodau, a gwynt. Barnent hefyd fod ganddo saith synwyr; sef ewyllys, teimlad, llafar, chwythiad, gweled, clyw, ac arogl. Am gyflyrau presenol, a rhagllaw, yr oeddent yn meddu cymysgfa o syniadau o'r fath ryfeddaf, dan ddeg o benau, pa rai fyddent yn rhy faith i'r "Arweinydd" yn awr. Cyniweirient i'w temlau, nos fel y dydd, i foli eu duwiau; eu hoffrymau cyffredin fyddai gwenith, mel, llefrith, gwlith, a mês, &c. Eu haberthau oedd defaid, ychain, &c. Ond, am y credent nad oedd dim islaw bywyd dynol yn iawn am fywyd dyn, aberthent garcharorion rhyfel, neu ddrwgweithredwyr; ac os na byddai y cyfryw, byddai raid i'r diniweid fyned yn aberth, a chaent ddigon i ymroddi yn wirfoddol, am y credent fod y cyfryw yn deilyngach o'r nefoedd na neb arall. Paradwys y galwent y nefoedd.

Cyfarfyddent yn chwarterol, neu yn haner-blynyddol ar ben mynydd uchel a elwir Gwyddfa, sef man yn ngwydd pob man arall, am ei fod yn uwch nag un man arall. Yma mewn cyfarfod cyffredinol y trefnent eu hachosion gwladol; ac y mae y cyfryw fynydd sydd o'r enw Gwyddfa, yn bytholi coffadwriaeth y cadwai y Derwyddon eu cyfarfodydd gwladwriaethol yno gynt.

Yr oedd sefyllfa prawf yr ymgeisydd Derwyddol yn un galed. Rhoddid ef mewn cell gaeth am naw mis (medd Taliesin); yna rhoddid ef mewn cwrwygl cauedig (math o gwch), a'i ollwng yn benrhydd i'r môr, rhwng Aberdyfi ac Aberystwyth. Ac os tiriai yn ddiogel ar Sarnbadrig, ystyrid ef yn un o hiliogaeth deilwng y patriarch dedwydd a ddi-

ogelwyd yn yr Arch. Ac yna dechreuid yn ebrwydd ei egwyddori yn holl ddirgelwch y Grefydd Dderwyddol. Taliesin a ddarlunia ei hun wedi myned trwy y defodau hyn—wedi ei eni deirgwaith; unwaith o'i fam, unwaith o Ceridwen (duwies), ac unwaith o'r cwrwgl. Honai ar gyfrif hyny ei fod yn gwybod yr hyn a fu, sydd, ac a ddaw. Ynfyd iawn yw crefydd y dychymyg. Diolch am ddadguddiad Dwyfol.

Yr oedd y cwch yn arwyddo yr arch, a'r môr lle y gwthid ef yn arwyddo y dylif, a'r gareg lle y glaniai, yn nghilfach Aberteifi, yn Fynydd Ararat. Ond, yr oedd lluoedd o'r rhai a wthid i'r môr, yn suddo i'r dyfrllyd fedd, heb lanio byth, pa rai a gysgodai y rhai a foddwyd yn y dylif. O! mor ddrud yw gau grefydd. O mor rhadlawn a diogel yw crefydd bur y Dadguddiad Dwyfol; er hyny fe'i dibrisir gan filoedd.

Wel, blant, buaswn yn chwennych parhau bum' gwaith yn hwy gyda'r hanes am grefydd gymysg ein hen genedl; ond ni chaed ond talfyriad byr, am fod ein "Harweinydd" ar y siwrnau olaf y flwyddyn hon. Y mae ei gôd yn lled fechan i gario llawer ar unwaith. Fe ddylem gofio nad yw ei gyflog ond bychan i feddwl iddo gario baich mawr; dim ond 50 cent am bedwar a'r hugain o sypynau. Cesglwch chwi y cwbl at eu gilydd, byddant yn sypyn glew.

Yr wyf braidd yn teimlo wrth glywed ei ddifrio, ar gyfrif ei fod yn ŵr bychan. Bu pawb yn fychain rywbryd, ac y mae yn dda i rai bychain a chyffredin gael un felly i'w gwasanaethu. Y mae yn ŵr bach lled ddiffrauo; nid peth bach yw hyny, pan y mae y fath ysgrechian, ac oernadau lonaid pob heol. Y mae y bach yn ymwthio trwy y dorf ryfelgar yn lled dawel. Chwareu teg i'r crwt, dymunem ei galonogi, a rhoddi tamaid iddo. Pwy a ŵyr nad â yn ŵr mawr, fel y rhai a'i blaenasant, a phaham nad all, ond ei

fwydo o ddifrif, a thalu ei gyflog i gyd oll. Y mae genyf fi feddwl y siarada ef yn lled dda cyn bod yn ddwyflwydd oed.

*Rome.* T. W.

---

## GWAHODDIAD AT GRIST.

MAT. xi. 28. "Deuwch ataf fi, bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch."

YR ydym yn cael ar ddeall wrth ddarllen yr Ysgrythyrau, fod ein Harglwydd Iesu Grist yn hynod daer i gymhell pawb i ddyfod ato ef. Galwai yr Iuddewon oddiwrth yr hen seremoniau. Yr oeddent ar wyliau nodedig yn cyrchu o bob cwr o'r wlad tua Jerusalem, a thrwy hyny yr oedd yn angenrheidiol iddynt gario ymborth tuag at ddiwallu eu hangen yn amser yr ymdeithiad, ac felly yr oeddent yn flinderog wrth gario eu hymborth tua Jerusalem; ac yr oedd y baich hwn yn gorphwys arnynt bob blwyddyn, ac yn teimlo yn flinderog dan yr hen draddodiadau. Ond, yr oedd efe yn cynnyg iddynt iau esmwythach, a baich ysgafnach.

Y sylw cyntaf, ydyw eu cymhelliad i ddyfod at Grist. "Deuwch ataf fi bawb." Yr oedd yn galw ar bawb o galon bur, ac yn agor ei freichiau ar led, ac yn dywedyd, "Pwy bynag a ddel, nis bwriaf ef allan ddim." Hefyd, ni a gawn lawer yn y byd yma i gymhell o ran ymarferiad, ond nid felly yr oedd ein Gwaredwr—yr oedd ei gymhelliad ef yn tarddu oddiar fynwes lawn o gariad. Nid galw rhyw bersonau nodedig yr oedd, ond tlodion, cloffion, ac anafus; yr oedd yn cymhell pawb i ddyfod ato ef. "Cymhellwch hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhŷ."

Yn ail, yr oedd yn galw y rhai oedd "flinderog ac yn llwythog." Nid yr iach oedd efe yn alw, ond y truan a'r cystuddiedig, y rhai oedd wedi blino bod dan iau orthrymus pechod; y rhai oeddent yn drwmlwythog gan rhyw duedd-

iadau drwg, sydd wedi dyfod i mewn i galon lygredig, yr hon sydd wedi myned trwy bechod yn nyth i bob aderyn aflan. Y mae pechodau dirgel yn cael eu mynwesu yn nghalonau pechaduriaid.

Hefyd, y mae dynion yn gwneuthur eu hunain yn helbulus, trwy eu hawydd gormodol am gyfoeth a phleserau gwael y byd yma, wrth gablu, tyngu, a halogi y Sabboth, a llawer o bethau eraill. Hefyd, y mae yn galw ar y rhai sydd yn teimlo angen am gael ymwared o gaethiwed pechod, a'r rhai sydd a syched a newyn am gyfiawnder, ac i ddrachtio o'r dwfr bywiol, i adael y dyfroedd Mara, ac ato ef y mae i ni droi ein gwynebau yn nydd trallod.

Yn nesaf, y mae yn addaw gorphwysfa' "A mi a esmwythâf arnoch. Braint werthfawr iawn i'r teithiwr ar ol teithio yn galed trwy y dydd, ydyw cael lle clyd i orphwys, ac i fwrw ymaith flinder. Felly y mae yr Iesu, y mae yn cynnyg lle i'r pechadur i daflu ei faich i lawr wrth droed y groes, ac y mae yn foddlon i faddeu ei holl bechodau. Nid oes un man arall ag y gall pechadur gael gorphwysfa, ond yn unig trwy yr iawn a wnaeth yr Iesu ar y groes. Pan fyddo y gydwybod yn rhuo gan euogrwydd, y mae yn foddlon i esmwythâu, tawelu a heddychu y gydwybod.

Hefyd, y mae yn orphwysfa, oblegid fod y pechadur yn cael ei ryddhau oddiwrth iau orthrymus pechod. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch, a gofynwch am yr hen lwybrau, lle y mae y ffordd dda, a chwi a gewch orphwysfa i'ch eneidiau." Dyma lle mae y pechadur yn cael ysgafnhau y galon drom sydd bron a llethu gan euogrwydd, sef rhoddi ei bwys, ac ymorphwys yn gwbl arno, ac i fwrw ei ludded arno. "O herwydd yr enaid diffygiol a ddigonais, a phob enaid trist a lenwais."

Hefyd, y mae yn yr orphwysfa hon fodd i lanw yr enaid trallodus o gysur a dyddanwch, ac y mae ynddi nerth i'r diffygiol, dwfr i'r sychedig, a bara i'r newynog. Y mae pob

peth yma wedi ei ddarparu ar gyfer pechadur—i lenwi ei angen. Gan hyny, anwyl ddarllenydd, na fydded i ti ddiystyru y llais yma, ond gogwydda dy glust i wrando yn awr, tra y mae yn ddydd gras.

*Crab Creek.* T. HOWELLS.

---

## GWELY CYSTUDD, A CHREFYDD.

RHYW le rhyfedd yw gwely cystudd. Y mae llawer o blant dynion yn mhob oes o'r byd yn cael eu cystuddio yn fynych iawn. Y cyfiawn fel yr annuwiol yn cael ei gloi rhwng erchwynion eu gwelyau gan afiechyd mawr, ac felly yn ein dyddiau ninau; a llawer o'r rhai hyny na ddeuant byth mwy i droedio y ddaear hon, ac y mae pob gobaith am adferiad a gwellhant corfforol wedi ei roddi i fyny gan bawb ond gyda hwy eu hunain. Y mae lle i ofni fod llawer o honynt yn ddigrefydd, ac anystyriol o'u diwedd, gan fagu rhyw fath o obaith disylfaen, a chofleidio hudoliaeth yr hen sarff gynt, "Ni byddwch feirw ddim." Ond O! adyn ffol, ac ofer, "Gan farw ti a fyddi farw." "Gosodwyd i ddynion farw unwaith." Y mae hyn yn drefn osodedig gan Dduw, a hyny yn tarddu o'r un achos ag yr ydwyt ti yn awr yn cael dy gystuddio, sef pechod. Ond, y mae rhagor rhwng cystudd y cyfiawn, a'r annuwiol; y mae terfyn ar gystudd y duwiol, ond nid oes gobaith i'r annuwiol, canys y mae ail farwolaeth yn bod, a hono mor sicr a'r llall i bob dyn, os na bydd iddo gael ei guddio yn nghlwyfau yr Oen fu ar Galfaria. Byddi yn sicr o'i chyfarfod yn ei holl ddychryniadau, os na bydd i Dduw trwy ei drugaredd a'i ras dy dynu o'i afael, a'th symud o farwolaeth i fywyd, trwy yr aberth mawr a roddwyd gan ei Fab dros fywyd yr eglwys.

Wel. rhyw le gwael yw gwely cystudd i ymofyn am grefydd. Rhyw amser caled yw dyddiau blinion, i ddechreu chwilio am y trysor. Cefaist fwynhau llawer blwyddyn o iechyd cysurus, a mwynheaist filoedd o freintiau gwerthfawr

oddiar law drugarog Duw. Ond, pa fodd y darfu i ti ei ddefnyddio? Gyda'th bleserau gwag a niweidiol; ïe, rhoddaist dy lafur am yr hyn na fydd yn ddigon i ti yn angeu, rhoddaist dy nerth i wraig ddyeithr, ac nid i wraig yr Oen, sef achos Duw. Dyma y dydd blin wedi dy ddal. Pa beth sydd genyt ti i'th gysuro yn awr? Nid oes genyt grefydd i'th ddal i fyny; nis gelli ddywedyd am yr ystlys a waedodd—dacw nyth i'm henaid tlawd. O! na, gwrthodaist hon ar hyd dy fywyd, chwennychaist yn hytrach gael dy alw yn fab merch Pharaoh, a mwynhau pechod dros amser, na myned i ymdaith trwy yr anialwch, gydag etifeddion yr addewid. Yr ydwyt yn awr heb ddim i ymorphwys arno, "Heb obaith genyt, ac heb Dduw yn y byd." Eto, bydd porth angeu yn lle gwael iawn i ti ddechreu agor dy lygaid, a dechreu llefain am fywyd pan fyddo afiechyd yn pwyso yn drwm arnat—arteithiau a dyoddefiadau corfforol yn dryllio ac yn rhwygo dy gynneddfau, a'r hoelion yn cael eu tynu y naill ar ol y llall o'th babell wan, gan angeu, brenin y dychryniadau. Bydd yn amser gwael i ti y pryd hyn i ddechreu chwilio am Grist yn geidwad i'th enaid. Dyma yr amser y byddi di sydd wedi byw ar hyd dy oes heb grefydd yn gwaeddi allan, "Gwae fi yn awr bechu o honof." O na buaswn wedi gwrando ar lais yr efengyl, ac ar weision yr Arglwydd, y rhai oedd yn dyweyd wrthyf ar hyd fy oes mai fel hyn y byddai hi arnaf yn y diwedd. Ti a feddyliaist y buasit yn cael yr Arglwydd pan y byddai da yn dy olwg di. Ond, nid felly, canys y mae Job yn dywedyd, "Pwy a egyr ddorau ei wyneb ef." Ateb, y rhai hyny ag sydd yn ceisio ei wyneb âg ysbryd cystuddiedig oddifewn. Yn wir, lle llithrig iawn yw Rhosydd Moab i ddechreu agor ein llygaid am grefydd ar y graig.

Yy awr, gair byr at y rhai hyny sydd yn mwynhau iechyd, a'r dydd blin heb eu dal. A ydych chwi yn meddwl am eich diwedd? A ydych chwi yn meddwl rhywbeth am

angeu a byd tragywyddol? Yn fyr, a oes genych grefydd? Os nad oes, pa fodd yr ydych yn meddwl gwynebu angeu, byd tragywyddol, a Duw y Barnwr mawr hebddi? Duwioldeb yn yr enaid, crefydd Crist, crefydd a'ch dalio yn yr afon yn y byd hwn, ac yn angeu a'r byd a ddaw. Bod mewn heddwch â Duw trwy ei Fab ei hun wyf yn ei feddwl wrth grefydd. Ni thal rhyw enw, rhyw ffug o grefydd ddim yn angeu. O na, rhaid cael crefydd wedi ei sylfaenu ar y graig. Crefydd wedi ei selio ar y galon â gwaed y cyfammod; onide, byddwn yn sicr o fod yn gweddio ar y creigiau, yn lle bloeddio allan, dacw y gŵr y gobeithiasom ni ynddo. Dacw sylfaen fawr fy nghrefydd, diolch iddo. Yn awr, ceisiwch grefydd, cyn i'r amser cymeradwy fyned heibio. Gwrandewch ar ei leferydd ef, tra yma yn galw. Agorwch iddo tra y mae yn awr wrth y drws, canys nid amryson efe yn dragywydd gyda dyn. Bydd Duw wedi tewi wrthyt yn fuan iawn, ac yna bydd dy ddinystr. "Canys efe a dywallt phiol ei ddigofaint ar ben yr annuwiolion." "Duw sydd ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol." "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus; dyma an eu phiol hwynt;" a thyna eich rhan chwi a minau, os mewn gelyniaeth â Duw y ceir ni yn nydd y cynhauaf. O! ceisiwch grefydd, ewch am eich bywyd, i'r noddfa, ffowch i'r agen yn y graig.

Gair byr at y rhai sydd yn dilyn crefydd, sef yr eglwys. Serch ei bod yn ddigon tywyll a niwliog yn aml; eto, na ddiffygiwch, serch i'r caethiwed fod yn drwm ac yn hir—telynau ar yr helyg yn aml, eto na werthwch hwynt i'r Babiloniaid, er fod rhwd llygredd, a sain pechod arnynt lawer boreu a hwyr. Er y cwbl, daliwch afael yn eich crefydd. Caiff eich telynau eu glanhau wrth fyned trwy yr afon, a chwi gewch eu canu yn beraidd yr ochr draw.

*Rome.* W. E.

## CHARLI BACH.

RAI blynyddau yn ol, yr oedd gan blentyn bychan, o'r enw Charli, gi mawr, yr hwn oedd yn hoff neillduol o'r dwfr, ac yn aml y gwelid ef yn nofio dros afon gerllaw y tŷ. Un diwrnod, meddyliodd y gŵr bach y byddai yn ddifyrwch ragorol i groesi yr afon ar gefn y ci: felly rhedodd at y lan, dadwisgodd, ac wedi cylymu dernyn o linyn wrth goler ei arweinydd, aethant ill dau trwy y llif i'r ochr draw; ac wedi chwareu yno am ychydig amser, dychwelasant yr un modd. Erbyn chwilio, yr oedd dillad Charli wedi cael eu cario gan yr awel i'r ffrwd! Gwelodd y ci yr hyn a ddygwyddasai, a neidiodd yn union ar eu hol, ac a'u dygodd oll yn ddiogel i dir. Gwisgodd Charli yn ei ddillad gwlybion, ac aeth adref, ac a adroddodd wrth ei fam y difyrwch a gafodd gyda'r ci; a dwrdiwyd ef ganddi am fyned i le mor beryglus, lle y gallasai fod wedi boddi heb neb i'w gynnorthwyo; ac y dylasai fod yn ddiolchgar i'r Bod mawr am beri i'r ci ei drosglwyddo mor ddiogel a gofalus. "A gaf fi ddiolch i'r Arglwydd yn awr, fy mam?" meddai ef, gan ymostwng ar ei liniau mewn agwedd gweddi; ac wedi codi ar ei draed, taflodd ei freichiau o amgylch gwddf y ci, gan ddywedyd, "Yr wyf yn diolch i ti hefyd fy nghi hoff, am beidio fy ngollwng." Y plentyn ëofn hwnw ydoedd yr enwog Syr Charles Napier.—*Preston Chronicle.*

## DETHOLION.

Yr Efengyl a'r Efengylwr.—Gofynai boneddiges, "Paham y cefais y fath flas ar eich pregeth y Sul diweddaf, a dim blas heddyw?" Ateb, "Gwrandaw yr efengyl yr oeddech y Sul diweddaf, a gwrandaw arnaf fi yr oeddech heddyw."

"Os byth y cyrhaeddaf deyrnas nefoedd," ebe hen Gristion, "yr wyf yn meddwl y ceisiaf weled y lleidr yr hwn a fu farw ar y groes, ac a'i cymeraf ef gerfydd ei law, ac a ddywedaf, tyred fy mrawd, gad i ni fyned o'r neilldu, ac edrych a oes modd i ni ganfod pa un o honom yw y dyledwr mwyaf i ras Duw."

Mae pob bod dynol yn rhwym o fwynhau dedwyddwch, yn yr ystyriaeth o'i fod yn offeryn i lesau eraill mewn rhyw fodd.

# Yr Arweinydd;

NEU

## CYLCHGRAWN CREFYDDOL A MOESOL;

YN CYNNWYS

### MATERION A HANESION BUDDIOL A DYDDOROL,

YN NGHYDA

### DARNAU BYRION O FARDDONIAETH.

Dan olygiad y Parch. THOS. T. EVANS, Floyd.
Golygydd y Barddoniaeth, EOS GLAN TWRCH.

"Y NEB A RODIA YN UNIAWN A 'RODIA YN DDIOGEL."—*Solomon.*

## CYFROL II.

ROME, N. Y.
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN R. R. MEREDITH.
1859.

# MYNEGAI.

## BARDDONIAETH.

# YR ARWEINYDD.

## DAU FYWYD DYN.

YR ydym oll yn byw dau fywyd—bywyd o weithrediad, a bywyd o ail feddwl.

Gellir dywedyd am y dyn sydd yn byw bywyd moesol a defnyddiol ac i ddyben daionus, ei fod yn byw dau fywyd boddhaol iddo ei hun mewn un.

Mae ei fywyd gweithredol, pan yn cael ei dreulio mewn ufudd-dod i Dduw, ac yn gyfiawn ato ei hun a'i gymydog yn sicr o fod yn ddedwydd.

Mae ei fywyd o ail feddwl, pan mae y cof yn dwyn ei fywyd gweithredol ger bron llys Cydwybod—yn ei bwyso yn nghlorian cyfiawnder, ac heb fod yn *brin*—ni all lai na bod yn gysurol.

Yn gymaint a bod ail feddwl am y da a wnaethom yn ychwanegu ein cysur po fwyaf y myfyriom arno, felly mae y y drwg a wnaethom yn chwanegu yn ei erchylldra bob tro y tery yr adgof o hono ar y meddwl.

Yr ydym yn cael ein dewisiad. Gallwn fwynhau cysur dwbl neu gael anghysur dwbl—cysur wrth wneyd ac wrth feddwl am yr hyna wnaethom, neu yr un modd fod mewn anghysur wrth wneyd ac wrth ail feddwl am yr hyn a wnaethom amser aeth heibio.

Bydded i'r ieuainc a'r difeddwl ystyried hyn. Beth am y flwyddyn sydd newydd derfynu, pa un ai bywyd o gysur ai ynte o anghysur mae yr amser a aeth heibio yn gynyrchu yn awr? a pha un ai rhoddi defnydd cysur i'n meddwl yn awr, a gosod sylfaen i gysur rhagllaw, y mae ein bywyd gweith-

redol presenol? Oni fyddai yn dda i ni feddwl yn ddifrifol am hyn yn awr wrth ddechreu blwyddyn newydd?

Os ydyw ein bywyd gweithredol yn ein dilyn trwy ddwyn cysur neu anghysur wrth ail feddwl tra yn y byd hwn, beth feddyliem am dreulio tragywyddoldeb yn y cysylltiad parhaus a diderfyn a'r meddwl hwnw? Onid ydyw o bwys annhraethol beth ydym yn ei hau? Dywed y Beibl mai "yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; ond yr hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fed fywyd tragywyddol." "Yr hyn a hauo dyn, hyny hefyd a fed efe."

"Os ein calon a'n condemnia," medd yr apostol, "mwy yw Duw na'n calon, ac efe a wyr bob peth." Eithr, "Os ein calon ni'n condemnia, y mae genym hyder ar Dduw." Ac, "Os yw Duw trosom pwy a all fod i'n herbyn?"

Mawr yw ein rhwymau i ddiolch i Dduw ein bod hyd yma mewn byd lle y mae efe o'i ras yn puro cydwybodau pechaduriaid oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaeth y gwir a'r bywiol Dduw. Bydded iddo ein dysgu i wneyd iawn ddefnydd o'n hamser, ac i "gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb."

---

## "UN PETH SYDD ANGENRHEIDIOL."

DYMA iaith y Tyst Cywir a Ffyddlawn, yr hwn nad all anwireddu, nad all ychwanegu, ond yr hwn oedd y *Gair* ei hun. Iesu, yr hwn a fu farw er prynu enaid dyn, fel hyn a'n sicrha mai iachawdwriaeth yr enaid ydyw yr "un peth angenrheidiol." Mae yn rhaid i ni addef ei bod yn iaith nerthol. Mae y Gwaredwr yn taflu pob arddelwad neu olrheiniad arall i ddibwysedd cymhariaethol; ymddengys ei fod yn dywedyd, pa beth bynag arall ydyw dyn, beth bynag arall mae yn ei wneuthur, nad ydyw ond ychydig o bwys; ond sicrhau ei iachawdwriaeth sydd hollol anhebgorol—*yr*

*un peth* angenrheidiol. Gall dyn fod yn gyfoethog neu dlawd; gall ddyfod yn ddysgedig, neu aros yn anniwylledig ac anwybodus; gall lwyddo mewn bywyd, neu gyfarfod â gwrthwynebiadau; gall gael iechyd, neu gael ei ofidio â phoen gwastadol; gall gael ei amgylchu gan gyfeillion, neu sefyll yn y byd yn ddigyfaill ac unig: ac nid yw ond ychydig o bwys, oblegid byr yw bywyd, a buan y bydd drosodd; ond nid felly gydag iachawdwriaeth yr enaid. Os na sicrha dyn hyny, mae yr oll o'i amgylchiadau eraill megys dim; dyna yr "un peth angenrheidiol." Gall cadfrid byddin fod yn wâr-chwareuydd da, neu beidio; yn wleidiadwr, neu beidio; gall fod yn fardd, neu fod heb dderbyn y "rhodd dduwinyddol;" gall ymddysgleirio mewn llythyriant, neu fod ei enw yn anhysbys mewn llyfrau; ond i gyflawni ei genadwri, i ddwyn yn mlaen ei fwriadau, y mae yn rhaid iddo ddeall byddin-drefniad. Felly, cyfreithiwr a all fod yn ieithydd da, neu beidio; gall fod ag athrylith at gelfyddydau, neu beidio; ond mor belled ag y mae llwyddiant yn ei alwadigaeth yn orchwyl, mae yn rhaid iddo ddeall *cyfraith.* Felly llong-lywydd, gall fod yn gydnabyddus â phob gwlad, ac wedi hwylio yn mhob môr; ond oddyeithr ei fod yn gwybod pa fodd i lywio ei long yn ddiogel yn nghanol creigiau a basleoedd y dyfroedd penodol a ymrwymodd i fordwyo, ei wybodaeth am destynau eraill, a moroedd eraill, fydd yn ofer. Felly gydag iachawdwriaeth yr enaid. *Anfonodd Duw ni i'r byd i sicrhau ein hiachawdwriaeth, ac i ufuddhau i'w ewyllys drwy yn gyntaf sicrhau ein hiachawdwriaeth.* Dyma ein neges. Dyma yr arddelwad mawr cyntaf. Pethau eraill ydynt i'w gwneyd yn israddol. Dyma ddyben mawr bodoliaeth. "Bywyd sydd o'n blaen megys prawf-amser o hŷd ansicr, ond byr pan fyddo hwyaf, yn mha un y mae i ni ymbarotoi, os gwnawn, gyferbyn â bywyd tragywyddol tu draw iddo. Hyn sydd fywyd i bob un o honom, a hyn yw ein priodol orchwyl; pob peth arall a wnawn, neu a allwn wneuthur, pa

mor ysblenydd a gwerthfawr bynag, ddylai gael ei wneuthur yn israddol." Amcan y Beibl ydyw ein haddysgu pa fodd i ddwyn i ben y dyben pwysfawr hwn. Amcan Iesu Grist yn dyfod i'r byd oedd yr un. Efe a ddaeth i fod ein "ffordd at y Tad." Daeth i'n haddysgu pa fodd i sicrhau y bywyd gwell hwnw tu draw i'r presenol. Efe a ddaeth i ddeffroi ein meddyliau esgeulus i ganfod gwerth yr un peth angenrheidiol, ac i ddangos i ni pa fodd i'w wneyd yn eiddo ein hunain. Ac, anwyl ddarllenydd, y mae efe yn awr yn seinio yn ystafelloedd tufewnol dy fodoliaeth y gorchymyn, "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau eraill, a roddir i chwi yn ychwaneg."—"*Jesus Only*."

---

## RHAGOROLDEB Y FEIBL GYMDEITHAS.

[Crynodeb o araeth a draddodwyd gan y Parch. EDWARD ROBERTS, Rome, nos Dydd Nadolig, yn Nghylchwyl y Feibl Gymdeithas Gymreig Rome, a'r amgylchoedd, yr hon a gynnaliwyd yn Addoldy yr Annibynwyr yn y lle uchod.]

1. YN ei hamcan gogoneddus. Dosbarthu yr Ysgrythyr Lân, heb yr un Sylw-nod nag Esboniad. Ei harwyddair yw, "Beibl i bawb o bobl y byd."

2. Yn ei chyfaddasrwydd i ddiwallu y byd â Beiblau Gwertha y Beibl yn rhad i bawb, a rhydd ef am ddim i'r rhai nad allant ei gyrhaedd. Y mae ganddi Feiblau mewn llawer o ieithoedd. Beibl cymhwys i bob oedran, a Thestament cymhwys i'r deillion.

3. Yn y fantais a rydd i bawb i gydweithredu o blaid y Beibl. Y mae yn derbyn hatling y weddw yn gystal a phunoedd y boneddwr. Gall pob enwad crefyddol gydweithredu o'i blaid, nid fel llyfr *sect*, ond fel llyfr Cristionogaeth.

4. Yn y gefnogaeth a rydd i bob sefydliad ag sydd a'i duedd i wella y byd—megys y Gymdeithas Genadol, yr Ysgol Sabbothol, &c. Ychydig iawn fyddai eu llwyddiant heb ryw sefydliad i roddi y Beibl i'r werin.

5. Yn ei heffeithiau daionus ar y byd. Y mae wedi codi dynion o ddyfnderoedd trueni ac anwybodaeth, yn eu galluogi i sefyll yn wyneb cyfeiliornadau, ac yn eu dwyn i lawenhau am y Beibl fel rhai yn cael ysglyfaeth lawer.

"Diweddodd gyda chyngor i rieni ofalu am roddi y Beibl yn nwylaw pawb o'u plant, ac annog eu plant i fyw yn ol ei reolau."

---

## GRAMADEG.

Trwy garedigrwydd ein cyfaill serchog, y Parch. R T. Davies, Cincinnati, Ohio, mae wedi addaw ein cynysgaethu â gwersi byrion a chynnwysfawr o Ramadeg, i ddyfod allan yn mhob rhifyn y flwyddyn bresenol o waith y diweddar Barch. J. Williams, Rhos, pa rai a ymddangosasant yn yr "Athraw," yr hwn a gyhoeddir yn Nghymru, dan olygiaeth J. Prichard ac E Roberts. Hyderwn y bydd i'n darllenwyr ieuainc ac eraill eu darllen yn fanwl a'u hefrydu, ac y byddant o les iddynt. Mae y ganmoliaeth a gawsom iddynt yn ein calonogi i'w cymhell i sylw pob un sydd yn ewyllysio gwybod yn fanylach elfenau ein hiaith.

---

### RHIF. I.

#### NATUR A DYBENION GRAMADEG.

DYBEN Gramadeg yw gosod allan ac egluro, mewn ffurf drefnus, egwyddorion cysefin ac arferion iaith. Iaith yw y cyfrwng trwy yr hwn y trosglwyddir meddyliau; ac y mae dybenion iaith yn cael eu hateb yn fwy neu lai llwyddiannus, yn ol y graddau y byddo ein syniadau yn cael eu hegluro gyda rhwyddineb ac effeithioldeb. Gellir ystyried Gramadeg fel gwyddiant a chelfyddyd. Y gwahaniaeth rhyngddynt yw hyn—gwyddiant yw yr athrawiaeth am y peth; celfyddyd —yr ymarfer o hono. Y mae y naill yn gynnwysedig o reolau ac egwyddorion, y rhai sydd yn seiliedig ar arferiaeth (*usage*), ac yn cael eu hystyried gyda golwg ar iaith yr un peth a deddfau mewn natur; tra y mae y llall yn dynodi y

medr i gymhwyso a defnyddio y rheolau hyny er cyrhaedd yr amcan mewn golwg. Gall celfyddyd, mewn rhyw ystyr, fod yn annibynol ar wyddoreg, a lle y bo y celfyddydwr yn anwybodus o honi. Mae llawer yn medru y gelfyddyd o adeiladu, trin y ddaear, a phethau cyffelyb, y rhai ni buont erioed yn treulio hanner awr i astudio y gwyddiannau ar y sawl y mae y celfyddydau hyny yn dibynu—Saerniaeth ac Amaethyddiaeth. Y mae llaweroedd yr un modd, a fedrant siarad iaith yn weddol gywir, nad ydynt yn gwybod ond y nesaf peth i ddim am Ramadeg yr iaith hono.

Yn natur, y mae gwyddiant yn hanfodi o flaen celfyddyd; ond yn weithredol ac ymarferol, y gelfyddyd a fodolai gyntaf. Felly, yr oedd deddfau natur yn bod o flaen athroniaeth naturiol—yr oedd y cyrff nefol yn symud, yr haul a'r lloer yn llewyrchu, cyn bod Seryddiaeth, ac yr oedd dynion yn arfer iaith lafaredig cyn bod rheolau a deddfau Gramadegol wedi eu ffurfio.

Arferiaeth (*usage*) yw y safon at yr hwn yn unig y dylid apelio gyda golwg ar dreigladau ac ystyr geiriau. Megys y mae Daearegwyr yn chwilio i glodiffeydd a chreigiau er mwyn cael allan ffeithiau daearegol; ac fel y mae Llysieuwyr yn astudio ac yn cymharu llysiau er mwyn dyfod yn adnabyddus ar wyddoniaeth Lysieuol; felly mae y Gramadegydd yn chwilio ysgrifeniadau yr awduron goreu er mwyn gwneuthur eu hunain yn adnabyddus o ffeithiau neu reolau iaith. Y mae deddfau neu reolau Gramadeg yn yr iaith, megys yr arferir hi gan yr ysgrifenwyr a'r llafarwyr cywiraf a pharchusaf; a dyledswydd y Gramadegydd yw eu chwilio allan. Rheol yr Arglwydd Bacon yw, "Nad ydys i ddyfeisio neu lunio gwirionedd neu ffeithiau mewn unrhyw wyddiant neu gelfyddyd, ond i'w chwilio allan." Clywir llawer o goeg-ysgolheigion yn dywedyd gyda hunan-ymddiried mawr, "*Rhaid* mai hyn neu arall yw ystyr gair; neu mai fel a'r fel y *dylid* ei dreiglo." Pe byddai rhyw un yn cynnyg y fath ymresymiad

mewn gwyddiannau eraill, gan haeru *y rhaid* mai *fel* a'r *fel* y mae deddfau a ffeithiau perthynol iddynt yn bod, a hyny *a priori*, neu o flaen prawf, ystyrid ef yn sicr yn greadur penwan, ac yn wrthddrych tosturi y gwybodus a'r dysgedig. Nid llai felly yw y dyn a haero, o flaen prawf, neu ffeithiau seiliedig ar arferiaeth yr iaith, mai cyffelyb yw gyda golwg ar dreigliadau ac ystyron geiriau. Ffolineb ydyw son am *angenrheidrwydd* yn y mater yma.

Un o brif ddiffygion y Gramadegwyr Cymreig yw eu gwaith yn ceisio llunio eu Gramadegau ar yr un cynllun a'r rhai Seisonig; gan roddi "Canolryw," "Achosion," a phethau cyffelyb i Sylweddebion Cymreig; ac Amser *presenol* ac *ail-ddyfodol* i'r Ferf; ac wedi hyny dwyn awdurdodau ac enghreifftiau anmherthynasol ac wedi eu camgymhwyso, a'u camddeongli, i geisio cynnal i fyny a phrofi y pethau hyny; neu yr hyn sydd waeth fyth, peidio dwyn un awdurdod o gwbl, eithr cymeryd yn ganiataol, gan fod y neillduolion hyny yn perthyn i'r iaith Seisonig, bod yn *rhaid* i'r un pethau fod yn perthyn i'w hiaith eu hunain. Peth canmoladwy yw dynwared ein cymydogion o'r ochr arall i'r Hafren, yn yr hyn sydd dda ynddynt; ond peidiwn a chario yr egwyddor o efelychiad yn rhy bell. Daw y mater hyn dan sylw eto, pan y cawn yr hyfrydwch o brofi i'r darllenydd yr hyn yr ydym wedi ei ddwyn yn mlaen fel cyhuddiad yn erbyn ein Gramadegwyr.

Y mae i iaith ddwy ffurf—y lafaredig a'r ysgrifenedig. Sonia rhai am "ffurf feddylol" i iaith! Beth yw "ffurf feddyliol" iaith, ond iaith fel y mae yn y meddwl? Nid yw iaith yn y meddwl ddim amgen *na'r meddwl am iaith*; ac y mae yr un faint o wahaniaeth rhwng *iaith yn y meddwl*, a iaith seiniedig neu ysgrifenedig, ag sydd rhwng pethau eraill *yn y meddwl*, a'r pethau hyny yn sylweddol neu wirioneddol. Beth a dybiai y darllenydd pe dywedai rhyw un fod dwy ffurf i wisg, pryd o fwyd, neu ddogn o gyffyriau meddygol—

sef ffurf feddyliol a sylweddol? Gwyr y darllenydd craffus nad yw ffurfiau meddyliol y gwrthddrychau enwedig ond o ychydig werth—mewn gair, nad ydynt ond meddylrithiau o wisg, ymborth, a meddyginiaeth. Felly, yr un ffunud, nid yw y gair yn y meddwl yn ddim ond y meddylrith o'r gair; os gair llafaredig, meddylrith o'r sain neillduol sydd yn ei gyfansoddi—os gair ysgrifenedig, meddylrith neu *idea* o'r gair hwnw o ran ei lun a'i hyd.

Mewn ieithoedd y rhai a feddant y ffurf *ysgrifenedig*—y mae rhai ieithoedd nad oes llyfrau ynddynt—yn gystal a'r *lafaredig*, arferiaeth y flaenaf yn hytrach na'r olaf a ystyrir megys yn penderfynu ffeithiau neu reolau Gramadegol; oblegid y mae ffurf *ysgrifenedig* yn wastad yn cael ei hystyr-ied yn berffeithiach na'r ffurf lafaredig. Y mae yr olaf yn cyfleu arferiaeth gweithredol, ond y mae y flaenaf yn cyf-lwyno yr arferiaeth genedlaethol a pharchus.

Y mae iaith ysgrifenedig yn cynnwys dilyniad o frawddeg-au; a gellir dosbarthu brawddegau i eiriau; geiriau i sillau; a sillau i lythyrenau. Y mae a wnelo Gramadeg, gan hyny, â llythyrenau, sillau, geiriau, a brawddegau.

[*I'w barhau.*]

---

## NODWEDDIAD YSGOLHEIGION DA YR YSGOLION SABBOTHOL.

1. MAENT yn dymuno darllen a deall yr Ysgrythyrau Sanctaidd, y rhai sydd abl i'w gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu.

2. Maent bob amser yn ymdrechu bod yn yr Ysgol mewn pryd, fel y cydunont yn y weddi ddechreuol, ac fel na byddo iddynt golli dim o'r Sabboth, na gofidio eu hathrawon car-edig.

3. Maent yn ymdrechu bod yn llonydd ac yn ddiwyd tra

wrth eu gwersi, gan wybod mai "penaf peth yw doethineb," ac mai "*dechreuad* doethineb yw ofn yr Arglwydd."

4. Maent yn ymddwyn yn weddaidd yn nhŷ Dduw, wrth fyned i'r lle sanctaidd hwnw, ac wrth ddychwelyd o hono. Nid ydynt yn wrandawyr anghofus, ond gwneuthurwyr Gair Duw.

5. Maent foreu a hwyr yn gweddio ar y Duw Hollalluog am faddeuant o'u pechodau, trwy ddyoddefiadau ac angau yr Arglwydd Iesu Grist; ac am yr Ysbryd Glan i'w dysgu, ac i'w gwneuthur yn sanctaidd ac yn dda.

6. Maent yn ufudd gartref i'w rhieni, yn serchog i'w brodyr a'u chwiorydd, ac yn garedig i'w holl gymydogion.

7. Maent yn defnyddio eu hamser i ddarllen a dysgu llyfrau da, yn enwedig y *Beibl*—gan ei ystyried yn werthfawrocach na'r aur, ac yn felysach na'r mêl.

8. Maent yn ddiwyd yn eu galwedigaeth, ac nid yn ddiog mewn diwydrwydd, ond yn wresog yn yr Ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd.

9. Maent yn ymneillduo o gymdeithas celwyddwyr, tyngwyr, lladron, &c., ac y maent yn caru dynion da, gan wybod mai "yr hwn a rodia gyda doethion fydd doeth: ond yr hwn sydd gyfaill i ynfydion, a gystuddir."

10. Maent yn teimlo eu hunain yn bechaduriaid; maent yn credu yn yr Arglwydd Iesu Grist i gadwedigaeth eu heneidiau; maent yn gwybod mai Efe yw y Bugail da a roddes ei einioes dros y defaid; yr hwn sy'n casglu yr ŵyn—yn eu dwyn yn ei fynwes, ac yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol, fel na chyfrgollant byth, ac na ddwg neb hwyn allan o'i law Ef."—*Cym. y Traethodau Crefyddol, Llundain, Rhif.* 83.

---

## PABYDDIAETH.

### HANESYN BYR A GWIRIONEDDOL.

PAN oedd yr ysgrifenydd unwaith yn teithio trwy Ddeau a Chanolbarth America, cefais lawer o fanteision i weled

i mewn i ymysgaroedd crefydd y Pab, canys y mae hi yno yn ddigymysg â dim arall; ac mi a roddaf gip-olwg arni hi i blant y Cymry.

Pan oeddwn yn Nicaragua, Canolbarth America, daethum yn gydnabyddus â Dr. C., gynt o Dalaeth Mississippi, yr hwn oedd wedi ymsefydlu yn Revus, hen brif dref y llywodraeth gynt, yr hwn oedd wedi ymbriodi gydag un o ferched y wlad; ac yn cario ei alwad yn mlaen, sef iachau y cleifion. Ac fel yr oeddem yn eistedd ein dau with ddrws y swyddfa un dydd, yn ymddyddan, daeth Padre Ross allan o'i dŷ, a chyfeiriodd ei gamrau at yr Eglwys, i ymbarotoi at yr offeryn "*Mass*"—canys efe oedd y prif offeiriad. Pan welais ef, gofynais i'r Doctor ai efe oedd y Padre Ross?

"Ië—y dyhiryn melldigedig," ebe yntau.

"O! Doctor," meddwn, "pa fodd yr ydych yn dywedyd fel yna, a chwithau yn un o'i ddeiaid?"

"Wel, y mae yn wir," ebe yntau, "fy mod i wedi ymuno â'r eglwys hon er mwyn cael priodi fy ngwraig; ond, syr," ebe efe, "mae fy enaid yn ei gasâu; a phaham, mi a ddywedaf i chwi." A thyma hanesyn y Doctor: "Pan y daethum i i'r wlad ac i'r dref yma, yr oedd genyf lawer o ddefnyddiau i gario fy ngwaith yn mlaen, ac felly agorais swyddfa Doctor, a chefais ddigon o waith yn fuan; ond cyn hir daeth Dr. Concha (Ysbaeniad) i'm blino, gan ofyn i mi ddangos fy hawl, &c., a minau yn gwybod nad oedd ganddo yr un hawl i'w gofyn. Mi a omeddais eu dangos iddo; ac fe ddaeth yn elyn brwnt i mi, a cheisiodd wneyd pob peth i'm herbyn. Wel, rhyw ddiwrnod daeth yr hen offeiriad i ymweled â mi, a dywedais fy helynt wrtho. Edrychodd arnaf yn syn, a dywedodd:

"Fy mab, paham na yrit ef oddiar y ffordd—nis ca'i fy mlino i ddim awr."

Gofynais iddo pa fodd y gallwn wneyd hyny.

"Digon hawdd," ebe yntau; "ni chostia i ti ond oddeutu pum' dolar ar hugain; gelli gael tipyn o ryw beth i roddi yn ei fwyd am bump; cyfaddefa a derbyn faddeuant am ugain, a phob peth a fydd yn ei le i ti."

"Ac o hyny allan," ebe'r Doctor, "mae fy enaid yn ei ffieiddio; a phwy a all beidio? A thyna grefydd y Pab i chwi."

Fe allai nad oes llawer o'r Cymry wedi cael cymaint o

fanteision i ddysgu crefydd y Pab ag a gafodd yr ysgrifenydd. Gallwn ddynoethi ei ffieidd-dra a dangos ei sodlau i'r byd; ond gan fod cymaint yn ac wedi cael ei ddweyd, mi a roddaf y gwaith i fyny iddynt hwy, sef dynion mwy galluog na myfi; a therfynaf gyda dywedyd hyn: Ai tybied fod rhai o'r Cymry yn y dyddiau yma (nid wyf yn meddwl fod llawer o berygl i'r hen bobl yn ein hoes ni) yn ddigon ffol i gael eu dal gan y sarff wenwynllyd hon? Yn wir, y mae lle i ofni fod rhai o bobl ieuainc y Cymry—plant y breintiau mawr—yn ein dyddiau ni yn cofleidio y ffug grefydd watwarus ac uffernol hon, sef crefydd y Pab o Rufain. Edrychwch arni fel ag y mae. Mae yn gwneyd y Beibl yn gelwyddog. Lladratant, llofruddiant, godinebant. Gwnant bob pechod a ffieidd-dra. Ant at yr offeiriaid—cyfaddefant y troseddd, a derbyniant faddeuant am ychydig arian. Os byddant yn gyfoethog, rhaid iddynt dalu yn helaeth. Gweddiant ar ysbrydoedd y seintiau i eiriol trostynt, ac y mae hyny yn gwneuthur eu iolaeth Mab Duw yn ddirym. A oes rhyw reswm yn y fath grefydd, os crefydd y maent yn dewis ei galw; ond fy marn i yw y darfu i'r Benete Italaidd ddyweyd y gwir pan y dywedodd, "*That the Pope of Rome is the commander in chief of the army of the Prince of Hell.*" Ieuenctyd Cymru! gwyliwch rhag i chwi un amser gael eich dwyn i gofleidio crefydd ac athrawiaeth y Pab. Fy meddwl i yw fod yn well bod heb yr un nac ymddiried i'r fath athrawiaeth ofnadwy a hon; a chredwyf yn ddiysgog y bydd yn esmwythach arnaf yn nydd y farn, os heb yr un, os na fydd genyf well sylfaen i'm traed, a gwell crefydd i'm henaid na chrefydd Eglwys Rufain.

WILL O FON.

## MEDDYLIA CYN GWEITHREDU.

GENETH fechan bert yn un o ddwfr-leoedd anrhydeddus Virginia, yr haf diweddaf, a ddênwyd i'r *Circus*. Pan ddychwelodd adref, gofynwyd iddi, pa fodd yr oedd yn caru y chwareuyddiaeth. Dywedodd hithau, "Pe buasai fy arian genyf yn ol, nid wyf yn meddwl y caent hwy drachefn." Gofynwyd iddi, beth a wnaethai gyda hwy. Dywedodd hithau, y rhoddai hwynt i'r tlawd, neu at y genadaeth, neu at ryw achos da arall.

Chwi y rhai sydd yn darllen hyn, cymerwch addysg oddiwrth brofiad yr eneth fechan hon. Na weriwch eich arian am bethau ag y byddwch eto yn edifarhau oblegid eich ffolineb. Cofiwch fod pob ceiniog sydd genych wedi ei hymddiried i chwi gan eich Tad nefol, ac y byddwch eto yn cael eich galw i gyfrif manwl pa fodd yr ydych yn treulio arian eich Arglwydd. Gwna y swm a fydd y bachgen neu yr eneth yn ei roddi am gael myned i'r *Circus* brynu Beibl, neu bedwar Testament, neu sypyn mawr o draethodau (*tracts*), y rhai pe y rhoddid hwy i lawer pechadur tlawd sydd ar y ffordd tuag uffern, a allent ei dywys ef at Iesu, a chyfeirio ei draed tua'r ffordd sydd yn arwain i'r bywyd. Pwy na charai fod yn offeryn i ddychwelyd y pechadur o gyfeiliorni ei ffordd, yn hytrach na mwynhau pleserau pechod dros amser.

*Rome.* CYFIEITHYDD.

---

## JOHN NELSON.

**DANGOSIAD o ofal Duw am John Nelson, y pregethwr. o'i febyd hyd yr eilfed flwyddyn a deugain o'i oedran, wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun.**

GANWYD fi yn mhlwyf Bristall, yn y rhan orllewinol o swydd York, yn mis Hydref, yn y flwyddyn 1707. Dygwyd fi i fyny yn saer cèryg, yr un modd â'm tad o'm blaen. Pan oeddwn rhwng naw a deng mlwydd oed, blinid fi yn fawr pan fyddwn ar fy mhen fy hun gan ofn marw a'r farn. Un nos Sabboth, fel yr oeddwn yn eistedd wrth ochr cadair-freichiau fy nhad, pan oedd yn darllen yr ugeinfed bennod o'r Datguddiad, daeth y gair gyda'r fath nerth a goleuni i'm henaid, nes yr oeddwn yn crynu droswyf. Troais fy wyneb at y llawr, ac wylais nes ei olchi â'm dagrau. Fel yr oedd fy nhad yn myned rhagddo, tybiwn fy mod yn gweled pob peth o flaen fy llygaid, er eu bod wedi eu cau. Yr ydoedd yr olygfa mor arswydus, fel y meddyliwn weithiau am attal fy nghlyw, ond ni feiddiwn; oblegid mor fuan ag y rhoddwn fy mysedd yn fy nghlustiau, rhaid oedd eu tynu drachefn.

Pan ddaeth efe at yr unfed adnod ar ddeg, meddyliwn fod fy ngwallt yn sefyll ar fy mhen, a'm cnawd yn chwareu am fy esgyrn, tra yr ydoedd yn ei ddarllen. "Ac mi a welais orseddfainc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddi-

wrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaear a'r nef; a lle ni chafwyd iddynt. Ac mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw; a'r llyfrau a agorwyd: a llyfr arall a agorwyd, yr hwn yw llyfr y bywyd: a barnwyd y meirw wrth y pethau oedd wedi eu hysgrifenu yn y llyfrau, yn ol eu gweithredoedd." O! y fath olygfa sobr a ymagorodd o'm blaen. Yr ydoedd fel pe y gwelwn Iesu Grist yn eistedd ar ei orsedd, gyda'r deuddeg apostol islaw iddo, a llyfr mawr wedi ei agor ar ei law aswy. Yr oedd fel pe buasai bàrau mawrion wedi eu sicrhau oddeutu deg llath oddiwrth yr orsedd, at y rhai yr oedd meibion dynion yn ymgasglu yn dyrfaoedd lluosog; ac fel y dynesent atynt, agorai y naill a'r llall o honynt eu mynwesau ar amrantiad.

Ar un ochr i'r llyfr yr oedd cymeriad pobl Dduw wedi ei ysgrifenu; ac ar yr ochr arall gymeriad y rhai "na chânt etifeddu teyrnas Dduw." Gwelwn bawb mor ddystaw a'r meirw, a phob un yn dal ei hun yn wyneb y llyfr; ac mewn canlyniad, yn troi ei wyneb tua'i gartref tragywyddol, "i wae, neu i wynfyd." Wrth edrych ar anghyfartalwch y tyrfaoedd, daeth y geiriau hyny i'm cof, "Ychydig yw y rhai cadwedig."

Dilynodd yr Arglwydd fi byth ar ol hyn âg argyhoeddiad trwm. Ymddengys fy mod yn nghylch deg oed y pryd hwn. Pan gyflawnwn unrhyw bechod yn erbyn fy nghydddyn, neu yn erbyn Duw, a hyny yn wybyddus i mi, byddai fy nghalon mor frawychus ar ol hyny nes y mynai lawer o ddagrau heilltion o'm llygaid pan awn i'r dirgel. Wedi'r cyfan, pan gyfarfyddwn â'm hen gyfeillion, sychwn fy nagrau, ac ymollyngwn gyda'r ffrwd i bechu yn erbyn Duw. Ond O! y fath uffern a deimlwn yn fy mynwes ar ol i mi ymneillduo oddiwrthynt, ac ystyried y fath lwon a wnaethum i beidio pechu yn erbyn Duw. Eto, pan ddeuai temtasiwn i'm cyfarfod, ni byddai fy llwon a'm cynlluniau ond megys edau garth o flaen y tân.

Pan oeddwn oddeutu un ar bymtheg oed, clywais bregeth, yr hon a'm hamddifadodd o'm gorphwysdra y noson hono, ac attaliodd fi rhag pechu fel cynt am lawer o ddyddiau. Ond O! edrychais i le na ddylaswn am esiampl, sef at y rhai oeddent henach a doethach na mi; a'r hyn a wnaent hwy, meddyliais y gallwn inau yn ddiogel ei wneyd. Ar-

weiniwyd fi felly ar gyfeiliorn, nes cael fy hun ar lwybr nad oedd dda.

O! gymaint o niweid y mae yr hen a'r dysgedig yn ei wneyd i'r ieuenctyd anwybodus. Pan y mae eu bywydau yn llygredig, y maent yn sicr o fod y dynion truenusaf a mwyaf melldigedig y tywynodd haul y nefoedd arnynt erioed. Pa sawl gwaith y darfu i'w hesiampl galedu fy nghalon, a'm hannog i deithio y "ffordd lydan" sydd yn arwain ddystryw? Yn sicr, y mae y cyfryw ddynion yn felldith i'w plant, ac i bawb a edrychant arnynt fel eu blaenoriaid.

Ar ol im' adael un ar bymtheg oed, cymerwyd fy nhad yn bur sâl; tybiais inau mai o'm hachos i yr aeth; a minau yn ddrwg fel yr oeddwn, a weddiais yn daer ar Dduw am arbed fy nhad er mwyn fy mam a'r plant bychain oedd eto heb eu magu, a gadael i mi farw yn ei le. Ond ni lwyddodd fy ngweddi. Dri diwrnod cyn iddo farw, dywedodd wrth fy mam, "Na ofidiwch o'm plegid i, yr wyf yn gwbl sicr fy mod wedi fy heddychu â'm Barnwr; a gofala efe yn barhaus am danoch chwi a'r plant." Rhyfeddais lawer wedi clywed ei eiriau, o herwydd methwn yn deg a dirnad pa fodd y gwyddai fod heddwch wedi cymeryd lle rhyngddo â Duw.

Unwaith yn fy ngofid yr oeddwn mewn ystabl, ac yno syrthiais i gwsg, a breuddwydiais fy mod yn gweddio am i Dduw fy ngwneyd yn ddedwydd; ond methwn ar yr un pryd wybod beth a allasai fy ngwneyd yn ddedwydd. Cyn i'm synwyrau gael eu dadgloi, gwelwn Jeremia y prophwyd yn sefyll ar graig fawr wrth borth gorllewinol Jerusalem. Gwisgai ei wyneb ddifrifoldeb mawr, a chydag awdurdod diymattal, efe a geryddai swyddogion a hynafgwyr y ddinas. Llidiasant wrtho am hyny, a thynasant ef i lawr, a bwriasant ef ar y domen lle y tywalltai y cigyddion waed yr anifeiliaid a laddent. Ac yn mhellach, gwelwn hwy yn ei fathru dan eu traed; ond ni newidiodd ei wyneb, ac ni pheidiodd a llefain, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Oni edifarhewch, a rhoddi y gogoniant i'm henw i, dygaf ddifrod arnoch chwi, ac ar eich dinas." Edrychai mor dawel a dedwydd dan eu traed a phe buasai ar ei wely. Pan oeddent yn ei fathru fel hyn dan eu traed, dywedais yn fy mreuddwyd, "O Dduw, gwna fii yn debyg iddo." Er nad oedd hyn ond breuddwyd,

cafodd gymaint o argraff ar fy meddwl a phe buaswn yn ei weled a'm llygaid. Ar ol hyny cefais yfed o'i gwpan ef.—*O'r Cronicl.*

---

## AT YR ATHRAWON.

WRTH ddarllen yn llyfr y Salmau (lxxiv. 14), mae y prophwyd, wrth son am fawredd Duw a'i waith, yn dyweyd am dano yn gwneuthur rhyfeddodau yn yr adnod dan sylw, "Ti a ddrylliaist ben lefiathan; rhoddaist ef yn fwyd i'r bobl yn yr anialwch." Gofynaf yn ostyngedig, a fu hyny yn llythyrenol? Os bu, pwy amser, a phwy oedd y bobl, ac yn mha anialwch y bu hyny? Ynte llefaru yn brophwydoliaethol yr oedd y Salmydd, wrth fyfyrio ar y pethau hyn.

Daeth i fy meddwl am ryw hen wr yn Nghymru, wrth fyn'd a dyfod i addoliad, pan y byddai yr ymddyddan yn troi am ryw bethau anhawdd eu deall, byddai yn dweyd, "Gwell i ni droi yn ol i bysgota tua'r lan—mae ein cychod yn rhy fychain i ni ymwthio i'r dwfr am helfa." Felly finau gyda'r adnod hon. Wrth feddwl am ddryllio pen y lefiathan, arweiniwyd fi at Ben Mawr yr Eglwys pan y drylliwyd Ef. Cafodd y corff ei bywyd (sef yr Eglwys), a hwnw yn fywyd tragywyddol. Wrth ddryllio pen y lefiathan, yr oedd y corff yn rhwym o farw; ond dyma Ben wedi ei ddryllio i feddyginiaethu miloedd o rai drylliedig a briwedig o galon. Yn awr, blant, athrawon, a holl ddeiliaid yr Ysgol—dowch at y Pen yma i ymofyn bywyd cyn i'r drws gael ei gau. Hyn yw dymuniad eich cyd-deithiwr i'r farn.

*Rome.* W. M. E.

---

## YR ENAID.

GOFYNODD athronydd i eneth chwe' mlwydd oed, "A oes genyt ti enaid? Edrychodd yr eneth arno yn synedig, a digofus, a dywedodd, "Oes, bid sicr." "Sut y gwyddost ti fod genyt ti enaid?" "Am fy mod yn gwybod," ebai hi. Ateb plentyn oedd hwnw, mae yn wir; ond rhaid aros, i edrych a oes gan yr athsonydd ateb gwell. "Os

gwyddost fod genyt enaid, dywed i mi pa beth ydyw." "Yr wyf yn chwech oed, ac a ydych chwi yn meddwl na wn beth yw fy enaid? Gwn." "Os dywedi i mi, mi fyddaf yn gwybod pa un a wyddost ai peidio." "Ond, mi wn beth ydyw, fy MEDDWL ydyw." "Dy FEDDWL," ebe yr athronydd, dan synu, "Pwy a fynegodd hyny i ti?" "Pwy? buasai yn gywilydd genyf, pe buaswn heb wybod hyny, heb i neb fynegu i mi." Yr oedd yr athronydd wedi bod yn penffwdanu yn nghylch ei enaid, ac yn y diwedd nis gallasai roddi darnodiad byr o hono mor eglur a'r eiddo yr eneth fechan.—*Yr Athraw.*

## DETHOLION.

DAWN helaeth wna ddyn yn enwog; teilyngdod mawr a sicrha barchedigaeth; dysgeidiaeth ddofn a ennill gyfrifoldeb; ond magwraeth dda yn unig a hawlia gariad a serch.

DYLEDSWYDD, braint a hyfrydwch pob dyn gwir fawr, a phob merch lawn-eneidiog, yw ennill yr hyn a feddiannant, gweithio eu ffordd eu hunain trwy fywyd, a bod yn archadeiladyddion i'w cynnysgaethu eu hunain.

GWELL yw cydwybod dda na dau dyst. Gwasgara dy ofnau, fel y tawdd yr haul yr iâ. Ffon ydyw pan wyt yn flinedig, ffynon pan yn sychedig, cysgodlen i ti rhag yr haul llosgedig, a gohebydd yn angeu.

Y MAE dynion ag eneidiau bychain fel costrelau â gyddfau bychain; po leiaf fyddo ynddynt, mwyaf y trwst a wnant wrth dywallt y cynnwysiad allan.—*Pope.*

## BEDD-ARGRAFF

*Tri o blant a fuont feirw ac a gladdwyd o fewn un dydd i'w gilydd, sef yr eiddo Ebenezer ac Elinor Jones, Floyd, E. N.*

Llon ddau frawd, ddarllenydd,—dau hunasant
Yn Iesu, sy'n llonydd;
A chwaer wrth eu hochr fydd,
I aros y lleferydd. EOS GLAN TWRCH.

## TRAGYWYDDOLIAETH DUW.

**SALM XC. 2. "Ti hefyd wyt Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb."**

MAE Duw yn dragywyddol. Gallem nodi amrywiol bethau ac ystyriaethau sydd yn profi fod Duw yn dragywyddol.

1. Mae enwau arno sydd yn profi hyn. Mae yr enw hwnw yn un, "YDWYF *yr hwn* YDWYF." Ex. iii. 14. Dyma enw mae yn roddi arno ei hun er gwahaniaethu ei hun oddiwrth bawb eraill. "YDWYF," ydyw ei enw priodol ef. Y mae yr enw hwn yn ei ddynodi ef yn yr amser presenol o hyd. Efe, yr YDWYF tragywyddol, ydyw yr *unig* Fod sydd a gwreiddyn pob bod arall yn y nefoedd, y ddaear, ac uffern, yn cael ei gynnwys ynddo; ac y mae efe yn anfeidrol bell oddiwrth *beidio* a bod. Fel hyn y mae Duw yn egluro ei dragywyddoliaeth ei hun trwy yr enw goruchel hwn, "*Ydwyf yr hwn Ydwyf*," mae wedi ei roddi arno ei hun.

*Drachefn.* Mae yn galw ei hun, "MYFI YW EFE, &c." Deut. xxii. 39. Mae "*Myfi yw Efe*," yn arwyddo nad oes arno eisiau dim unrhyw wynfydedigrwydd, mwynhad na pharhad, nad ydyw yn berffaith feddiannol arno. Nid *yw* yr hyn nad oedd erioed; ac ni *bydd* yr hyn nid oedd, ac nid yw yn bresenol. Y mae yn mhob eiliad o amser fel yr oedd cyn amser; a bydd yn mhob eiliad o amser, ac ar ol amser i dragywyddoldeb, yr hyn oedd ac ydyw. "*Myfi yw Efe*," fydd Duw byth. Nis gwna amser, er ei holl gyfnewidiadau, fraenu na llychwino yr un gradd ar ei barhad Ef.

*Eilwaith.* Mae yn galw ei hun "JEHOFA, *y Goruchaf, a'r Derchafedig*." Esa. vi. 3; lvii. 15. Mae yr enw mawreddog "*Jehofa*" ynddo ei hun yn cynnwys Bod tragywyddol, diddechreu a diddiwedd; ac nid oes synwyr yn nghymeriad yr enwau mawreddog a gogoneddus hyn am dano ei

hun, os nad yw yn Fod tragywyddol ei barhad; ond dilys yw ei fod Ef yn "Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd." Dat. i. 8.

2. Mae Duw yn dragywyddol, oblegid mae ganddo fywyd ynddo ei hun; hyny yw, y mae efe yn feddiannol ar anfeidrol ac annherfynol fywyd ynddo ei hun—yn cynnal ei fywyd o hono ei hun, ac yn ffynon a Rhoddwr bywyd pawb, a phob peth arall; ac nis gall llai na Bod tragywyddol fod yn alluog i hyn. "*Y Duw byw yw Ef.*" Heb. xii. 22. Mae ganddo ef fywyd o hanfod (a hanfod bywyd ynddo), ac nid o gyfraniad. Sylwedd o fywyd cyfan-gwbl ydyw y Bod Dwyfol, heb ddim marwol yn perthyn iddo nac yn agos ato; o ganlyniad, mae yn rhaid ei fod Ef yn gwbl-barhaol byth. Dan. vi. 26; vii. 9, 13; Ioan v. 24. Mae bywyd y creadur goreu fel y gwaethaf, yn gyfnewidiol, ac y mae yn ymddibynol ar ei Grewr am dano bob eiliad o hyd. Ond y mae Duw yn ffynon bywyd a goleuni ynddo ei hun; a hyny heb fod yn ymddibynol ar neb, na dim y tu allan iddo ei hun. Am hyny, rhaid ei fod Ef yn dragywyddol ei fodolaeth, a bod tragywyddoliaeth yn tarddu yn naturiol o natur ei hanfodiad.

3. Mae tragywyddoliaeth yn cael ei briodoli iddo yn yr Ysgrythyrau. Yn Genesis (xxi. a xxxiii)., dywedir i Abraham adeiladu allor, a galw ar enw yr *Arglwydd Dduw tragywyddol.* A dywedir yn Esaiah na flina ac na ddiffygia Duw tragywyddoldeb; a'i fod ef yn preswylio tragywyddoldeb. Esa. xl. 28; a lvii. 15. Ac yn y testyn dywedir ei fod ef "yn Dduw o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb." Mae yr un gwirionedd yn cael ei gadarnhau yn y Testament Newydd. Dywedir ei fod yn "*dragywyddol Dduw*—yn *Frenin tragywyddol;*" a dywedir mai Efe sydd a chanddo *anfarwoldeb* yn unig sydd yn trigo yn y goleuni, ac nis gellir dyfod ato. Rhuf. xvi. 26; 1 Tim. i. 17; a vi. 16. Ac y mae

perffeithiau a gweithredoedd tragywyddol yn cael eu priodoli iddo. Rhuf. i. 20; 1 Pedr v. 10; Salm xxxiii. 11.

*Newark, O.* J. E. DAVIES.

## Y MAE UN PETH ETO YN OL I TI.

FY nghyd-drafaelwr tua'r byd tragywyddol, a wyt ti yn wybodus o dy sefyllfa golledig a dinystriol fel pechadur yn ngwydd Duw sanctaidd? A wyt ti yn deimladwy o dy angen am ran yn haeddedigaethau yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn yn unig yw Gwaredwr y byd? A wyt ti yn wybodus o'th angen am ddysgeidiaeth yr Ysbryd Glan? A wyt ti yn deimladwy o werth dirfawr dy enaid anfarwol? o werth amser? o *ansicrwydd* bywyd? o *sicrwydd* marwolaeth? ac o'r angenrheidrwydd am galon newydd a buchedd sanctaidd i'th addasu i sefyll ger bron Duw yn y dydd mawr diweddaf? Os ydwyt yn ddyeithr i'r holl bethau hyn, mae dy gyflwr yn resynol yn wir, mae un peth yn eisiau arnat, yn yr hwn y mae pob peth perthynol i dy iachawdwriaeth yn gynnwysedig. Eto, er bod dy gyflwr yn druenus, nid yw yn ddiobaith, canys mae Duw wedi addaw ei Ysbryd Glan "i'r rhai a ofynant ganddo." Luc xi. 13. O! gan hyny, gweddia am y rhodd anmhrisiadwy hon, ac efe a'th arwain i bob gwirionedd, efe a gymer o eiddo Crist, ac a'i mynega i ti. Na chellwair â'r cyngor hwn, yr wyf yn atolwg arnat, canys os byddi farw yn amddifad o'r bendithion hyn, ti a fyddi yn golledig dros byth!
—*Cym. y Traethodau Crefyddol, Llundain, Rhif.* 63.

## AT IEUENCTYD.

### LLYTHYR I.

YN gymaint a bod yr "Arweinydd" a'i olwg yn fwy uniongyrchol ar y genedl ieuanc, ac mai efe yw yr unig gyhoeddiad Cymreig yn y wlad hon sydd a hyny yn brif nôd

mewn golwg, tueddwyd fy meddwl i ysgrifenu ambell i lythyr iddo yn awr ac eilwaith at y genedl ieuanc, ar wahanol destynau—moesol a chrefyddol, os byddant yn dderbyniol. Dechreuwn gyda y

PWYSIGRWYDD O FFURFIO CYMERIAD DA PAN YN IEUANC.

Dywed y gŵr doeth, mai "Gwell yw enw da nag enaint gwerthfawr;" felly, y mae cymeriad da yn werth i bob dyn lafurio am dano. Gyda phriodoldeb y gellir dyweyd, fod tymhor ieuenctyd yn un o'r cyfnodau pwysicaf ar oes dyn. Yn gyffredin, dyma yr amser y mae y cymeriad yn cael ei ffurfio. Y pethau a arferir â hwy yn ieuanc, sydd debycaf o lynu wrth un ar hyd ei oes. "Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi." Y mae nodweddiad moesol pob dyn yn cael ei sylfaenu tra yn ieuanc i raddau helaeth iawn. Y mae digon o ffeithiau er profi mai y pethau yr arferir â hwynt tra yn ieuanc fyddant debycaf o gael eu dilyn wedi myned i oedran. Arfer darllen llyfrau Anffyddaidd a wnaeth Voltairi, nes aeth son am dano fel yr anffyddiwr mwyaf a fu yn y byd erioed. Addysgwyd Timotheus mewn pethau crefyddol pan yn ieuanc, fel y dywed yr Ysgrythyr, "Ac i ti er yn fachgen wybod yr Ysgrythyr Lân;" ac felly y parhaodd ar hyd ei oes yn un o ddilynwyr ffyddlon yr Iesu. Peth a phwys mawr ynddo ydyw ymarfer â phethau da yn y dechreu; canys y mae arferiad o'r diwedd, fel y dywedir yn gyffredin, yn "dyfod yn ail natur i ddyn."

Y mae cymeriad da yn mhlith y bendithion daearol gwerthfawrocaf a all ieuenctyd ei fwynhau. Efe yw y sylfaen, a'r unig un sicr y gellir dysgwyl parch, anrhydedd, cysur, a llwyddiant mewn bywyd. Ni ddylai ieuenctyd feddwl y gallant gyrhaedd enwogrwydd mewn unrhyw alwedigaeth neu gelfyddyd heb feddu cymeriad da.

Gellir dyweyd fod y dyn ieuanc hwnw sydd yn feddiannol

ar gymeriad da yn gyfoethog; eto, feallai ei fod yn amddifad o aur ac arian. Anwyl ieuenctyd, pan fyddoch yn cynllunio eich llwyddiant dyfodol, dylech ystyried cymeriad da yn un o'r pethau cyntaf i'w sicrhau er cyrhaedd llwyddiant. Os cyfeiliornwch gyda hyn, y mae eich golwg am lwyddiant yn lled dywyll. Ystyriwch yn awr; bwriwch fod dyn ieuanc yn anwybodus, yn dorwr Sabboth, yn dyngwr, yn anonest, ac yn anghymedrol. Pa obeithion sydd o hono? Pwy a ymddirieda ynddo? Pwy a'i cefnoga mewn unrhyw anturiaeth? Pwy a saif yn ei ymyl ef yn awr profedigaeth, ac a'i cynnorthwya yn amser trallod? Ar y llaw arall, os bydd yn wybyddus fod dyn ieuanc mewn ardal wedi ei addysgu yn gywir, yn ddiwyd, yn gynnil, yn gymhedrol, yn onest, a geirwir, bydd yr holl gymydogaeth yn gyfeillion iddo—oll yn barod i'w gyflogi, oll yn barod i'w gynnorthwyo yn mhob amgylchiad ag y bydd angenrheidrwydd am hyny. Felly, y mae cymeriad da yn beth ag y dylai holl ieuenctyd dyfod yn feddiannol arno.

Yr un modd am y ddynes ieuanc, os bydd ganddi gymeriad da, caiff barch ac anrhydedd gan bawb o'i chydnabod, a derbyniad croesawys yn mhob man lle yr â. O'r tu arall, os bydd yn hysbys ei bod yn hoff o segura, a chwedleua, y mae ei diweirdeb, ei gonestrwydd, a'i geirwiredd yn debyg o gael eu hamheu.

Ond, gofyniad eithaf naturiol ydyw, Pa fodd y gellir cael cymeriad da? A ellir ei feddiannu yr un modd ag y meddianna un enw? A ellir ei brynu âg aur? A ellir ei ladrata? Na, y mae yn rhaid ei *ffurfio*, rhaid ei *wneyd*, rhaid ei *adeiladu* trwy ein ymegniadau a'n hymarferiadau personol ein hunain. Gall cyfeillion wneuthur llawer o gymmwynasau i chwi; ond rhaid i bob un o honoch ffurfio ei gymeriad ei hun.

Tuag at gyrhaedd cymeriad anrhydeddus, byddai yn dda i chwi osod cynllun o'ch blaen, trwy feddwl am ryw un sydd

a'i gymeriad yn dysgleirio ger bron y byd. Gochelwch rhag gosod y safon yn rhy isel. Dylai fod yn uchel—byddai yn well iddo fod yn rhy uchel, na rhy isel. Bydded eich safon yn uchel; er feallai na chyrhaeddwch ef, eto, diamheu y bydd i chwi esgyn yn llawer uwch, na phe buasech yn gosod y safon yn isel. Bydded eich safon bob amser megys ger eich bron. Nodwch allan y llwybr a gymerasant hwy i gyrhaedd parch, anrhydedd, ac enw da, a gwnewch chwithau ymdrech i'w dilyn.

HEN ATHRAW.

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dalen* 16.]

Y MAE Gramadeg yn cael ei ranu yn gyffredin i bedwar dosbarth; nid amgen Llythyreg, Geiryddiaeth, Cystrawiaeth a Thônyddiaeth. Y mae y pedwar dosbarth hyn yn cael eu cynnwys mewn brawddeg, ac oll yn dibynu arni, a dichon y dyry y gymhariaeth syml a ganlyn beth cynnorthwy i'r Gramadegydd ieuanc i ddeall natur a dybenion y pedwar dosbarth uchod.

### YR ORIADUR.

Tybied y darllenydd ei fod yn myned i ddysgu y gelfyddyd o wneuthur oriaduron (*watches*), neu orleisiau (*clocks*). Y peth cyntaf y gelwid arno i'w ddysgu fyddai parotoi yr holl olwynion, y pinau, yr echeli, y twythion (*springs*), y pladau, y bysedd, &c., yn nghyda'r holl bethau sydd yn angenrheidiol eu cael er cyfansoddi un o'r peiriannau defnyddiol uchod. Rhaid fyddai iddo ofalu am i bob olwyn fod o'r maintioli gofynedig, a'r dannedd o'r nifer arferol, a'r tyllau a'r hoelion yn ateb i'w gilydd yn y modd manylaf. Felly, yr ffunyd, gyda brawddeg; y peth cyntaf ydyw darparu neu lunio y geiriau o'r sawl y cyfansoddir y frawddeg neu y brodd-

egau—gosod pob llythyren yn ei lle priodol, a'r nifer a fyddo yn angenrhaid er ffurfio y sain cyfansawdd a elwir gair, fel na byddo na rhy nac eisiau; ac er mwyn gallu o hono hyn, dylai ymgynnefino â silllebu geiriau, nes y byddo pob gair "megys ar flaenau ei fysedd," fel y dywedir; neu fod ganddo feddylrith mor eglur o bob gair yn yr iaith, y byddo ganddo achos i'w defnyddio, ag sydd ganddo o'r gwrthddrychau mwyaf cynnefin ac adnabyddus iddo. Er gwneuthur hyn, nid ydym yn meddwl anfon yr ysgrifenydd ieuanc i olrhain a chwalu Geiriaduron, a llunio cynnifer o eiriau ag a dybio efe yn angenrheidiol at ei wasanaeth ar bob achlysur; ond yn hytbrach ymegnio i gyrhaedd y wybodaeth anhebgor er ei alluogi i wneuthur hyny pa bryd bynagy byddo galwad am dano, fel byddo y gwahanol lythyrenau a gyfansoddant bob gair yn amlwg o flaen llygaid ei feddwl, yr un modd ag y mae y rhanau o'r sawl y gwneir oriadur ger bron yr oriadurydd ar y bwrdd. Y wybodaeth hon a gyrhaeddir trwy ddysgu Llythyreg.

Yn y lle nesaf, wedi i'r Oriadydd barotoi ei olwynion, a'r pethau eraill angenrheidiol er cyfansoddi yr Amser-feidradur, rhaid iddo ddysgu deall gwasanaeth, natur a dybenion yr holl elfenau y mae gwedi eu parotoi, a bod yn alluog i ateb pob ymofyniad o berthynas iddynt, a dywedyd, "Y mae yr olwyn hon yn gwasanaethu i'r dyben yma—y pin hwn i'r peth hyn, a'r twyth hwn sydd yn rhoddi ysgogiad i'r holl beiriant." Yr un wedd gyda'r Gramadegwr; wedi iddo, trwy gymhorth Llythyreg, ymalluogi i gyfansoddi geiriau, rhaid iddo, yn y lle nesaf, ddysgu eu dosbarthu yn ol eu defnydd, eu swyddau, a'u perthynasau; a deall eu treigliadau, a'u tarddiad, a hyny cybelled ag i allu dyweyd am bob gair. "Y mae *hwn* yn dynodi y gwrthddrych ei hun am yr *hwn* y lleferir,—y gair yna yn arwyddo ansawdd y gwrthddrych hwnw, a'r trydydd, gweithred o'r eiddo y gwrthddrych; a'r nesâf, ansawdd neu ddull y weithred hono, &c.

Y wybodaeth hon a gyrhaeddir trwy ddysgu yr ail ran o Ramadeg, sef Geiryddiaeth.

Yn mhellach, wedi i'r Oriadurydd neu'r Orleisydd ddysgu adnabod pob rhan o'i gelfyddwaith yn drwyadl, gyda golwg ar ei ddefnydd, a'i sefyllfa, rhaid iddo yn y lle nesaf, ddysgu eu gosod wrth eu gilydd yn eu lleoedd priodol; os na all wneuthur hyny, ni bydd ei holl drafferth flaenorol ond ofer a diwerth; heb osod pob olwyn, pin, twyth, ac echel, yn ei lle ei hun, ni chyflawna y peiriant ei ysgogiadau angenrheidiol er nodi yr amser—"wnaiff o ddim myn'd," fel y dywedir. Felly, gyda'r Gramadegydd wedi iddo wneuthur ei hun yn gyfarwydd â dosbarthiadau, treiglad, a defnydd y geiriau, rhaid iddo ddysgu gosod pob gair yn ei le priodol, a gair priodol yn mhob lle yn y frawddeg; heb hyny, ni bydd ei holl lafur ond diddefnydd; megys nad ysgog yr Oriadur, felly, ni wna y geiriau ddim synwyr.

Yn ddiweddaf oll, wedi i'r Oriadurydd osod pob rhan o'i beirianwaith cywreiniol yn ei le priodol, y peth nesaf fydd ei ddirwyn i fyny, ei osod mewn ysgogiad, a dywedyd beth ydyw ar y gloch. Yr un modd, gyda'r Ieithiadurwr; rhaid iddo yntau ddysgu *dywedyd* y geiriau a'r brawddegau yn dda ac effeithiol—eu hacenu, eu hattalnodi, a'u pwysleisio; mewn gair, rhoddi ysbryd a bywyd ynddynt. Heb hyn, er y dichon pob gair fod yn ei le priodol, nid yw y cyfansoddiad wedi'r cwbl fawr well nag oriadur heb y rhifnodau ar ei hwyneb, na bysedd i gyfeirio atynt. Y dosbarth olaf hwn o Ramadeg a elwir yn gyffredin, Acenyddiaeth neu Dônyddiaeth; ond y mae pob un o'r geiriau yna yn dra anmhriodol, o herwydd eu bod yn ddiffygiol i osod allan y meddwl yn gyflawn; oblegid nid yw Acen a Thôn ond rhanau o'r athrawiaeth a gyfrenir dan y dosbarth hwn. Oni b'ai fod Geiriadaeth y Gymraeg, yn barod, mor ansefydlog, y mae blys arnom yn aml wneuthur cyfnewidiadau lawer ynddo; eto y mae y gair neu y geiriau uchod a ddefnyddir

gan ein Gramadegwyr yn gyffredin i ddynodi yr hyn a eilw y Saeson *Prosody*, mor anfoddhaol, fel y beiddiwn ei newid am y gair Llafareg, yr hwn er nad ydyw efallai y goreu a ellir ei gael, y mae yn llawer gwell yn ein tyb ni, na Thônyddiaeth nac Acenydddiaeth. Mae y dosbarth hwn hefyd, yn cynnwys rheolau Mydryddiaeth neu Farddoniaeth.

Ein barn ddiysgog yw, nad oes nemawr genedl o fewn yr hyn a elwir "y byd gwareiddiedig," yr hon y mae ei dysgedigion, yn areithwyr ac yn ysgrifenwyr, mor anfedrus yn yn eu "hiaith eu hun yn yr hon eu ganed," a'r Cymry. Ni cheir odid ysgrifenydd yn eu plith, yn ngwaith yr hwn nis gellir canfod gwallau ieithadurol. Y maent yn deall ieithoedd estronol yn ddiau; ond byddwn yn cael ein *temtio* weithiau i sisial wrthynt y ddwy linell ganlynol a ddysgasom gynt o'n Silliadur Saesonig:—

> "*Let all other tongues alone,*
> *Till you can speak and write your own.*"

[*I'w barhau.*]

---

## TYLWYTH YR EPA.

### YR EPA MAWR.

O BOB dosbarth perthynol i dylwyth yr Epa, yr un dan sylw sydd yn dwyn y graddau helaethaf o debygolrwydd i'r hil ddynol. Adnabyddir ef weithiau wrth yr enwau "Dyn y Coed," "Dyn Gwyllt," &c.

Y mae rhai o honynt o leiaf yn chwe' troedfedd o daldra. Cerddant yn uniongyrch, a'u dwylaw yn gyffredin yn blethedig ar eu gwarau. Y maent yn fwy nerthol na dynion cyffredin. Y mae y rhanau helaethaf o'u cyrff yn orchuddiedig gan flew dû-lwydion oddyeithr eu traed, pa rai sydd yn noethion. Eu clustiau, eu traed, a'u dwylaw sydd gyffelyb i eiddo dynolryw. Mewn gair y mae eu holl gorff, a'u holl ysgogiadau, yn tebygoli yn fawr i eiddo yr hîl ddynol,

Y mae difynwyr (*anatomists*) wedi edrych i'r gwahaniaeth sydd rhwng cyfansoddiad eu cyrff, a'r cyrff dynol. Perchenogant hwy dair ar ddeg o o asenau, pryd nad yw dynolryw yn perchen ond deuddeg. Y mae esgyrn eu *palfeisiau* yn nghyda'u gyddfau ychydig yn fyrach. Eu tafodau, a'u peiriannau seiniol yn hollol gyffelyb; eto, y mae yr anifail yn analluog i siarad. Y mae yr ymenydd sydd ganddynt yn gyffelyb i eiddo dynion o ran ei ffurfiad; eto y mae yr anifail yn amddifad o reswm.

Y mae yr anifeiliaid hyn yn trigiannu yn niffeithleoedd Africa, ac yn Ynys Borneo. Y maent yn ymborthi ar ffrwythydd coed.

Pan fydd trigolion y wlad hono yn teithio yn y coed, byddant yn cyneu tân oddeutu y lleoedd y cysgant, er mwyn cadw ymaith y gwahanol fwystfilod rheibus. Deuant at y tânau hyn y boreu yn dyrfaoedd, ac a eisteddant yno hyd yr olaf un.

Dywedir y bydd y creaduriaid hyn yn mhlith y coed, ar lanau yr afon Gumbria, yn Africa, yn ymgasglu yn fintei-oedd mawrion, o dair i bedair mil mewn rhifedi, gan deithio yn rhesi rheolaidd—y rhai mwyaf yn gweithredu fel arweinyddion. Yn y byddinoedd hyn byddant yn dra afreolus a drygionus.

Dywed Jobson, pan fyddai ef a'i gymdeithion yn hwylio ar hyd yr afon heibio i'w safle, y byddent yn neidio i ben y coed, ac yn arsyllu ar y dynion; weithiau ysgydwent y coed â'u dwylaw, a chadwent dwrw dychyrynllyd.

Pan fyddai Jobson a'i gymdeithion yn angori, y nos, byddai yr anifeiliaid hyn yn gwneyd eu safle ar y creigiau uwchlaw iddynt. Pan fyddai y dynion ar y lan, a chyfarfod rhai o honynt, yn gyffredin deuai y rhai mwyaf yn mlaen, gan goegwenu yn eu gwynebu; ond diangent ymaith pan fyddai ymosodiad arnynt. Lladdwyd un o honynt o'r cwch trwy

ei saethu, ond cyn i'r cwch allu cyrhaedd y lan, yr oedd y lleill wedi ei gludo ymaith.

Y mae ganddynt fath o aunedd-dai yn y coed i'w cysgodi oddiwrth wres yr haul; yn gyfansoddedig o blanhigion a changenau wedi eu cydblethu yn dewion. Eu lloriau sydd wedi eu curo a'u sathru nes ydynt yn berffaith lyfn a gwastad. Dywedir y bydd y gwrrywiaid yn gadael y llpoedd hyn i'r benywiaid a'u rhai bychain am ysbaid yn amser eppiliad.

Os digwydd i Negro fod mor anffodus a chrwydro ei hun yn y coed, ac iddynt ei ganfod, yn gyffredin ymosodant arno ac a'i lladdant ef. Y maent yn alluog i yru ymaith hyd yn nod y cawrfil (*elephant*) ymaith gyda ffon yn eu dwylaw, neu heb ddim ond eu dyrnau weithiau.

Dywed Bosmon, fod llu o honynt wedi dyfod at gwmpeini o gaethion oedd yn gweithio yn Wimba, ar oror Grunea, ac iddynt eu gorthrechu, a'u bod ar dynu ymaith eu llygaid oll; ond goddiweddwyd hwy gan amryw Negroaid, ac a'u hattaliasant i gyflawni eu hamcan y tro hwn ond mewn rhan. Dywedir y byddant weithiau yn lladratta Negroesau, a'u cludo ymaith i'r coed.

HANESYDD O'R COED.

[*I'w barhau.*]

---

## PECHOD.

NID yn unig y mae pechod yn rhoddi yr enaid yn uffern, ond y mae hefyd yn rhoddi uffern yn yr enaid.

Hyny a ddylai fod ein gofid mwyaf ag sydd yn ddechreuad i holl ofidiau y byd, sef pechod.

Nid oes un peth a dâl ei gael i'w ennill trwy bechod; nid oes un peth a dâl ei gadw i'w golli trwy sancteiddrwydd.

Mae pechod yn rhy ddrwg, a sancteiddrwydd yn rhy dda i chwerthin am eu penau; dylem edifarhau o herwydd y naill, a pharchu y llall.

Os nad ydych am syrthio i bethau anghyfreithlon, na an-

turiwch ar derfynau pethau cyfreithlon. Peryglus yw sefyllfa ymyl ceuala.

Na wnewch ddrygioni fel y del daioni; gwasanaethu diafol fel y gwasanaetho Duw chwithau ydyw hyny.

Y tri pheth hyn yn nghyd sydd yn gwneuthur y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glan:—1. Goleuni yn y meddwl. 2. Malais yn y galon. 3. Cysgadrwydd yn y gydwybod.

## PLENTYN DOETH.

PLENTYN bychan gynt pan ar ei wely angeu a gyfarchwyd gan gyfaill gyda'r gofyniad canlynol; "I ba le yr ydwyt yn myned?" Y bachgen a'i hatebodd, gan ddywedyd, "I'r nefoedd." "Beth sydd yn peri i ti ddymuno myned yno? "Am fod Iesu anwyl wedi myned yno o'm blaen." "Beth pe elai yr Iesu oddiyno?" "Wel, yn wir, awn inau gydag ef," meddai y bachgen. Ychydig cyn ei farwolaeth dywedodd, "O na byddai genyf goron aur." Gofynodd cyfaill iddo, "Beth a wnaethit â hi?" "Myfi a'i cymerwn, ac a'i rhoddwn i lawr wrth draed yr Iesu."—*O Ddyddanion Iorwerth Glan Aled.*

## Y MERTHYRON.

DEDFRYDWYD John Hooper dduwiol i'w losgi. Pan gyneuwyd y tân gyntaf, nid ar frys y llosgai y cyrs irion, o herwydd trymder yr awyr, a'r fflamau gan wynt yn cael eu chwythu oddiwrtho. Yn yr amser yma cymerodd ddau sypyn o'r cyrs i'w cofleidio a'u cusanu, ac a rododd un o dan bob braich. Yn mhen ychydig, caed ffagodau sychion, a chyneuwyd ail dân; felly llosgwyd ei ranau isaf. Yn y danllwyth hon dywedai, "O! Iesu, fab Dafydd, trugarha wrthyf—derbyn fy ysbryd." Wedi i'r ail danwydd ddiffodd, efe a sychodd ei wyneb â'i ddwylaw, ac â llais uchel llefodd, "Er mwyn cariad Duw, gadewch i mi gael ychwaneg o dân." Y trydydd tân a ennynwyd, a gwaeddodd, "Arglwydd Iesu, trugarha wrthyf; Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd." Ac yn ebrwydd aeth i ororau gogoniant mewn dedwyddwch, a'i bwys ar ei Anwylyd.

Ar ol i William Hunter ddyfod at yr ystanc, daeth y Sir-

ydd yn mlaen, gan ddywedyd, "Dyma lythyr oddiwrth y frenines, os dadgyffesi, ti gai fyw, os na wnai, ti a losgir." Ebe William, "Gyda chymhorth Duw, nis gwadaf fy mhroffes." Yna rhwymwyd ef wrth ystanc, a llefodd, "Fab Duw, llewyrcha arnaf," ac yn ebrwydd yr haul a lewyrchodd mor danbaid ar ei wyneb o ganol cwmwl tew, fel y gorfu iddo droi ei wyneb yr ochr arall. Pan yn y tân dywedodd, "Arglwydd—derbyn fy ysbryd;" a chan ogwyddo ei ben i'r tewfwg a'r fflamau tân, rhoddodd i fyny yr ysbryd, gan selio gwirionedd Duw â'i waed.

William Flower a ddywedai yn nghanol y tân, dair gwaith yn olynol, "O! Fab Duw! cymer drugaredd arnaf.

Tua'r un adeg, pump a gyd-ddienyddwyd; a phan oedd y fflamau yn eu gorchuddio, canu Salmau yr oeddent hwy, mewn goslef hyfryd, nes peri i'r edrychwyr wylo yn chwerwdost.

Pan ddedfrydwyd Kerby i gael ei losgi, dywedai "Bendigedig fyddo Duw."

## DYWEDYD Y GWIR.

YR oedd bachgen bychan a berthynai i Ysgol Sabbothol yn cael ei anfon gan ei dad i ymofyn arian ag oedd yn ddyledus iddo, a pheri i'r plentyn ddywedyd fod arno eisiau yr arian i dalu am ryw beth ag oedd efe wedi ei brynu, atebai y plentyn, "Fy nhad, rhaid i mi beidio dywedyd anwiredd; mae hyny yn beth drwg iawn; ac y mae fy athraw yn dywedyd fod Duw yn gwybod pob peth a ddywedwn ni."—— Plentyn arall, pum' mlwydd oed, wrth glywed ei fam yn dywedyd yr hyn nid oedd wirionedd, a lefai allan, "O, mam! oni wyddoch chwi fod dywedyd celwydd yn beth drwg iawn? Y mae Duw yn ei wybod, ac y mae yn ei ddigio yn fawr? Nis gallwn ni weled Duw, mam; ond y mae Efe yn ein gweled ni. ac yn gwybod pa beth yr ydym yn ei wneuthur."

## BYR GOFIANT AM ELLIS JONES, UTICA.

GANWYD Ellis Jones yn y Dalar Gerwin, Penmachno, sef y rhan o'r plwyf a elwir Wybrnant, sef hen gartrefle Dr. Morgan. Aeth i'r gweithfaoedd llechau, yn Ffestiniog, pan yn mlodau ei ddyddiau. Yn y flwyddyn 1812, ymunodd mewn priodas a Sarah Roberts, Muriau'r Gwifil, yr hon sydd

eto yn fyw. Yn 1831, ymfudasant i'r America. Yr oedd ei iechyd yn wanaidd cyn gadael Cymru, ond cafodd fyw 27 o flynyddoedd yn y wlad hon, mewn mesur o lwyddiant. Yr oedd yn ddyn o dymher naturiol siriol, tawel a digyffro. Ni flinid ef â'r anhwylder sydd yn blino llawer, sef rhagfarn at lwyddiant ereill. Ymunodd a chrefydd yn y flwyddyn 1825, ac a'i dilynodd gyda ffyddlondeb di-fwlch, tu yma a thu draw i'r môr. Yn y flwyddyn 1847, dewiswyd ef yn ddiacon yn eglwys y T. C., ar Quaker Hill, a bu yno yn swyddog derbyniol hyd ei symudiad i Utica. Nid oedd yn siaradwr ffraeth, ond dywedai i bwrpas, a gwyddai ei fesur yn well na llawer, ac ymogelai rhag gormesu ar deimladau, na swyddau, na meddiannau ei gyd-fforddolion; ond cafodd ac ennillodd o'r byd, heb fod ochenaid y tlawd wedi ei orthrymu yn aros ar yr hyn a adawodd i'w berthynasau, fel y gallent ei fwynhau heb betruso ei fod yn ffrwyth hoced a thwyll. Symudodd o'r naill wlad i'r llell, a thystiolaeth yn nghydwybodau a geneuau ei gydnabod mai tangnefeddwr cywir ydoedd. Symudodd o gymydogaeth i gymydogaeth, yn America dan yr un cymeriad. Ystyriwyf y pethau hyn yn sicrach tystiolaeth o grefydd dda na chyffes o brofiad uchel heb fywyd crefyddol; ond nid oedd E. Jones heb brofiad uchel. Yr oedd ei agwedd ddifrifol a llawen yn gwrando, yn brawf ei fod yn profi fod ei enaid yn derbyn bendith; a byddai ei golli o'r gynnulleidfa yn golled genym, am y byddai yn gyffredin yn effro a siriol yn gwrando, er ein bod yn gwybod fod ganddo deimlad pan fyddai gwirioneddau yr efengyl yn cael eu cymylu i raddau gan fyrdra ein doniau; eto yr oedd mwy o ddyn a Christion ynddo nag yr amcanai egluro i bawb ei anghymeradwyaeth o'r athraw a'i athrawiaeth, fel y gwna rhai sydd a'u chwaeth mor uchel (bid sicr) fel y mae eu cyrff yn dolenu i bob ystum, eu llygaid yn cau, a'u geneuau yn camu gan bwys teimladau oerion a diystyr o'r genad a'i genadwri. Ond rhag eich blino â meithder, fel y cyfryw bu farw yn dawel iawn; fel tywysen lawn ac addfed, mor awyddus am farw ag y byddai am fyned i'r cyfarfod yn ei fywyd. Bu farw mewn tangnefedd Medi 24, 1858, yn 75 mlwydd oed, gan adael gweddw, saith o blant, llawer o wyrion, a thorf o berthynasau, i aros yr alwad i fyned ar ei ol; a'r Duw a roddodd iddo ef ddiwedd tangnefedddus a roddo iddynt hwythau oll y cyffelyb.

*Rome.* T. WILLIAMS.

## DETHOLION.

MEDDYGINIAETH RHAG Y DDANNODD.—Rhodder wynwyn-yn wedi ei rostio ar yr arddwrn, ar y gwaedgur (*pulse*), ac attalia y ddannodd fwyaf dyfnreddfiad mewn ychydig fynyd-au. Y mae y feddyginiaeth yn un syml iawn, ac yn werth ei phrofi. Cofiwch hi.

NIS gall dyn fod yn wir ddedwydd yma, heb obaith da am ddedwyddwch ar ol myned oddiyma.

GALWEDIGAETH fawr dyn yw diwyllio ei feddwl, a llyw-odraethu ei foesau.

DYWED Aristotle, fod tri pheth yn angenrheidiol er gwneyd dyn yn alluog mewn unrhyw gelfyddyd—sef natur, myfyrio, ac ymarferiad.

GWRTHDDRYCH pob gwybodaeth yw gwirionedd.

GWAS yw angeu wedi ei bennodi gan Dduw i ddattod neu i ryddhau arfogaeth y Cristion.

GWEITHREDIAD.—Cefais yn fynych achlysur i sylwi fod dyn o feddwl gwresog, er ei holl gamgymeriadau, yn gwneuthur mwy o les i'r byd na dyn pwyllog rhewllyd. Mae y dyn sydd wedi myned i'r arferiad o ymholi yn nghylch gweddeidd-dra, cymhwysder, ac achlysur pob gweithrediad, yn fynych yn treulio ei fywyd heb wneuthur dim i bwrpas. Mae sefyllfa y byd y fath, a chymaint yn ymddibynu ar waith, fel y mae pob peth yn ymddangos yn gwaeddi yn yn uchel ar bob dyn, Gwnewch rywbeth—gwnewch—gwnewch!"—*Cecil.*

UDGANWYR.—Y mae tri math o udganwyr:—

1. Y dyn perffaith ddigywilydd, yr hwn sydd yn udganu ei udgorn canmoliaeth ei hun.

2. Y dyn cyfrwys, yr hwn yn gyffredin sydd yn llwyddo i gael eraill i udganu yr udgorn drosto.

3. Y dyn gwir alluog, yr hwn na ofyna ac na feddylia am udganiad neb, ond a wna waith y bydd y byd o hono ei hun yn rhwym i udganu am dano.

BWRDD hiliedig yw yr Ysgrythyrau, o bob danteithion ysbrydol, ar ba rai y chwenycha y Cristion ymborthi.

## CAN Y BARDD WRTH FARW,

*Sef yr hon a ganwyd gan Mr.* WM. MORRIS, *Slate Hill, yn Eisteddfod Utica, &c., Ion.* 1, 1859.

GWNEWCH imi feddrod wrth ffrydlif y mynydd
  Na cherfiwch un linell i adrodd fy hynt;
Yno te lored glas-donau'r afonydd
  Eu cerddi yn gymhlith a chwiban y gwynt!

Na chlywer un och lle mae'r prydydd yn huno,
  Na choder un cofnod i ddangos y fan;
Yno na weler un serchawg yn wylo,
  I dori a'i ddolef dawelwch y lan!

I bydru fi dodwch heb gwynfan na galar,
  Diamdo, dienw ac unig fy ngwedd;
Na wedwch fy mod i mor drist ac edifar,
  Wrth deithio i dawel ystafell y bedd!

Pan ddychwel y Gwanwyn—uwch ben fy ngorweddle
  Pored y milyn dywarchen fo gwerdd;
Pan chwyfia y grug yn awelon y bore,
  Adar y moelydd a ganant fy ngherdd.

Iesu fy Nuw! yn y preseb a rwymwyd,
  Maddeua fy nghamwedd, tro drallod yn hedd;
Ti'r hwn dros ddyn pechadurus croeshoeliwyd,
  Cofia fy lludw yn nghilfach y bedd!

Pan seinio yr udgorn trwy'r nen ddychrynedig
  Alargan ddiweddaf y ddaear a'r mor,
Gad imi orphwys lle can y gwaredig,
  Gathlau i'th foliant—fy Ngheidwad, fy Ior!

T. LL. JONES, (*Gwenffrwd.*)

---

## BEDD-ARGRAFF

*Tri o blant a fuont feirw ac a gladdwyd o fewn un dydd i'w gilydd, sef yr eiddo Ebenezer ac Elinor Jones, Floyd, E. N.*

Llon ddau frawd, ddarllenydd,—dau hunasant
  Yn Iesu, sy'n llonydd;
A chwaer fach, wrth eu hochr fydd,
I aros y lleferydd. EOS GLAN TWRCH.

---

YN gymaint a bod gwall pwysig wedi dygwydd yn yr Englyn uchod, yn y rhifyn o'r blaen, yr ydym yn ei ail gyhoeddi.

## TRAGYWYDDOLIAETH DUW.

[*Parhad o du dal.* 27.]

**Salm xc. 2.** "Ti hefyd wyt Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb."

Y DEFNYDD cymhwysiadol o dragywyddoliaeth Duw.

1. Mae defnydd anghysur i'r anedifeiriol yn nhragywyddoliaeth Duw. Bydd yn ofnadwy iddo fod dan ddyrnod y Duw sydd yn dragywyddol ei barhad, am bechu yn ei erbyn mewn amser. Mae meddwl am dragywyddoliaeth Duw yn ffynnonell llawenydd, gorfoledd a hyfrydwch calon i'r rhai sydd yn ei garu ef; ond mae meddwl am ei dragywyddoliaeth ef yn achos o ddirfawr fraw, dychryn, galar a gwae, i'r rhai sydd yn ei gasâu. "Efe yw y Duw byw, a'r Brenin tragywyddol: rhag ei lid ef, y cryna y ddaear." Jer. x. 10. Tragywyddol barhad Duw, a'i dragywyddol rwymau i amddiffyn ei hun, yn nghyd a thragywyddol anallu y pechadur i wneyd iawn i Dduw, fydd parhad ei gosbedigaeth yn y byd a ddaw.

2. Mae defnydd *cysur* i'r saint yn nhragywyddoliaeth Duw.

(1.) Gan fod Duw yn dragywyddol, mae ei gyfammod am eu bywyd trwy, neu yn Iesu Grist yn dragywyddol ddiogel sicr a pharhaus. Meddai Efe ei hun, "*Cyfammod fy hedd ni syfl.*" Am hyny, ni chilia ei drugaredd ef oddiwrth ei gwrthddrychau byth. Ex. liv. 10. Tragywyddoliaeth y Duwdod ydyw y sylfaen ar ba un y mae y cyfammod gras yn pwyso am ei gadernid; a llw Duwdod yw ei sicrwydd; a pharhad tragywyddol y Duwdod yw ei barhad. Heb. vi. 13. Dyma gyfammod sicr am fywyd y credadyn—dyma "Iachawdwriaeth a fydd byth, a chyfiawnder ni dderfydd" iddo. Dyma drugaredd rad trwy Ben y Cyfammod yn dyfod o galon y Duwdod tragywyddol i enaid y dyn ar y llawr; a hono i barhau byth heb yma[illegible] "Fy nhrugaredd ni

chilia oddiwrtho, medd yr Arglwydd." Esa. li. 6; a liv. 8 —10.

(2.) Gan fod Duw yn dragywyddol, bydd byth yn Dduw mewn cyfammod â'r saint yn helaethrwydd diddarfod ei gyfoeth. Y Duw tragywyddol hwn fydd eu Duw hwy byth ac yn dragywydd; ac y mae Efe yn breswylfa iddynt yn mhob cenedlaeth. Salm xlviii. 14; a xc. 1. Heb. viii. 10. Dichon y cânt oll yn y man (am fod Duw yn eiddo iddynt) gyrhaedd yn iach a diogel i afael y bendithion a ddymunodd Jacob i'w fab Joseph (Gen. xlix); sef, *Bendithion bryniau tragywyddoldeb.* Gwna'i etifeddiaeth ddaearol o fil o ddoleri wneyd llawer o ddynion yn dra dedwydd yn y byd hwn; ond pa faint mwy y gwna etifeddiaeth o Dduw mewn mwynhad ddedwyddu y saint yn y nef, a'u llanw â gorfoledd a llawenydd anrhaethadwy a gogoneddus. A thragywyddoliaeth Duw geidw fywyd a mwynhad y saint yn fyw ac yn hyfryd byth yn y breswylfa lonydd fry. Heb. i. 12.

3. Gan fod Duw yn dragywyddol, bydd y mwynhad o hono yn newydd a gogoneddus o hyd. Mae Duw yn dragywyddol ddigyfnewid—am hyny, bydd gwrthddrych eu mwynhad yr un o hyd; a chânt y meddiant personol cyflawnaf o hono mewn mwynhad newydd, a chyflawnaf byth. Derbyniant amlygiadau newyddion o ryfeddodau ei ras ef yn oesoesoedd; gan fyned i mewn o hyd i lawenydd eu Harglwydd, ac o ogoniant i ogoniant; a hyn i gyd yn tarddu o dragywyddoliaeth Duw iddynt.

*Newark, O.* J. E. DAVIES.

## DYDD YR ARGLWYDD.

GODDEFWCH i gyfaill, a ddymunai ddaioni i chwi ac i bob dyn, gyda pharch a chariad, ddwyn ar gof i chw y gorchymyn, yr hwn yn rhy fynych a anghofir gan laweroedd, ac efallai genych chwithau—"Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth."—Y Duw mawr, Creawdwr nef a daear, a or-

chymynodd hyn, y Duw mawr a roddodd fod i ni, yr hwn y mae ein bywyd yn ei law—y Duw, yr hwn sydd yn rhoddi ein holl amser i ni, chwe' diwrnod o saith at ein gorchwylion bydol, gan ddywedyd "Chwe' diwrnod y gweithi ac y gwnai dy holl waith; eithr, y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw." Y Duw hwn sydd yn gorchymyn i ni gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth—y mae yn gofyn y dydd hwn ac yn ei arddel fel ei eiddo—ac a ellwch chwi wrthsefyll y fath ofyniad cyfiawn? Efe a sancteiddiodd y dydd hwn at ei wasanaeth—Efe a osododd fod i feibion dynion o ddechreu byd hyd ei ddiwedd roddi y dydd hwn at wasanaeth crefyddol, dirgel neu gyhoeddus. Dywedwch yn awr, oni ddylech chwi roddi ufudd-dod serchog i'r gorchymyn hwn? Ystyriwch mor angenrheidiol a rhesymol yw y gosodiad, y mae yn angenrheidiol, er rhoddi amser gorphwysdra i gyrff dynion ac anifeiliaid. Pe na buasai y gosodiad daionus hwn, pa nifer o ddynion fuasai yn nacâu iddynt eu hunain a'u gwasanaethwyr amseroedd angenrheidiol i orphwys? Pe na buasai y Sabboth mewn gwlad, ni buasai crefydd yno, ac yna pa le y buasai moesoldeb? "Y Sabboth a wnaethpwyd er mwyn dyn."—Er ein mwyn ni, ac er ein lles, y gosododd Duw y Sabboth, nid rhaid iddo ef wrthych chwi na neb eraill o blant Adda—eich lles y mae Efe yn ei geisio, eich tragwyddol les: canys nid yn unig efe a'i sancteiddiodd, ond, efe a'i bendithiodd hefyd, y mae yn ddydd neillduol o ras—y mae Brenin y nefoedd, gan eistedd ar orsedd-fainc trugaredd, yn rhoddi bendithion neillduol y dydd bendigaid hwn i'w ddeiliaid cynnulledig ar y ddaear—Y mae miliynau o ysbrydoedd yn awr wedi eu perffeithio mewn gogoniant a foliannant yr Arglwydd dros dragywyddoldeb, am fendithion ysbrydol a dderbyniasant yn y byd hwn, trwy Iesu Grist, ar y dydd Sabboth—a miloedd ar y ddaear ar eu ffordd i ogoniant, ydynt yn profi mai da yw iddynt nesâu at Dduw, ac am hyny yn cyfrif, "Un dydd yn ei gynteddau ef yn well na

mil."—Ac fel hyn yr ymddengys, os ydych yn halogi y dydd hwn, eich bod yn elynion i chwi eich hunain—am hyny os ydych yn caru eich eneidiau a'ch iachawdwriaeth, paham yr esgeuluswch y moddion a drefnwyd er iachawdwriaeth? Pe edrychech ond yn unig ar eich lles amserol, chwi gadwech y Sabboth—"Canys y mae Duw yn anrhydeddu ei anrhydeddwyr," llawer a brofasant fod wythnos lwyddiannus yn dilyn Sabboth wedi ei sancteiddio; oblegid, "Bendith yr Arglwydd sydd yn cyfoethogi"—a pha fodd y gellwch ddysgwyl ei fendith os ydych yn gwrthryfela yn ei erbyn? Arglwydd Brif Ynad Hale, a sylwodd fel y canlyn—"Cefais," medd efe, "fod yn wastadol ynglyn ag iawn dreulio dydd yr Arglwydd, fendith ar y rhan arall o'm hamser, a'r wythnos a ddechrewyd fel hyn a fu fendithiol a llwyddiannus i mi; o'r ochr arall, pan y byddwn esgeulus yn nghyflawniad dyledswyddau y dydd hwn, y rhan arall o'r wythnos a fyddai yn annedwydd ac aflwyddiannus yn fy ngalwedigaeth fydol."

Ac oni ddangosodd Duw yn fynych ei ddigofaint tuag at dorwyr Sabbothau? Pa nifer a drengasant yn nghanol eu difyrwch ac a alwyd yn ddisymmwth i ymddangos ger bron Duw, tra yr oeddent yn gweithredol wrthryfela yn ei erbyn! Pa nifer o garwyr melys-chwant a welwyd yn dyoddef poenau dychrynllyd yn eu cydwybodau, wrth gofia y modd y treuliasant y Sabbothau a rhoddasid iddynt!—a pha nifer o drueiniaid yn eu mynydau diweddaf o dan y crogbren, a gyfaddefasant mai halogi Sabbothau fu dechreuad eu dinystr—Gochelwch gan hyny y pechod hwn ag sydd a'i duedd mor enbyd, a'i ganlyniadiau mor ddinystriol. Canys os gwrthodwch Duw, yntau hefyd a'ch gwrthyd chwithau, ac os Duw a'ch gwrthyd, yna chwi fyddwch yn druenus am dragwyddoldeb. A ydych chwi yn gobeithio myned i'r nefoedd pan fyddoch farw? Mi wn eich bod. Ond ystyriwch y gwaith sydd gan y saint yn y nef, y maent yn cadw Sabboth tragywyddol yno, a gwasanaethu Duw yw eu gorchwyl parhaus

hwy; pa fodd y gallwch chwi ddysgwyl am nefoedd gydag un sicrwydd, os nad ydych yn cael eich gwneuthur trwy ras yn addas i'r nef a'r gwaith sydd ynddi? A pha fodd y gellwch chwi ymhyfrydu yn y mwynhad o Sabboth tragywyddol, y rhai ydych yn awr yn troi eich cefnau ar addoliad Duw, ac yn dywedyd am y Sabboth—"Wele pa flinder yw?" Er mwyn gogoniant Duw, ac er mwyn eich hunain, ystyriwch eich ffyrdd. Boed yr amser a aeth hebio yn ddigon i wrthryfela yn erbyn eich Gwneuthurwr—na wrthryfelwch yn hwy.

Yn awr dywedwch, Arglwydd, digon yw, gwrthryfelasom yn dy erbyn yn rhy hir—Maddeu yr anwiredd a aeth heibio, a dyro ras am yr amser i ddyfod—Na fydded i fasnach fydol, na gwag ddifyrwch lenwi yr oriau sanctaidd hyn—na ladratewch oddi ar Dduw. Y dydd hwn oll sydd eiddo ef—O rhoddwch y dydd hwn i gyd iddo ef—a boed y dydd hefyd cyhyd a dyddiau eraill. Na ddywedwch, pa niweid sydd os cymerer ychydig ddifyrwch ar ol addoliad cyhoedd? Ystyriwch ond am fymryn lleiaf o amser, a chwi a welwch y niweid. Paham y bydd i chwi wneuthur cymmaint ag a alloch i ddileu yr argraffiadau a wnaeth pethau sanctaidd ar eich meddwl, cyn gynted agos ag y gwnaed hwynt? Onid yw addoliad dirgel mor angenrheidiol ag addoliad cyhoeddus? Ar ddyddiau eraill y mae eich galwedigaethau yn gofyn rhan fawr o'ch amser chwi: defnyddiwch yntau orphwysiad y Sabboth, ewch i'r dirgel a darllenwch eich Beilau—myfyriwch ar yr hyn yr ydych yn ei ddarllen, neu a glywsoch, a gweddiwch am fendith arno. Ymddyddenwch â Duw mewn gweddi, ymddyddanwch â'ch calon eich hun, ac ymddyddanwch â'ch llyfrau—uwchlaw pob peth ymdrechwch am brofi bendithion yr efengyl am y rhai y clywsoch. A fuoch chwi mewn lle o addoliad? a glywsoch chwi am Grist a iachawdwriaeth—eich gofal penaf yntau a fyddo am eich cael ynddo ef, heb ymddiried yn ngweithredodd cyfiawnder y rhai a wnaethoch chwi, ond yn y cyfiawnder a ddygodd

ef i mewn, "Yr hwn sydd i bawb ac ar bawb a gredant." Neu a glwysoch chwi am gyflwr anianol dyn fel pechadur? Cymhwyswch hyn atoch eich hun, a byddwch ostyngedig —a glywsoch chwi allan o air Duw "Oddieithr geni dyn drachefn na ddichon efe weled teyrnas Dduw?" ymofynwch yn fanwl pa un a brofasoch chwi y cyfnewidiad ysbrydol hwn? a gweddiwch am yr YSBRYD GLAN yn ei holl ddylanwadau sanctaidd, fel y byddoch greaduriaid newyddion. A osodwyd o'ch blaen gan y gweinidog yn ei bregeth, ryw dymher sanctaidd neu ryw ddyledswydd foesol?—Ymdrechwch am i hyny gael gwir argraff ar y meddwl, fel y byddo i chwi ei ddangos yn eich bywyd. Dyma y modd i gadw y Sabboth Cristionogol, ac wrth fyned yn mlaen yn y modd hyn yn ofn Duw, gellwch ddysgwyl am ei fendith yn y byd hwn, a'r hwn a ddaw. "Gwyn fyd y dyn—a gadwo y Sabboth heb ei halogi." Esa. lv. 2.

Derbyn, ddarllenydd hawddgar, y cynghor hwn, a darddodd o wir ddymuniad i wneuthur lles i ti.

Darllen ef eto, ac ystyria, a Duw, gogoniant ac achos pa un a ddadleuir, yn gystal a'th les dithau, a'i bendithio i ti er mwyn Crist. Amen.—*Cym. y Traethodau Crefyddol, Llundain, Rhif.* 14.

---

## CWYN DIRWEST.

MR. "ARWEINYDD," peth naturiol iawn i blant dynion yw cwyno pan fyddant yn cael cam, ac yr wyf wedi sylwi hefyd fod cŵyn weithiau yn cael ei gwrando, ac felly meddyliais *inau* ddyweyd fy nghŵyn mewn gobaith y bydd iddi gynhyrfu tosturi yn mynwes rhyw rai, ac y caf dâl am y cam wyf yn ei gael; ond pa fodd bynag am hyny—pa un bynag a wrandewir fy nghŵyn a'i peidio, caf dipyn o esmwythâd wrth *ddyweyd* fy nghŵyn.

Yr wyf yn teimlo fy hun yn cael cam mawr, ïe gan y rhai

hyny yr oeddwn i yn dysgwyl pethau gwell oddiwrthynt—y rhai yr oeddwn i yn eu hystyried yn gyfeillion mynwesol i mi; ond yn awr, y maent yn troi yn fradychwyr.

Dyna un dosbarth wyf yn ei gyhuddo, sef y Cymry. Yr wyf wedi gwneyd mwy i'r Cymry na nemawr un genedl, ac yr oeddwn yn dysgwyl i'r Cymry yn anad neb fod yn ffyddlon i mi. Mae gweled y *Cymry* yn fy anghofio yn peri i'r archoll gyrhaedd fy nghalon, oblegid gallaswn oddef anffyddlondeb oddiwrth bawb yn well nag oddiwrth y Cymry.

Gymry, clywch fy nghŵyn! Oni waredais gan'oedd o honoch chwi o afael crafangau y gelyn dinystriol yr wyf yn ymladd yn ei erbyn? Oni chodais luaws o honoch chwi o byllau isaf llygredigaeth, ac a'ch coronais âg anrhydedd a defnyddioldeb? Oni atteliais luaws o'ch gwyr ieuainc pan yn cychwyn ar y ffordd sydd yn arwain i bob dinystr? A fedrwch chwi ddyweyd wrthyf pa faint o'ch meibion a'ch merched a gedwais i rhag myned yn feddwon? Mae y daioni a wnaethum i chwi yn y cyfeiriad yma yn myned yn mhell tu hwnt i'ch gallu idd ei fesur.

Oni dderchefais i eich cymeriad chwi fel cenedl? Pa sawl tŷ gwag o'ch eiddo a lenwais â digonedd? Pa sawl teulu annedwydd a lenwais â chysuron, ac oni allaswn yn rhesymol ddysgwyl mai chwi fuasai y rhai olaf o bawb i fod yn anffyddlon i mi? Ond pwy ond chwi sydd yn fy anghofio. Y mae anghofio y fath garedigrwydd a hyn oddiar fy llaw yn ymddygiad ysgeler.

Cymry Swydd Oneida, Pa le y mae eich areithwyr hyawdl a fu yn fy nghanmol? Pa le y mae eich cyfarfodydd lluosog fu genych i'm cofleidio, a chymhell fy egwyddorion a'm hardystiad i eraill? Pa le y mae eich cariad cyntaf gyda Dirwest? A fum i yn anffyddlon i chwi, oni ddiogelais bob un oedd dan fy nawdd rhag cael niweid oddiwrth y diodydd meddwol? Na, gallaf roddi *challenge* i bwy bynag o honoch i gyfeirio at un amgylchiad y gwnes yn anffyddlon â chwi.

A ydyw y gelyn wyf yn ei wrthsefyll ynte wedi colli ei elyniaeth a'i allu dinystriol? Nag yw, y mae digon o engreifftiau yn eich mysg chwi yn brawf i'r gwrthwyneb, gan hyny, onid oes genyf achos i gwyno? Ond diau fod fy nghwyn yn eich blino Mr. "Arweinydd," felly ceisiaf ateb fy nheimladau.

DIRWEST.

---

## GRAMADEG.

### RHIF. II.

#### LLYTHYREG NEU ORGRAFF.

GAIR, o ran ei ystyr priodol, yw yr hyn a *lefarir*, nid yr hyn a *ysgrifenir*. Y mae yn cyfeirio yn uniongyrchol at feddylrith neu syniad yn y meddwl, ac yn arwydd o hono. GAIR, mewn ystyr ddiweddarach, sydd yn dynodi y peth a *ysgrifenir*, ac y mae yn cyfeirio yn *uniongyrchol* at yr hyn a *lefarir*, neu at air yn ei ystyr briodol, ac y mae yn arwydd o hono, ac yn ei gynnrychioli.

A geiriau neu iaith ysgrifenedig, y mae a fyno Gramadeg yn fwyaf neillduol, a Rheitheg â geiriau, neu iaith lafaredig.

Y mae Orgraff, neu y rhan gyntaf o Ramadeg, yn cymeryd i fewn eiriau fel arwyddion neu gynnrychiolion seiniau arwyddol, neu eiriau llafaredig. Y mae geiriau yn cael eu cyfansoddi o lythyrenau a sillebau; ac y mae Orgraff, gan hyny yn cynnwys dau ddosbarth; yr hwn sydd yn ymwneyd, â llythyrenau neu Lythyreniaeth; a'r hwn sydd yn ymwneyd â Sillebau, neu Silliadaeth.

I. *Llythyreniaeth.*

Y mae Llythyreniaeth yn ein hyfforddi o berthynas i ddechreuad, seiniad, llun, swydd neu natur llythyrenau.

(*a*) *Dechreuad llythyrenau.* Y mae iaith neu eiriau llafar yn gydoesol â dynolryw, ac yn gymaint a'i bod yn wrthddrych y synwyr a elwir y clyw, y mae ei gwasanaeth yn

cael ei gyfyngu, o angenrheidrwydd, i'r rhai sydd yn bresenol ac agos atom; eithr buan y teimlid yr angenrheidrwydd o ryw gyfrwng i drosglwyddo eiu meddyliau i'r sawl a fo'n absenol a phellenig; ac i ateb y dyben hwn, y cwbl oedd yn eisiau oedd rhywbeth i gynnrychioli neu arwyddlunio y seiniau llafar, yr hwn a ddeallid gan bawb a arferant yr un iaith.

Y mae llawer o ddadleu wedi bod, o berthynas i pa bryd, a chan bwy, y dechreuwyd yr arfer o ysgrifenu, yn gystal a pha ddull a ddefnyddid i arwyddlunio neu gynnrychioli geiriau llafar. Cyfrifa rhai yr anrhydedd hwn i'r Aiphtiaid, rhai i'r Pheniciaid, ac eraill a'i priodolant i'r Caldeaid. Tybia rhai dysgedigion fod y clorian yn gorbwyso yn ffafr yr Aipht; a diddadl yw eu bod hwy yn genedl ddysgedig, cyn cael o'r Hebreaid hanfodiad cenedlaethol, na'u sefydlu yn Nghanaan. Dyweda Curtius fod traddodiad yn hawlio yr anrhydedd hwn i'r Tyriaid neu y Pheniciaid; a dyma ei eiriau—"*Si famæ libet cradere, hæc gens literas prima aut docuit, aut didicit.*" Ystyr yr hyn yw, "Os dylid rhoddi coel i'r hen ddywediad, y genedl hon (y Tyriaid) oedd y cyntaf a ddysgodd lythyrenau (i ereill), neu a'u dysgodd (gan ereill.)" Y mae ychydig amwysedd yn yr ymadrodd uchod, yr hwn nis gellir ei droi i Gymraeg heb amgylchiaith, o herwydd na fedd ein hiaith ond un gair, sef dysgu, am y ddau air Lladin *doceo* a *disco*, y rhai sydd yn gyfystyr â *teach* a *learn* yn y Saesoneg. Ystyr y geiriau, ond odid, yw Mai y Tyriaid oedd y rhai cyntaf a ddysgasant lythyrenau cyn belled ag yr oedd yn wybodus i'r awdwr hwn; ond pa un ai eu dyfeisio a wnaethent, neu eu derbyn gan eraill, nid oedd yn abl dywedyd.

Yr hyn y mae a fynom ni yma yn fwyaf neillduol âg ef, yw y cwestiwn, pa bryd a chan bwy y dysgodd y Cymry lythyrenau. Os gwir yw mai y Cimmerioi, y rhai a breswylient y rhan honò o'r Taurica Chersonesus y sydd yn gorwedd gerllaw y Llyn Mæotis neu Fôr Azoff, neu y Crimea, fel ei gelwir yn bresenol, oedd y Cymry gwreiddiol, y rhai a fud-

asant yn gyntaf i Asia, lle yr arferid yr iaith Roeg, nid annhebygol mai llythyrenau yr iaith hono oedd y rhai cyntaf a ddysgasant; ac y mae yr hanas a ddyry Julius Cæsar o'r mater hwn yn cyduno â'r dybiaeth; ac afraid ychwanegu na wyddom nemawr o hanes y Prydeiniaid neu gynfrodorion Prydain, cyn ymweliad Cæsar â'r ynys hon; a dyma ei eiriau ef ar y mater hwn—gan gyfeirio at y Derwyddon, efe a ddywed, "Tybir ddarfod i'w dysgeidiaeth, yr hon a gaed allan yn Mhrydain, gael ei throsglwyddo oddi yno i Gâl; ac yn awr, y sawl a ewyllysiant ddeall yr urdd hono yn fanylach, a ânt yno gan mwyaf er mwyn dysgu. Y mae y Derwyddon wedi arfer bod yn absenol o frwydrau; ac nid ydynt yn talu trethi fel eraill; ac y maent yn meddu hawl i beidio ymwneyd a rhyfel, ac yn freinryddion oddiwrth bob peth arall. Wedi eu cynhyrfu gan y'fath ragorfreintiau, y mae llaweroedd yn dyfod dan eu ddysgyblaeth o'u bodd eu hunain, ac ereill yn cael eu danfon gan eu rhieni a'u perthynasau. Dywedir eu bod yno yn dysgu rhifedi mawr o linellau barddonol; ac felly y mae rhai yn aros ugain mlynedd dan eu dysgyblaeth; ac nid cyfreithlawn ychwaith y tybiant draddodi y pethau hyny mewn ysgrifen; er, yn gyffredin, eu bod mewn amgylchiadau eraill, ac yn eu hachosion cyhoedd ac anghyhoedd, yn arferyd llythyrenau *Groegaidd*. Ymddengys i mi ddarfod iddynt sefydlu yr arfer yma oddiar ddau reswm; o herwydd na fynent i'w cyfrinachau gael eu dad-ddirgelu, ac o herwydd na fynent i'w dysgyblion ymddiried i ysgrifeniadau, a thalu llai o sylw i'w cof; yr hyn sydd yn gyffredin yn digwydd i'r rhan fwyaf fod iddynt, trwy ddefnyddio cymhorth ysgrifen, laesu yn eu diwydrwydd i ddysgu yn drwyadl, ac esgeuluso eu cof."

Y mae yn ffaith a gydnabyddir yn gyffredin, mai yn meddiant y Derwyddon yr oedd holl ddysgeidiaeth y Prydeiniaid a'r Gâlwys yr amser hwnw; ac, er nad oeddynt, yn ol tystiolaeth Cæsar, yn arfer traddodi eu cyfrinachau a'r pethau a

berthynant i'w dysgybliaeth, mewn ysgrifen; eto, yr oeddent yn arfer ysgrifen, a llythyrenau Groegaidd a arferent. Ond pan oresgynwyd yr ynys gan y Rhufeiniaid, diau i'r trigolion fabwysiadu eu harferion i raddau mawr, os nad, yn mhlith pethau eraill, eu dull o ysgrifenu.

(*b*) *Sain llythyrenau.* Y mae sain priodol pob llythyren yn yr egwyddor Gymreig, yn ddigon adnabyddus i'r *darllenydd*, wrth gwrs, fel nad oes angenrhaid dywedyd dim ar y pen hwnw yma.

[*I'w barhau.*]

---

## TAER WEDDI.

RHYW beth rhyfedd yw gweddi, gweddi ffyddiog, ochenenaid y pechadur dychweledig. Mae gweddi yn agor dorau anneddau yr Hollalluog, mae yn dadgloi mynwes y Duw mawr. Gweddi yw yr agoriad ag sydd yn agor dorau calon y Creawdwr i dderbyn gwael ddeisyfiad y creadur; canys trwy weddi y mae yr unig ffordd y gall y pechadur ddyfod at Duw, a hyny trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Trwy weddi y mae y pechadur i gael ei godi o'r pyllau llygredig o bechod, i ba rai y mae wedi syrthio iddynt wrth natur, ac i fwynhau cymdeithas â Duw. Trwy weddi (mewn Cyfryngwr) mae y troseddwr euog ac aflan i gael ei wneyd yn lân (trwy waed y cyfammod), a'i berffeithio a'i addysgu i fwynhau tragywyddol wynfyd yn y byd a ddaw. Trwy weddi y cafodd yr hen Jonah ei gyfodi o waelod y môr, er iddo anufuddhau o'r blaen. Trwy weddi, Dafydd, er iddo droseddu, a dderbyniodd drachefn o orfoledd ei iachawdwriaeth Ef. Trwy weddi Elias, daeth sychder mawr ar y wlad; a thrwy daer weddi y daeth gwlaw arni drachefn. Trwy weddi daeth tân o'r nef i ddifa gweision y brenin. Trwy weddi ffyddiog cadwyd y llanciau yn y ffwrn dân. Gweddi a gauodd safnau y llewod rhag difetha Danial yn y ffau.

Ond y mae rhagor rhwng gweddi, a ffurf o weddi. Mae llawer yn myned yn mlaen gyda ffurf o weddio nad ydynt byth mwy yn meddwl am y weddi, na'r peth y buont yn gofyn am dano, ac os na chânt eu hateb yn y fan fel Eliseus, maent yn

rhoddi i fyny y gorchwyl, gan dybiad nad yw Duw yn gofalu am eu hateb, ac y mae hyny yn ddigon gwir o herwydd nad ydynt yn gweddio. Ond mae plant Duw yn gweddio bob amser mewn ffydd, maent yn dyfal erfyn; mae taerineb mawr yn ngweddi y pechadur ag sydd yn gweled yr angenrheidrwydd o weddio, ac os na chaiff ei hateb yn y fan, mae ef yn myned at y gwaith yn ddyfalach o lawer, canys mae ganddo ffydd y caiff ei ateb. Gwyr yn dda fod ei dad yn gwrando.

Aeth yr ysgrifenydd rai blynyddau yn ol i ymweled â chyfaill, teulu yr hwn a gynwysai dri o bersonnau sef tad, mam, a bachgen bach bedair blwydd oed. Yn yr hwyr ar ol llawer o ymddyddan, yr oedd fy nghyfaill, sef gwr y tŷ, yn ei gadair, a'i law tan ei ben mewn dwys fyfyrdod, tybiwn, ar fam yr ochr arall i'r *stove*, gyda ei gwaith pwytho, ac yr oedd y plentyn bach yn bur ddystaw wrth ochr ei fam. Ond yn y man canfyddais ef yn symud ac yn dynesu yn araf o dipyn i beth â'i gadair fach, hyd nes dyfod at ochr ei dad. Yn fuan cododd i'w sefyll, ac edrychodd am beth amser i fyny i wyneb ei dad, ac yna ar ei fam, ac arnaf finau. Ond o'r diwedd clywn ef gyda'i gŵyn, a chan edrych yn ddyfal ar ochr gwyneb ei dad, "Tada" ebe efe "rowch chwi *cent* i mi i brynu ceffyl bach," ond dim ateb oddi wrth y tad, ond parhai y plentyn i ofyn amryw weithiau, ond dim ateb yn dyfod. a chanfyddais fod y fam ai llygaid a'r y ddau, ac yr wyf yn meddwl i mi weled y deigryn ar ei gwyneb. A ellwch chwi famau yn hawdd gasglu yr achos o ymddangosiad y perlyn hallt hwnw, ar foch dyner y fam ar y fath amgylchiad? Ond o'r diwedd dyma y plentyn yn codi ei law wan ac yn gafail yn mraich fawr gadarn ei dad, ac yn dechreu ei ysgwyd, ac yn gofyn dipyn yn uwch nac o'r blaen. Ac O! edrychwch, dacw y tad yn codi ei ben, ac yn troi ei wyneb at ei blentyn nghyda gwên siriol yn ymdaenu dros ei wynebpryd fel be buasai ei galon yn methu aros yn fud yn hwy; a dyna efe yn gafael yn ei blentyn hoff ac anwyl ac yn ei gymeryd i fyny yn ei freichiau, gan ei gusanu a'i gofleidio, gan ddywedyd, "Yr oeddwn i yn dy glywed fy machgen o'r dechreu, ond yr oedd arnaf eisiau profi dy angen trwy dy daerineb yn crefu, a yn awr dyma i ti ddeg yn lle un.

Ac felly ddarllenydd (os wyt yn Gristion) mae dy weddi gyda'th Dad nefol, nid myned a phlygu o flaen Duw gyda lla-

wer o eiriau mawr, ac ymadrodd ardderchog ac yna rhoddi i fyny y weddi. O nage bydd daer wrth yr orsedd, "Canys llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." Yr ydoedd yr apostolion yn parhau yn ddyfal i weddio, ac mae Paul yn annog yr eglwys i weddio yn ddibaid. Ar Gwaredwr ei hun a weddiodd yn ddyfalach fel yr oedd yr amser yn nesau. Ac oni ddylem ninau fod yn fwy dyfal, ac yn fwy taer fely mae amser ein ymattodiad yn nesâu, am hyny byddwn ddyfal i weddio, byddwn daer wrth orsedd gras, er fod ein Tad yn hir oedi weithiau, peidiwn a meddwl nad yw ef yn clywed, ond profie in taerineb y mae, os goddefir yr ymadroedd. Daliwn ati frodyr, byddwn daer wrtho, a chofiwn yn fynych ei fod Ef yn ein gweddi, a thi a gai wynfydedigrwydd, ïe, efe a'th gyfyd yn ei freichiau tragywyddol, ac a'th gofleidia yn ei fynwes, er fe allai i'r hen elyn fyned yno gyda thi, ni bydd ganddo ddim i ddywedyd, ond bratiau budron, fel y gwnaeth â Josua. Nac ofna, "Onid pentewyn ydwyt ti," fel miloedd sydd heddyw yn uchel eu cân, cai dithau dy wisgo â newid dillad yn y man. Nis gall gweddi mewn ffydd yr hon sydd yn cael ei gollwng yn rhydd o'r galon i fyned at Dduw yn nghysgod yr aberth mawr byth fethu a chyrhaedd y nefoedd. Iē, hi a eheda fel gwreichionen dros Gethsemane, a mynydd gwaedlyd Calfaria yn mŵg yr aberth hedd i fynwes dy Dduw; "Gofynwch i'm Tad yn fy enw i" medd Crist, "a chwi a gewch." Ond fe allai na chai dy ateb yn fuan, ond ti a gai canys mae Duw wedi addaw, ac nis gall dori ei addewid. Edrych mor daer oedd Abraham gyda'r angel. Trwy daerineb y wraig o Ganaan y cafodd welliant i'w merch. Trwy daerineb penaeth y synagog y cyfodwyd ei ferch o farw. Trwy daer weddi y gorchfygodd Moses y gelynion. Trwy daer weddi a mawr ymdrech y derbyniodd Jacob y fendith, cyn iddo fyned dros yr afon. Nid oes dim a orchfyga fel taer weddi gyda Duw trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ac o na b'ai mwy o daerineb wrth orsedd gras yn y dyddiau hyn.

WILL O FÔN.

---

## GWERS AR GYFOETH.

EISTEDDAI bachgen bychan yn ymyl ei fam. Edrychai am ysbaid i'r tân, ac yr oedd yn ddystaw. Yna, fel yr

oedd ei feddyliau dyfnion yn myned ymaith, dysgleiriodd ei lygaid, ac efe a lefarodd:

"Mam, y mae arnaf fi eisio bod yn gyfoethog."

"Paham y mae arnat ti eisio bod yn gyfoethog, fy mab?"

A'r plentyn a ddywedodd, "Y mae pawb yn mawrhau y cyfoethog; y mae pawb yn ymholi ar ol y cyfoethog. Y dyeithyrddyn oedd wrth ein bwrdd ddoe, a ofynodd pwy yw y ddyn cyfoethocaf yn ein pentref. Y mae bachgen yn yr ysgol, yr hwn na ewyllysia ddysgu. Ni all efe ddywedyd ei wers yn gywir. Weithiau yn llefara eiriau drwg. Ond nid yw y plant eraill yn ei feio, am ei fod yn fachgen cyfoethog."

Yna gwelodd y fam fod y plentyn mewn perygl o'r feddwl y gallai cyfoeth gymeryd lle daioni, a bod yn esgus dros segurdod, neu achosi iddynt gael eu hanrhydeddu, a'u bywydau hwythau yn anheilwng. Felly gofynodd iddo:

"Pa beth ydyw bod yn gyfoethog?"

Efe a atebodd: "Nid ydwyf fi yn gwybod. Dywedwch wrthyf pa fodd i ddyfod yn gyfoethog, fel y gall pawb ymholi ar fy ol,' a fy mawrhau."

"Dyfod yn gyfoethog yw cael arian. Rhaid i ti aros am hyn, hyd nes y deui yn ddyn."

Edrychai y bachgen yn drist, ac a ddywedodd, "Onid oes rhyw ffordd arall i ddyfod yn gyfoethog, fel y gallwyf ddechreu yn awr?"

Hithau a atebodd; "Nid ydyw ennill arian yn wir gyfoeth. Gall tân ei losgi, gall gwynt ei chwythu, gall y gwyfyn ei dori, y rhŵd ei ddifrodi, neu yr ysbeilydd ei anrheithio. Mae dynion yn llafurio yn galed i'w ennill, ond gadawant ef ar ei bol yn y diwedd. Y maent yn marw, ac ni chludant ddim ymaith. Y mae enaid y cyfoethocaf ar y ddaear, yn myned ymaith fel eiddio y cardotyn heb wisg. Y mae y rhai a'i meddianant yn cael eu derchafu gan ddynion, ond ni dderbyniant yr un anrhydedd gan Dduw."

"Yna," ebe y bachgen, "a allaf fi ddechreu casglu y cyfoeth hwn, neu a rhaid i mi aros nes y byddaf yn ddyn?"

Rhoddodd y fam ei llaw ar ei ben bychan, ac a ddywedodd, "Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef;" "Oblegid, y mae wedi addaw, y bydd i'r rhai hyny a'i ceisiant yn forou ei gael."

A ddywedodd y bachgen: "Dysgwch i mi pa fodd y gallaf ddyfod yn gyfoethog ger bron Duw."

Yna hi edrychodd yn dyner arno, ac a ddywedodd, "Ymostwng o flaen yr Arglwydd bob nos a boreu, a gofyn iddo am gymhorth i garu Iesu Grist, ac am ffydd i ymddiried ynddo. Rhoddi ufudd-dod i'w air, ac ymddrechu holl ddyddiau dŷ fywyd i wneyd daioni i bawb. Felly er i ti fod yn dlawd o bethau y byd hwn, cai fod yn gyfoethog mewn ffydd, ac yn etifedd teyrnas nefoedd."

## ESGEULUSO YR IACHAWDWRIAETH GYMAINT.

Y MAE y rhan fwyaf o adfydau bywyd yn cael eu hachosi trwy esgeulusiad. Trwy esgeuluso addysgu plant, y maent yn tyfu i fyny mewn anwybodaeth. Trwy esgeuluso y tyddyn, tyfa y chwyn a'r mïeri; trwy esgeuluso y tŷ, aiff yn adfeiliedig, trwy esgeuluso hau, ni bydd medi; trwy esgeuluso medi yn amserol, braena yr ŷd yn y maes. Nis gall unrhyw beth bydol lwyddo lle y mae esgeulusiad; a phaham nad ydyw felly gyda pethau crefydd? Nid oes dim o bethau gwerthfawr y ddaear na ddyfethant os na ofelir am danynt, a paham nad yw felly gyda phethau perthynol i'r enaid? Na fydded i neb feddwl, neu gasglu, y bydd iddo gael ei achub am nad ydyw yn feddwyn, neu odinebwr, neu yn llofrudd. Na, byddai meddwl y fath beth mor afresymol, ag a fyddai i ddyn feddwl y byddai i'w dyddyn ddwyn ffrwyth, trwy nad ydyw yn llofrudd, neu y dylai ei fasnach ofalu am dani ei hun, am nad ydyw ef yn odinebwr. Ni buasai iachawdwriaeth yn werth dim, pe heb gostio ymdrech; ac ni bydd iachawdwriaeth i neb, ond y sawl sydd yn ymdrechu am dani.

## DETHOLION.

Ffynon pob gweithred yw ffydd.

Sylfaen pob rhinwedd ydyw gostyngeiddrwydd.

Dyledswydd gyntaf pob pechadur yw edifarhau.

Ffynon pob bendithion yw Iesu Grist.

Y Feddyginiaeth sicraf yn erbyn ofn angeu yw gobaith am y nefoedd.

Os nad allwn resymu i lawr ein angrhediniaeth, dylem ei weddio ef i lawr.

MAE yn fwy o anrhydedd ar Grist i'w wasanaethu mewn dinas nag mewn daeargell.

NI allwn ni wneyd ddim heb Dduw, ac ni wna Duw ddim hebom ninau.

DYWEDIR i Dduw edifarhau wneuthur dyn, ond ni ddywedir unwaith iddo edifarhau achub dyn.

Os i ddynion yn unig y llafuriwn, fe dderfydd ein gwaith gyda ni, ond os i Dduw, efe a'n canlyna.

GELWIR arnom i godi y groes, ond nid i'w rhoddi i lawr; oblegid ni ellir gwneuthur hyny hyd nes y rhoddir y corff a'r groes i lawr yn angeu.

---

## YMDDYDDANION PLENTYN.

Fy nhad, pwy a wnaeth yr holl flodau eurd dosawg,
Teleidion yr Haf yn y llwyni meillionawg?
Ai yr Huan ysplenydd a bair y dail gleision,
Y blagur a frithant y cangau dillynion,
Perlysiau y maes, a'r heirdd ffrwythau addfedawl?
—Nid yr Huan fy mhlentyn, ond Perydd Hollnerthawl!

Fy nhad, pwy a luniodd y lesin ffurfafen,
Yr euraidd gymylau a rodiant mor addien?
Pa law anweledig a ddeil yn eu rhodau
Afriflu y ser drwy y maith ëangderau?
Ai dyn gynt a luniodd yr entrych rhyfeddawl?
—O nage, fy mhlentyn, ond gair y Tragwyddawl!

Fy nhad, o ba le daeth ein harddfro anwylaf?
Ei ffrydiau, ei moroedd, a'i dolau teleidiaf,
Ei chedyrn fynyddoedd, a'i glenydd irleision,—
Ai gwaith rhyw dyrfaodd o blant boreuolion?
Oni chawsynt eu tarddiad o allu daiarawl?
—O naddo, fy mhlentyn, ond Creydd anfeidrawl!

Oddiwrth Dduw daeth y blodau, y coedydd, a'r ddaiar,
Fe greodd y bryniau, a'r moroedd trylasar;
A'i allu a seiliodd yr uthrydeg ffurfafen,
Yr haul lloer, a ser yn yr entrych ddysgleirwen;
Efe wnaeth y cwbl, ac nid dwylaw dynawl:
Molianna'r Duw hwnw—a'i allu anfeidrawl!

T. LL. JONES, (*Gwenffrwd.*)

## CARIAD BRAWDOL.

[A ganlyn sydd sylwadau o bregeth a draddodwyd gan y Parch. WM. ROWLANDS, yn Holland Patent, Medi 12, 1858, fel eu cofnodwyd gan yr ysgrifenydd wrth eu gwrando.

IOAN xiii. 34. "Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, Ar garu o honoch eich gilydd: fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd."

AMCANAF alw eich sylw at y "Gorchymyn newydd," yn y drefn ganlynol:—

I. PA BETH A GYNNWYS Y GORCHYMYN? "Ar garu o honoch eich gilydd."

Mae cariad at ein gilydd yn cynnwys, yn

1. Meddwl yn barchus o'n gilydd.

2. Ymhyfrydu yn nghyfeillach ein gilydd. "Cyfaill ydwyf i'r rhai oll a ofnant fy enw," meddai Dafydd. Y peth cyntaf a wna dyn ar ol cael troedigaeth ydyw ymwasgu â'r dysgyblion.

3. Cydymdeimlo a'n gilydd. "Aelodau ydym o'n gilydd." Mae yr holl gorff yn teimlo pan y mae un aelod yn dyoddef.

4. Cynnorthwyo ein gilydd.

5. Parodrwydd i ddyoddef dros ein gilydd.

6. Anrhydeddu ein gilydd. Nid yn chwennych y blaen, ond yn blaenori mewn gweithredoedd da.

7. Parodrwydd i amddiffyn ein gilydd. Brodyr ydyw y saint, a dylai y berthynas hon beri parodrwydd ynom i amddiffyn ein gilydd.

II. NEWYDD-DEB Y GORCHYMYN.

1. Yr oedd yn newydd yn athroniaeth athronwyr boreuaf y byd.

2. Y mae yn newydd oblegid yr ysgogydd newydd a gaed i'r cariad hwn yn marwolaeth Crist.

3. Yr oedd yn newydd o ran yr esiampl o hono. "Yr

hwn ag efe yn gyfoethog a aeth er eich mwyn chwi yn dlawd."

4. Mae yn newydd o ran y gwrthddrych o hono.

5. Mae yn newydd o ran y berthynas. Mae perthynas newydd yn creu dyledswyddau newyddion.

6. Mae yn newydd yn ei ddylanwadau ar y byd.

III. Eangder cylch y gorchymyn hwn. "Cerwch bawb eich gilydd."

IV. Y rheol. "Fel y cerais i chwi."

1. Carodd Crist ei bobl yn ngwyneb llawer o waeledd, felly y mae yn rhaid i ninau garu ein gilydd yn ngwyneb llawer o waeleddau a cholliadau.

2. Carodd hwynt nes rhoddi ei fywyd drostynt—felly dylem ninau, pe byddai galw am hyny, fod yn barod i roddi ein bywyd dros ein gilydd.

3. Carodd hwynt hyd y diwedd. "Ac efe yn caru yr eiddo oedd ganddo yn y byd a'u carodd hwynt hyd y diwedd."

M. J M.

---

## COFIA SANCTEIDDIO Y DYDD SABBOTH.

MAE yr Arglwydd yn ei air wedi gorchymyn i ni gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth, ac y mae wedi gwneuthur addewidion mawr a gwerthfawr i'r sawl a'u cadwant, ac wedi cyhoeddi bygythion trymion ar y rhai a'i halogant. Un o'r pechodau mwyaf ysgeler yn ngolwg yr Arglwydd yw y pechod o halogi ei dydd.

Yr ydwyf yn meddwl fod llawer yn halogi y Sabboth y dyddiau hyn trwy wag-rodiana—cymeryd y dydd Sabboth i ymweled â chyfeillion a pherthynasau, yn lle myned i addoli Duw.

Hefyd, halogir ef trwy ei arferyd yn ddydd i wledda y corff, i ymwisgo, a thrwy gysgu yn ormodol ar foreuau Sab-

bethau, ïe yn hwy o lawer na dyddiau eraill, pryd y dylid cyfodi yn foreuach ar ddydd yr Arglwydd na dyddiau eraill. "Cofia y dydd Sabboth i'w sancteiddio" medd Duw, nid rhan o hono ond yr oll o hono.

Fe'i halogir ef trwy ddarllen papyrau newyddion, a llyfrau anghyfreithlon i'w darllen ar ei ddydd ef.

Halogir ef hefyd trwy ymddyddanion anghyfreithlon —am y byd a'i orchwylion, am y tywydd a'i ganlyniadau, am y marchnadoedd a'u cyfrifon. "Heb wneuthur dy ffyrdd dy hun, heb geisio dy ewyllys dy hun, na dywedyd dy eiriau dy hun," y rhai sydd ddigon cyfreithlon ar amser arall, fel na raid cywilyddio o'u herwydd; ond y maent yn warth a dirmyg ar ddydd yr Arglwydd.

Yr ydwyf yn awyddus i ddyweyd yr hyn a allaf dros gadwraeth y Sabboth, oblegid y mae yn deilwng o sylw pob creadur rhesymol. Ond dyweyd nid yw ddigon, y mae eisiau gwneyd yr hyn sydd briodol arno.

Y mae y pechod ysgeler hwn wedi myned yn uchel iawn ei ben, hyd yn nod yn yr oes oleu hon; am hyny deffrown anwyl gydgenedl, er darostwng y fath bechodau ag sydd yn cael eu cyflawni ar ddydd yr Arglwydd, trwy sancteiddio y dydd Sabboth, yr hwn y mae Arglwydd y greadigaeth wedi ei fwriadu a'i neillduo i'w sancteiddio, a'i addoli yn ei deml, gyda gwylder a pharchedig ofn. Nid yw y dydd hwn yn cael yr ufudd-dod a deilynga gan ddynion; ond yn hytrach rhoddir haner y dydd gan lawer at wasanaeth anmrhiodol. Y mae ymbarotoi prydlawn gogyfer a'r Sabboth yn wir angenrheidiol er ei dreulio yn deilwng. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hyn yw y peth a lefarodd yr Arglwydd; Y fory y mae gorphwysfa Sabboth sanctaidd i'r Arglwydd: pobwch heddyw yr hyn a boboch, a berwch yr hyn a ferwoch; a'r holl weddill, rhoddwch i gadw i chwi hyd y bore." Exod. xvi. 23. Yr oedd barnau Duw yn disgyn ar Israel am beidio myned i'w addoli i Jerusalem.

Y mae llawer yn halogi dydd Duw cyn ei ddyfod, ac yn treulio eu hamser gyda phethau darfodedig y byd nes byddo boreu dydd yr Arglwydd wedi ymddangos, a haul natur yn uchel yn yr entrych er ys amryw oriau, y creaduriaid direswm wedi codi o'i gorweddleoedd, a'r adar mân a'r frigau y prenaú yn cyflwyno eu mawl a'u gwasanaeth i'r Duw a'u creodd; pan y mae dyn yr hwn sydd megis yn arglwyddiaethu ar bysg y môr, ar ehediad y nefoedd, ar yr anifail ac ar bob peth byw a ymsymudo ar wyneb y ddaear heb deimlo cymaint o sêl a chariad nes ei ddwyn i barchu Duw a'i ddydd. Y mae parch i ddydd yr Arglwydd i fod yn brofedig mewn meddwl gair a gweithred. Y mae y meddwl wrth natur yn grwydredig; ond y mae yn ddiamheu y gall y dyn gadw ei feddwl oddiwrth bethau bydol am un dydd o saith, y mae yn ofynedig yn ol gair Duw. "Y Sabboth a wnaethpwyd er mwyn dyn, ac nid dyn er mwyn, y Sabboth."

Y mae dyn i gael mwynhad o orphwysfa, yr hyn sydd yn anhebgorol angenrheidiol er cynnal ei natur. Fe wna dyn fwy o waith mewn chwe' diwrnod nag a wna mewn saith; o herwydd efe a gaiff fendith ar waith y chwe' diwrnod, ond iddo sancteiddio y seithfed dydd.

Tuag at barchu dydd yr Arglwydd, rhaid ymgadw rhag cyflawni yr hyn sydd ynddo ei hun yn bechod, yr hyn sydd bechadurus ar ddyddiau eraill. Mae pechod bob amser yn ddrwg mawr, ond ei gyflawni ar y Sabboth sydd yn dra phechadurus.

Mae y pechod a gyflawnir ar ddydd yr Arglwydd, yn cynnwys euogrwydd deublyg: sef euogrwydd y pechod, a'r euogrwydd o doriad y Sabboth. Ymddygiad isel yn y cyfoethog yw cymeryd y Sabboth i rifo ei aur a'i arian, ac edrych dros ei gyfrifon, ac y mae lle i ofni fod llawer yn iselu eu hunain yn y fath bechodau. Ofnwyf wrth edrych ar arwyddion yr amserau fod anmharch i ddydd yr Ar-

glwydd yn uchel yn ein gwlad, ac os na cheir diwygiad buan, y mae lle i ofni fod barnedigaethau trymion Duw gerllaw, am hyny cofiwn gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth.

*Bridgewater.* UN O BLANT YR YSGOL SUL.

---

## PREGETHU DIFYR.

"NID WYF YN ERBYN DIFYRWCH WRTH BREGETHU."

FELLY y dywedai un yn ddiweddar wrth ddyweyd ei farn am y gwaith o bregethu yr efengyl.

"*Nid wyf yn erbyn difyrwch wrth bregethu.*" Diamheu y cydunai dynion annuwiol y byd â hwy, pa rai sydd yn hollol ddifater yn nghylch eu cyflwr, a chwbl ddiystyr o ddyben pregethu. Eto y mae llawer o honynt *hwy* yn ei weled yn beth anghyson.

"*Nid wyf yn erbyn difyrwch wrth bregethu.*" Felly o bosibl y dywedai *ambell i grefyddwr tawel, difraw*, sydd yn ymhoffi mewn pethau *disylwedd*, yn caru ymddigrifo mewn gwagedd, yn anghofio pethau pwysig byd arall.

"*Nid wyf yn erbyn difyrwch wrth bregethu.*" Dichon y cydunai y *pregethwr* hwnw â hyn nad yw ei waith yn bwysig yn ei golwg—nad yw yn *newynu* a *sychedu* am gadw eneidiau—nad yw ei olwg ar ddydd mawr y cyfrif; ond sydd yn hytrach yn ymgyraedd am glod gan ddynion, ac yn amcanu mwy at dynu allan eu cymeradwyaeth gnawdol, nag at lesäu eu heneidiau.

"*Nid wyf yn erbyn difyrwch wrth bregethu.*" Felly yn ddiau y dywedai *Satan*, yr hwn sydd yn ymhyfrydu mewn gweinidogaeth *ddifyr, ddifywyd*, a *diamcan;* ac yn ewyllysio fod pob dyn yn golledig.

Ond, *nid* felly y dywedai *Paul*, oedd yn *gweddio*, yn *wylo*, yn *ymdrechu* ddydd a nos i gael eneidiau i ddiogelwch.

*Nid* felly y dywedai y *dynion fuont yn fwyaf llwyddianuus yn mhob oes* i droi eneidiau at Grist.

*Nid* felly y dywedai y *saint yn y nef*, sydd wedi cael eu gwaredu o afael pechod a dinystr, trwy offerynoliaeth pregethu.

*Nid* felly y dywedai y *colledigion*, sydd wedi myned o swn efengyl i ddyoddef cosb ddiddiwedd am bechod, ac wedi gadael eu ffrindiau penaf ar ol, "Rhag dyfod o honynt hwythau i'r lle poenus hwn."

*Nid* felly y dywedai yr *angelion*, sydd yn parhaus bryderu uwch ben cadwedigaeth dynion, ac yn *llawenhau* pan y mae un pechadur yn edifarhau.

*Nid* felly y *dywedai* yr *Ysbryd Glan*, sydd yn cael *dristau* pan y gwrthodo dynion gredu, troi, a byw.

*Nid* felly y dywedai *Iesu Grist*, yr hwn a *wylai* uwch ben Jerusalem, wrth feddwl am yr adfyd a ddeuai arni am wrthod gwybod y pethau a berthynant i'w heddwch.

*Nid* felly y dywedai y *Duw Anfeidrol* sydd yn *ewyllysio* fod pob dyn yn *gadwedig*.

Ac nid felly y dylai *neb* ddyweyd.

*W.* E. D.

## DIRWEST.

MEDDAI y gwr doeth, "Y meddw a'r glwth a ddaw i dlodi, a chysgu a bair fyned mewn gwisg garpiog."

Galwaf eich sylw yn

I. AT YR ENW SYDD ARNO, meddw.

II. YR HYN SYDD YN EI AROS, tlodi tymhorol a thragywyddol.

I. YR ENW, meddw.

1. Y mae yn un na ddylid bod yn ei gyfeillach. "Na fydd yn mysg y rhai sydd yn meddwi ar win." Nid

oes dim cysur i neb gydag ef. Dyna fel y dywed ei rieni am dano; "Ein mab hwn sydd gyndyn ac annufudd, heb wrandaw ar ein llais, glwth a meddwyn yw efe." Y mae yn rhodio yn nghyndynrwydd ei galon i ychwanegu meddwdod at syched.

2. Y mae yn un llawen. "A chalon Nabal oedd lawen ynddo ef, canys meddw iawn oedd."

3. Mae yn un diofal am dano ei hun. "A Simei ei was a gydfwriadodd yn ei erbyn ef, ac efe yn yfed yn feddw, a'i tarawodd, ac a'i lladdodd." Mae yr un desgrifiad i'w gael yn hanes Elam mab Baza, brenin Israel. Hefyd, Benhadad brenin Syria oedd yn yfed yn feddw yn y pebyll gyda y breninoedd eraill oedd gydag ef, a hyny ganol dydd. "A gwyr ieuainc Samaria a ddaethant allan ac a laddasant bawb ei un."

4. Mae yn un heb oleuni. "Ymbalfala yn y tywyllwch, cyfeiliorna fel meddwyn."

5. Mae yn un aflan. "Y byrddau oll sydd yn llawn chwydfa, a budreddi heb le glân. O! nodweddiad du, onide?

II. Yr hyn sydd yn ei aros yn anocheladwy—sef tlodi.

1. Tlodi tymhorol. Wrth arfer y diodydd meddwol "Daw tlodi fel ymdeithydd, ac angen fel gwr arfog." "Y neb a garo win ni bydd cyfoethog; ond a ddaw i dlodi." Mae ei wisg yn garpiog, nid ydyw yn gymhwys pan yn sobr ond yn mhlith rhai fel ef ei hun "Y neb a ganlyno oferwyr, a gaiff ddigon o dlodi." Mae yn yfed nes anghofio ei dlodi yn aml; ond tlawd ydyw a thlawd fydd efe trwy barhau i yfed y diodydd meddwol.

2. Tlodi ysbrydol a thragywyddol, oddieithr iddo ddiwygio a llwyr ymwrthod a'r pethau meddwol. mae gwae Duw yn aros uwch ei ben. "Gwae goron balchder meddwon Ephrain, dan draed y sethrir coron balchder meddwon

Ephraim." Yr ydym yn cael wrth ddarllen y Beibl y byddent yn llabyddio â meini, fel y byddai farw yr hwn a fyddai yn feddw, a'i rieni i'w ddwyn at henuriaid y ddinas, a'r farn a fyddai ei labyddio yn farw. Byddai holl Israel yn clywed ac yn ofni, a'r adyn truenus yn marw ac yn myned i ŵydd ei farnwr yn anmharod. Cawn yn hanes Nabal fod ei galon wedi marw o'i fewn, a myned fel careg. "Yr Arglwynd a'i tarawodd ef yn mhen deng niwrnod fel y bu farw." Ni chânt etifeddu teyrnas Dduw; "Na meddwon etifeddu teyrnas Dduw.

Hefyd, dangosir i ni yn y Beibl na fyn yr Arglwydd faddeu iddo, oni ddiwygia. "Ni fyn yr Arglwydd fadden iddo; canys yna y myga digllonedd yr Arglwydd a'i eiddigedd yn erbyn y gwr hwnw, a'r holl felldithion sydd ysgrifenedig yn y llyfr hwn a orwedd arno ef, a'r Arglwydd a ddilea ei enw ef oddi tan y nefoedd." Yr hwn a gyhoeddodd y farn a'n gwaredo oddi tani, yw dymuniad y gwaelaf o'r teulu, gan obeithio y bydd hyn yn fendith i ryw un.

*Leyden, Swydd Lewis, E. N.* D. L. EDWARDS.

---

## DEDWYDDWCH LLYWODRAETH DDA.

YR oedd cyfraith gan y Persiaid gynt, pan fyddai farw y brenin y byddent byw yn ddigyfraith am bum' diwrnod, fel y gallai pob un wneuthur a fynai. A chymaint oedd y lladd, a'r lladrata, ar afreolaeth, tra parhai y pum' diwrnod hyny, fel yr oedd yn dda ganddynt gael brenin i'w rheoli. Gwell yw rhyw lywodraeth na bod heb yr un. Eithr dedwydd yw y bobl sydd yn byw dan lywodraeth dda, lle y mae cyfiawnder yn cartrefu, uniondeb yn ffynu, a heddwch yn amlhau. Ond o bob llywodraeth, llywodraeth gras yn y galon yw yr effeithiolaf a'r dedwyddaf. Y mae Brenin Seion yn byw bob amser a'i lywodraeth yn un dda.

*Ebensburg,* ONESIMUS.

# AT IEUENCTYD.

## LLYTHYR II.

### DEWISIAD CWMPEINI.

Y MAE dyn wrth natur yn fôd cymdeithasgar. Y mae pob dyn ieuanc yn dewis rhyw un neu ryw rai o'i gydradd yn gyfeillion iddo, ac i gymdeithasu â hwy. O bob dewisiad y mae dyn ieuanc yn ei wneyd yn y byd, gellir dyweyd gyda phriodoldeb fod dewis cyfeillion, neu gymdeithion yn un o'r rhai pwysicaf; oblegid nid oes neb a mwy o ddylanwad arno na'r rhai y mae yn cymdeithasu â hwy; os llygredig a drwg fydd y cyfeillion yr ydych yn cymdeithasu â hwy, y mae genym sail gadarn i gredu y bydd eu dylanwad arnoch chwithau yr un modd. O'r tu arall, os byddant yn rhinweddol, ac yn ymgais at yr hyn sydd dda, bydd eu dylanwad felly arnoch chwithau. Y mae cryn lawer o wirionedd yn yr hen ddywediad, "Dangoswch i mi eich cwmpeini, dangosaf finau i chwithau eich cymeriad." Nid ydyw pobl ieuainc yn gyffredin yn ystyried y dylanwad sydd gan eu cymdeithion arnynt. Ti ddyn ieuanc heinyf, dichon dy fod yn gydnabyddus â llawer, yn mhell ac agos, ond y gofyniad pwysig yw, Pwy ydyw dy gyfeillion? Y mae o bwys amserol a thragywyddol i ti. Mae dy gysur yn y byd hwn i raddau helaeth yn ymddibynu ar y cymdeithion a fydd genyt pan yn ieuanc.

Efallai mai nid anfuddiol fyddai nodi ychydig o lawer o ddosbarthiadau ag y byddai yn dda i ieuenctyd lwyr ymwrthod â'u cyfeillach. Ni a ddechreuwn gyda y

*Rhai Hunanol.*—Y mae y dosbarth hwn yn lled gyffredin i'w cael yn ein gwlad, ïe, yn ein mysg ni genedl y Cymry. Nid rhaid gwrando arnynt yn traethu ond ychydig eiriau cyn canfod y V fawr—V wnaeth hyn, V wnaeth y llall, V oedd y goreu, V a gurodd; mewn gair, V ddylasai gael y clod a'r gogoniant i gyd. Beth ydyw yr achos fod cymaint

o gynnwrf, a chyffro, yn ein byd llenyddol y dyddiau hyn? Hunanoldeb. Beth ydyw yr achos fod cymaint o grach-feirdd, a chrach-lenorion (fel eu gelwir) yn dyfod allan dan ffugenwau, i geisio difrio pobl barchus, sydd a'u cymeriad yn dysgleirio ger bron Duw a dynion? Hunanoldeb. O ganlyniad, Anwyl ieuenctyd, na ddewiswch neb o'r cyfryw yn gyfeillion i chwi.

*Y rhai Segur.*—Gwelsom waith un awdwr yn darlunio fod "Diogi yn brif drueni yr oes hon;" ac nis gallwn lai na chymeradwyo ei ddywediad. Rhaid i ni gyfaddef fod y dosbarth hwn yn un lluosog; nid am fod ganddynt fodd i fyw heb weithio, y maent yn segura, ond am na fynant weithio; nid am nad oes gwaith iddynt i'w gael, ond oblegid eu bod yn hoffi diogi a segura yn hytrach na gweithio. Y maent i'w canfod yn gyffredin yn y mân bentrefydd, a'r dinasoedd mawrion, ar gonglau yr heolydd, ac yn rhodiana o'r naill fan i'r llall; nid oes neb yn myned heibio nad ydynt hwy yn ei bwyso a'i fesur, bydd ganddynt rywbeth i'w ddyweyd ar ol pawb. Felly cynghorem bob dyn ieuanc i gilio oddiwrth y cyfryw.

*Y rhai sydd yn arfer Diota.*—Er iddynt fod yn weithgar a llafurus, os ydynt yn arfer ambell i wydriad o'r ddiod feddwol, nid ydynt yn rhai priodol i gyfeillachu â hwynt, oblegid byddant yn dueddol o'ch llithio chwithau i'r un arferiad, gan hyny ciliwch oddiwrthynt.

*Y rhai sydd yn anmharchu Dydd yr Arglwydd*—Trwy ymddyddan am y byd a'i bleserau cnawdol ar y Sabboth, trwy rodiana ~~ac ymweled â chyfeillion~~, trwy esgeuluso myned i addoli Duw yn gyhoeddus ar ei ddydd. Ni ddylai ieuenctyd byth gyfeillachu â neb sydd yn euog o'r cyfryw bethau; gan hyny, Anwyl ieuenctyd, ystyriwch pwy ydyw eich cymdeithion.

*Y rhai sydd yn arfer tyngu, a chymeryd enw Duw yn ofer.*—Y mae dosbarth o'n dynion ieuainc yn yr oes hon yn

meddwl na bydd iddynt gael y parch a'r anrhydedd a deilyngant heb roddi ambell i regfa, pan fyddo rhywbeth yn myned yn groes i'w hewyllys; ond, fe'u diystyrir gan bobl gwir barchus. Gallant fod yn rhai gweithgar, sobr, ac yn parchu y Sabboth; eto yn cymeryd enw Duw yn ofer. Pa beth sydd yn iselhau dyn fwy na'i fod yn tyngu, rhegu, a chymeryd enw Duw yn ofer? Y mae yn cael ei ddiystyru gan bob cymdeithas rinweddol, a chan bawb sydd yn parchu Duw; hefyd, y mae Duw yn ffieiddio y cyfryw. Gan hyny, hoffus ieuenctyd, na chyfeillachwch a'r cyfryw; oblegid y maent yn dueddol o'ch arwain i brofedigaeth.

*Y rhai sydd yn arfer Hapchwareu* (*Gambling*).—Perthyna y rhai hyn eto i'r dosbarthiadau isel a fu genym dan sylw. Mae y rhai sydd yn ymarfer a'r chwareu hwn, yn gyffredin yn euog o rai, neu yr oll o'r pethau uchod. Mae ymarfer a'r pechod hwn yn dueddol o arwain at y lleill a nodasom.

Pe gofynid i lawer un yn y carchar, Pa fodd y daethost ti yma? Yr ateb a fyddai, trwy ddilyn cwmpeini drwg pan yn ieuanc. Pe gofynid i un arall sydd ar y *platform* yn myned i gael ei golli, Pa fodd y daethost ti i'r fan yma? Trwy ddilyn cwmpeini drwg pan yn ieuanc Fe allai, fod ambell i fachgen ieuanc yn barod i ofyn, Pa fath rai a gaf ddewis yn gwmpeini? Rhai yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni, rhai ac ofn pechu yn erbyn Duw, rhai gostyngedig, gweithgar, sobr, ac yn parchu dydd yr Arglwydd, &c. Dewiswch y rhai hyny yn gyfeillion i chwi, na fydd arnoch eisio eu newid wrth farw.

HEN ATHRAW.

---

LLEFARU yn oeraidd ac ysgafn am bethau nefol, sydd agos can waethed a thewi a pheidio dyweyd dim am danynt.—*Baxter*.

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 51.]

Y MAE pob llythyren yn cynnrychioli sain syml, neu un o elfenau yr iaith. Nifer y llythyrenau, gan hyny, a ddylai fod yr un a rhifedi y seiniau syml neu anghyfansawdd. Gyda golwg ar hyn, dichon egwyddor unrhyw iaith fod yn *ddiffygiol* yn gystal a *gormodol*. Y mae egwyddor yn ddiddiffygiol, pan y mae mwy o seiniau syml yn yr iaith nag sydd o lythyrenau i'w cynnrychioli neu i fod yn arwyddion o honynt. Nid yw y Cymraeg mor hynod yn hyn ag amryw ieithoedd eraill; ond y mae *a* yn y gair *tad*, ac yn y gair *mam*, yn meddu sain tra gwahanol; ac ac felly *e* yn *peth* a *pen*, er nad oes genym ond *a* ac *e* i arwyddo y pedwar sain. Weithiau y mae genym *lythyrenau* ac nid *llythyren* i gynnrychioli seiniau syml, rhai ag enwau arnynt, ac eraill heb enwau. Seiniau syml ydyw yr eiddo *ch*, *dd*, *ph*, *ll*, ac *ng;* ond nid oes genym arwyddion syml i'w cynnrychioli; ac felly, yr un modd, seiniau syml yw y rhai a arwyddir âg *mh*, *nh*, *rh*, *ngh*, ac y maent yn llythyrenau yn gystal ag *ph*, *ng*, *th*, ond nid oes genym enwau arnynt, ac nid ydynt yn cael lle yn yr egwyddor. Nid oes llythyrenau *gormodol* yn y Gymraeg, os nad yw *ff* a *ph* i'w hystyried fel yn perthyn i'r dosbarth hwnw.

O berthynas i'r modd i'w seinio, rheuir llythyrenau yn *llefariaid* a *chydseiniaid.* Llefariaid y gelwir y rhai y gellir eu seinio heb gymhorth unrhyw lythyren neu sain arall. Y maent yn Gymraeg yn saith mewn rhifedi; sef *a*, *e*, *i*, *o*, *u*, *w*, *y*. Yr ugain gweddill a elwir yn *cydseiniaid*, nid am eu bod ynddynt eu hunain yn cynnrychioli seiniau cyfansawdd, ond am nas gellir eu seinio ar eu penau eu hunain, heb gymhorth llafariaid; felly, nis gellir seinio yr *c*, neu y *p*, heb ddodi *e* o flaen y naill, ac *i* ar ol y llall. Pan y maent yn digwydd mewn geiriau, y maent yn arwyddion o seiniau syml,

yn gystal a'r llafariaid. Y mae rhai o'r cydseiniaid hyn, pa fodd bynag, yn haws eu seinio heb gymhorth llafariaid nag eraill; megis *ch*, *dd*, *f*, *ff*, *l*, *ll*, *m*, *n*, *r*, *s*, *th*, *ng*: gelwir y rhai hyn *hanner llafariaid*; a'r gweddill, y sawl nis gellir eu seinio mewn un modd heb gymhorth llafariaid, a elwir *mud-seiniaid*. Y rhai ydynt *b*, *c*, *d*, *g*, *p*, *t*.

(*c*) *Llun llythyrenau*. Gwyddis nad yw llythyrenau y gwahanol ieithoedd yr un o ran eu ffurf neu eu llun. A phan ystyriom mai yr hen ddull o ysgrifenu oedd o'r ddeau i'r aswy, ac nid o'r aswy i'r ddeau, fel yr arferir yn bresenol yn y rhan fwyaf o'r ieithoedd Ewropaidd, rhaid fod cryn wahaniaeth yn bod rhwng ffurf y llythyrenau perthynol i'r un iaith, y pryd hwnw rhagor y maent yn awr. Yr oedd yr Egwyddorau tarddedig o'r Lladin, yn meddu ffurfiau gwahanol; megis y Lombardaidd, yn perthyn i ysgriflyfrau Itali; y Visigothaidd, i'r eiddo Yspaen; y Saxonaidd, i'r eiddo Lloegr; y Gâlaidd neu y Merovingaidd, i ysgriflyrau Ffrainc; yr Almaenaidd, i'r eiddo y wlad hono. Y mae y rhan fwyaf o'n deddflyfrau wedi eu hargraffu mewn llythyrenau Gothaidd, ac y mae llawer o'r hen lyfrau wedi eu hargrafiu mewn llythyrenau Italaidd. Yr argraffiadau cyntaf o'r Ysgrythyrau yn yr iaith Gymraeg, ydynt mewn llythyrenau Germanaidd, neu y llythyren ddu.

Pa fath lythyrenau a arferid gan y Cymry yn y cynfyd, ni byddai ond gwaith ofer i ni geisio penderfynu. A gadael mae llythyrenau Groegaidd a ddefnyddiasant, yn ol tystiolaeth Cæsar, nis gŵyr neb pa fath oedd y cyfryw yr amser hwnw. Os gwir yr hen draddodiad, mai tori llythyrenau â chyllyll ar ddarnau o goed y byddai ein henafiaid, cyn i bapyr na memrwn ddyfod yn adnabyddus iddynt, y mae yn dra thebygol y dewisant Egwyddor ag ynddi y nifer lleiaf o lythyrenau cylchol neu grynion, megis B, C, D, O, S; gan ddefnyddio yn hytrach y rhai union-linellol onglaidd, neu gornelog, megis A, E, H, I, L, M, N, T, V, W, am fod y rhai olaf

yn llawer haws i'w tori yn y dull crybwylledig, na'r rhai blaenaf.

[*I'w barhau.*]

---

## PLANT TEILWNG O'U HEFELYCHU.

UN boreu, pan oeddwn yn gweithio yn y maes, gerllaw croesffordd, clywais yr ymddyddan canlynol rhwng tyddynwr oedd yn myned i'r felin, a dau fachgen o saith i ddeg mlwydd oed, oedd yn chwareu yn y ffordd.

Tyddynwr. Blant, a wnewch chwi gymmwynes i mi, gan fod arnaf frys?

Plant. Gwnawn Syr. Pa beth sydd arnoch eisiau?

T. Mae arnaf eisio i chwi fyned drosof fi i'r ystôr.

P. Wel Syr, ni a awn.

T. Cymerwch y llestr, a dywedwch wrth yr ystôr-ddyn am roddi haner galwyn o *whiskey* ynddo.

P. Nid ydym ni yn ewyllysio gwneuthur hyny.

T. Paham?

P. Yr ydym ni yn perthyn i'r Gymdeithas Ddirwestol.

T. O! nid oes arnaf fi eisio i chwi yfed dim.

P. Ond, yr ydym ni wedi addaw peidio cyffwrdd âg ef.

T. Wel, nid rhaid i chwi gyffwrdd âg ef, ond yn unig gludo y llestr.

P. Ond, bydd hyny yn gyffwrdd âg ef, sef ei gludo.

T. Os ewch, rhoddaf i chwi chwe' cheiniog.

P. Nis gallwn, Syr.

T. Rhoddaf i chwi swllt.

P. Nid awn, Syr.

T. Os ewch rhoddaf i chwi haner dolar, gan ei ddangos iddynt.

P. Nis gallwn fyned, Syr.

T. Cymerwch y llestr yma ynte a rhoddwch ef wrth y *fence*, hyd nes y deuaf yn ol.

P. Nis gwnawn, Syr. Oblegid yr ydym ni wedi addaw na bydd genym ddim i'w wneyd gyda'r llestr.

Nis gallai y tyddynwr eu perswadio hyd yn nod i gyffwrdd â'r llestr, felly gorfu arno fyned i'r felin, ac yna yn ol i'r ystôr ar ol y *whiskey* ei hunan.

## AMGYFFRED CYFLYM-GRAFF.

GWR ieuanc a gwynai rywbryd mewn *Society* yn Sir Gaernarfon, i'r hon y perthynai y diweddar Barch. Mr. Jones, o Edeyrn, gan ddywedyd, "Yr wyf yn ofni nad yw fy nghrefydd yn un iawn." "Paham yr ofni hyny?" meddai Mr. Jones; yntau a atebodd, "Am fy mod yn ofni mai myfi â ymaflodd mewn crefydd, ac nid crefydd ynof fi." "Na hidia pa un fy machgen," meddai Jones, "os cawsoch afael yn eich gilydd ryw sut, *dyna y pwnc.*"

---

## ATHRONDDYSG.

YN y talcen y mae y deall.
Yn y gwegil y mae y côf.
Yn yr iâd y mae y dosbarth.
Yn y deall a'r côf, a'r dosbarth yn un, y mae y pwyll.
Yn yr ysgyfaint y mae yr anadl.
Yn y ddwyfron y mae y chwant.
Yn yr afu y mae y gwres.
Yn y gwithi y mae y gwaed.
Yn y bystyl y mae y digofaint.
Yn y ddueg y mae y llawenydd.
Yn y galon y mae cariad.
Yn y rhai hyn i gyd y mae serch.
Yn y serch y mae yr enaid.
Yn yr enaid y mae y meddwl.
Yn y meddwl y mae y ffydd.
Yn y ffydd y mae Mab Duw.
Yn Mab Duw y mae y bywyd didranc.
Yn mywyd didranc y mae gwynfyd anorphen.

A gwyn ei fyd y neb a wnelo yn iawn, â'r ynian a roddes Duw ynddo, er cyrhaeddyd gwynfyd anorphen hyd byth bythoedd.

---

## DETHOLION.

NID y bregeth oreu ydyw hono a wna i'r gwrandawyr ymddyddan a mawrhau y pregethwr wrth fyned adref; ond yr hon a wna iddynt fyned ymaith yn feddylgar, difrifol, ac a

wna iddynt frysio am le i fod wrthynt eu hunain.—*Esgob Burnet.*

Bu Dr. Chadderton yn briod am 53 o flynyddoedd, ac yn yr holl amser hwnw, ni adawodd i un o'i wasanaethyddion aros gartref o'r addoliad cyhoeddus, i arlwyo bwyd iddo.

Yr hyn a glywch ac a welwch mewn un teulu, na chyhoeddwch ef mewn teulu arall.—*Gill*

Mi ddewiswn *syrthio* gyda Christ, yn hytrach na *theyrnasu* gyda Cæser.—*Luther.*

Yr oedd yn ddywediad gan yr Iuddewon, nad oedd hono yn wir weddi, os na byddai coffâd ynddi am deyrnas Dduw.

---

## GALWAD AR IEUENCTYD.

O dewch, ieuenctyd, dewch i gyd,
I 'mofyn trysor mwy na'r byd;
O fewn yr Ysgrythyrau mae,
Myrdd o fendithion i'w mwynhau.

O dewch, cyn darfod treulio'ch dydd,
A'ch llygaid gau yn angeu prudd:
I ffyddlon weithio'n ngwinllan Duw,
Gwir deilwng o'ch gwasanaeth yw.

O dewch, mae yr addewid fawr,
Yn llawn o du llwch gwael y llawr;
Y rhai sydd ffyddlon iddo fe,
Cânt wledda byth yn nheyrnas ne.'

O dewch, nac oedwch ddim yn hwy,
Mae gwledd i'w chael mewn marwol glwy';
Ac etifeddiaeth yn y wlad,
Sydd mewn addewid gan ein Tad.

*Rome.* R. D. Pugh.

---

## ENGLYN

I'r llyfrau a gynnwysant gyfansoddiadau barddonol, Ab Morydd, Floyd.

Llyfrau mawrion—llafur Morydd—a hwnw'n
Ffrwyth enwog fardd celfydd;
Gwin a roes yn ei gân rydd—
*Mel* a gawn, aml ei gynydd.

Berw Môr.

## DYN.

PA beth yw dyn? Maban y greadigaeth—y gwrthddrych rhyfeddaf yn y greadigaeth, campwaith y greadigaeth, a'r ardderchocaf o holl greaduriaid Duw. Efe yw maban y greadigaeth, efe a grewyd olaf, efe yw yr ieuangaf o'r creaduriaid. Efe yw y gwrthddrych rhyfeddaf yn y greadigaeth, am ei fod yn gyfansoddedig o gnawd ac ysbryd; mae iddo ranau anifeilaidd, a rhanau ysbrydol fel yr angel. Mae ganddo gymhwysderau fel creadur i fwynhau ac ymddedwyddu yn mhethau anianyddol y greadigaeth ddaearol. Hefyd, y mae ganddo fel creadur, gymhwysderau i ehedeg ar adenydd dychymyg, trwy rym ei gyneddfau eneidiol, a thramwy gororau y byd ysbrydol, efe yw campwaith y greadigaeth. Er mai dyn yw yr ieuangaf o'r holl wrthddrychau creadigol, efe hefyd yw y rhyfeddaf; ac nid hyny yn unig, ond efe hefyd yw yr ardderchocaf o'r holl wrthddrychau creadigol. Mae yn ardderchocach yn ei greadigaeth. A gair ei enau, wele Duw yn dwyn holl elfenau natur i fodolaeth—dim ond dyferiad y gair bydded dros ei wefusau sanctaidd, wele fydoedd yn neidio i fodolaeth ar amrantiad. Dim ond grym y gair bydded, barodd i'r haul mawr ddyfod allan o groth dyddymdra yn ei orwychedd ysblenydd; yr hwn a ddesgrifid gan y Salmydd, "Fel gŵr priod yn dyfod allan o'i ystafell, ac a ymlawenha fel cawr i redeg gyrfa." Yr un gair "bydded," a ddygodd fyrdd a mwy o ser a phlanedau, pa rai ydynt fel lampau goleuedig yn addurno y ffurfafen fawr â gogoniant ac â harddwch. Dygwyd ar unwaith fydoedd i fodolaeth, pa rai ydynt yn afrifadwy, oblegid y maent yn anfesuradwy; ac o ran eu haddurn a'u trefnusrwydd yn anamgyffredadwy. Dangosant Ddwyfol allu, a Dwyfol ddoethineb. Ond er mor ardderchog a gogonedddus ydyw gweithredoedd dwylaw Duw yn y greadigaeth ddireswm, mae y rhan yma o'i waith, DYN,

yn tra rhagori. Cyn creu dyn, yr oedd yn rhaid cael yr holl greadigaeth ddireswn wedi ei pharotoi yn flaenorol fel *palace* i'w dderbyn.

Yr oedd yr holl greadigaeth ddireswm yn cael ei dwyn i fodolaeth â grym y gair "bydded;" ond cyn creu dyn, wele y Personau bendigaid fel yn ymgynghori ac yn cynllunio pa fath fyddai, Deuwn a "Gwnawn ddyn ar ein delw ni." Nid oedd gan Dduw ddim cymhwysach cynllun i wneyd dyn na'i ddelw ei hun. "Ar ddelw Duw y gwnaeth efe ef."

2. Dyn ydyw y gwrthddrych ardderchocaf wedi ei greu. Er maint yw gogoniant yr haul, ac er mor uchel y mae yn llefaru am fawredd a gogoniant ei Wneuthurwr; er hyny, ni buasai ei holl leferydd ond dystawrwydd bythol, oni buasai fod dyn—creadur rhesymol, i wrando ar ei leferydd, ac i edrych trwyddo ar ei Wneuthurwr. Er bod "Dydd i ddydd yn traethu ymadrodd, a nos i nos yn dangos gwybodaeth," &c., a bod holl wrthddrychau creadigol, a holl elfenau natur yn trosglwyddo meddylddrychau, ac yn dwyn allan wybodaeth, er hyny ni buasai yr un meddylddrych ond llythyren farw, na'r un wybodaeth, ond ysgrif heb neb i'w darllen, oni buasai fod dyn yn greadur rhesymol a deallawl i ddysgu gwybodaeth trwyddynt.

(1.) Dyn yw y gwrthddrych ardderchocaf, am ei fod wedi ei greu ar ddelw Duw—ar ddelw naturiol Duw, yn meddu gallu, deall, barn ac amgyffrediadau ar ddelw foesol Duw, yn meddu daioni, cyfiawnder, a sancteiddrwydd, &c. Yn gymhwys i ddadgan gogoniant a mawredd Duw, ac i edrych trwy y creadur at y Creawdwr; yn gymhwys i gymdeithasu â Duw, i'w addoli a'i wasanaethu; ac yn gymhwys i ymddedwyddu yn Nuw, myfyrio ar ei weithredoedd, rhyfeddu yn yr amlygiadau o'i briodolinethau, ymserchu yn ei gariad, ei ofni, ei barchu, ac ymddiried ynddo.

(2.) Dyn yw y gwrthddrych ardderchocaf, am iddo gael ei osod gan Dduw yn arglwydd y greadigaeth ddaearol. "Ti

a ddarostyngaist bob peth dan ei draed ef." Mae pob creadur byw ar wyneb y ddaear wedi eu creu mewn ufudd-dod i'r dyn ac at ei wasanaeth. Mae holl elfenau natur yn ymostwng mewn ufudd-dod i wasanaeth dyn. Mae holl egwyddorion gwahanol gangenau gwybodaethau yn peri difyrwch iddo, a maeth i'w gywreinrwydd. Mae dyn yn greadur ag sydd yn gallu ymwthio drwy anhawsderau i ddirgelion trysorau gwybodaeth, treiddia i elfenau natur; geilw ar y mellt i'w wasanaethu, myn ufudd-dod gan ddwfr, tân, daear, ac awyr. Ymchwilia trwy wybodaeth ddaearegol i grombiloedd y ddaear, ac ymgoda trwy y wybodaeth seryddol i blith rhyfeddodau y bydoedd uwch ben. "Rhyfedd ac ofnadwy y'm gwnâed."

M. J. M.

---

## AMSER.

Y MAE amser yn fyr. Y mae megys "cysgod," "tarth," "breuddwyd," "rhedegwr," "gwenol y gwehydd," "y glaswelltyn, yr hwn a flodeua y boreu, ond y prydnawn y torir ef i lawr." Fel hyn y mae pob cyffelybiaeth sydd yn yr Ysgrythyrau, yn dangos i ni mai byr yw ein hamser ar y ddaear. Byr yw ein hamser pa un bynag a'i llawen a'i trist. Y mae eisiau i ni fod yn ofalus i'w dreulio i rhyw ddyben daionus. Y mae amser yn werthfawr; y mae mor werthfawr fel nad oes ond un eiliad yn y byd ar unwaith, ac y mae yr eiliad hwnw yn cael ei gymeryd ymaith cyn rhoddi yr un arall yn ei le. Y mae ein Crewr mawr wedi bod yn ofalus iawn i drefnu yr amser fel nad oes dim o hono yn colli o'i ochr ef; ond, fel y mae dynion yn ei gam-ddefnyddio, ac yn ei wastraffu i gyflawni drygioni, a myned ar ol pob oferedd.

Fy anwyl gyfoedion ieuainc, a'm cyd-deithwyr tua'r farn fanwl, gadewch i ni ystyried byrdra ein hamser i ymbarotoi

erbyn tragywyddoldeb. Y mae gan bob un o honom enaid i'w achub, neu ynte i gael ei ddamnio yn dragywyddol—nefoedd i'w hennill neu ei cholli. Am hyny gadewch i ni gydio yn ein gwaith yn awr, "Tra yr ydyw hi yn ddydd; y mae y nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio." Gan hyny, "Beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni: canys nid oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned." Preg. ix. 10.

*Fox Lake, Wis.* DAVID EVANS.

---

## CREFYDD O FEWN YCHYDIG.

Y MAE math o grefydd ag sydd yn rhy ddifrifol i'w galw yn rhagrith, eto yn rhy anwadal i fod yn fuddiol; y y mae yn rhy arwynebol i gyrhaedd y galon, ac yn rhy anffrwythlawn i allu dywedyd ei bod yn tarddu o honi. Nid yw hi ond ysgafn, eto, can belled ag y mae yn cyrhaedd, nid ydyw yn hollol ffugiol. Mae ynddi ddigon o gallineb i ganfod pechod, ond rhy fach o ymroad i'w wrthwynebu. Digon o edifeirwch i feddalhau llawer ar y galon; ond rhy fach o ymegniad i geisio ei diwygio. Y mae yn gofidio am droseddu, ac yn cyflawni gwahanol weithrediadau edifeirwch am bechod, ond ei adael.

Mae y grefydd am yr hon yr ydym yn son, yn meddu pob difrifwch ond dianwadalwch, ac yn foddlon i roddi i fyny bob peth ond y galon. Nid yw hon ond crefydd tymhorau, achlysuron, ac amgylchiadau. Mae yn cael ei dwyn i weithrediad drwy ddamweiniau, ond yn diflanu gyda y damweiniau a'u hachlysurodd.

Mae hi yn ddefosiynol iawn ar wyliau ac ymprydiau, y rhai nid ydynt yn dygwydd ond anfynych; ond yr uchel-wyl sydd yn dygwydd bob wythnos, sydd yn rhy aml ganddi i'w chadw.

Mae crefydd y cyfryw bobl yn flodeuog iawn yn amser cystudd, ond yn dueddol o gilio gydag adferiad iechyd. Os dygwydd iddynt farw, mae eu cyfeillion yn eu rhestru yn nghanol y saint; ond os gwellânt, y maent yn dychwelyd i'r byd y tybid eu bod wedi cefnu arno, ac yna yn oedi diwygio, tra yr oeda angeu eu taraw.

*Waukesha.* W. J. EVANS.

---

## LLOFFION TEULUAIDD.

CODODD awydd arnaf ar ddiwrnod teg fyned i loffa ar faes fy ngharenydd, trwy ofyn iddo, "Gad i mi fyned yn awr i'r maes, a lloffa tywysenau" o gyfarwyddiadau "ar ol yr hwn y caffwyf ffafr yn ei olwg." Yntau a ddywedodd, "Dos fy mab."

Dygwyddodd i mi gyfarfod ar feusydd teg fy ngharenydd, fedelydd o'r enw "Cynnorthwy y Fam," a'r ffordd oreu i ddysgu plant. Y mae yn angenrheidiol dechreu mor foreu a'r misoedd cyntaf, a hyny drwy arwyddion; oblegid y mae plant yn sylwi yn foreu iawn. Dylid dechreu mor foreu ag y dechreuant sylwi.

Gochel uchel seinio yn sydyn na garw yn eu clywedigaeth, ac na throer eu hwyneb yn sydyn at oleu canwyll, na goleu tanbaid yr haul, rhag eu cyffro i beri dysgu tymherau drwg iddynt, a rhag peri gwendid yn eu llygaid; oblegid y mae gwneyd felly yn arwain i'r ddau ganlyniad

Gocheler arferyd geiriau garw, nac ymddygiadau chwerw tuag atynt, nac yn eu golwg, o herwydd mae pawb sydd yn gyfarwydd â phlant yn gwybod y ceisiant wneyd unrhyw beth a welont eraill yn ei wneyd. Bydded i'r fam arferyd teimlo fel y dylai, ac yna bydd yn lled debyg o edrych ar y plentyn yn ol y teimlad hwnw. Mae llawer o ddulliau i hyfforddi y plant y flwyddyn gyntaf o'u hoes i fod drwy arwyddion, yr edrychiad, llais, a dulliau.

Na rodder i'r plentyn byth y peth a fyddo yn llefain am dano, rhag ei ddysgu yn anfoddol a meistrolaidd. Pan fyddo angen yn galw am sefydlogrwydd tymher ac ymddygiad, dylid dangos hyny drwy hunan feddianiad. Pan fyddo y plentyn chwerwaf, dylai y fam fod yn fwy tawel a dystaw. Mae rhuthro ar blentyn mewn nwydau chwerw, pan fyddo yntau yn chwerw, yn niweidiol iawn. Gwrthodiad parhaus o'r peth a lefo y plentyn am dano yw y feddyginiaeth oreu yn y diwedd. Na ddystawer ef â bwyd, a gwobrwyon, na deniad i gysgu. Yn y fath ymdrech o eiddo y plentyn, ymadawed y gwyddfodolion, fel na chaffo y plentyn edrych atynt am gynnorthwy er goruchafiaeth ar ei fam dyner-galon.

Mae ar fy meddwl loffa ychwaneg er llesâd plant, os bydd hyn yn dderbyniol, gan fy mod wedi treulio llawer o'm hoes mewn dysgu plant.

*Cincinnati.* E. JONES.

## CWYN DIRWEST.

[*Parhad o dudalen* 48.]

MR. "ARWEINYDD," er na wrandewch ar ryw gŵyn hir ar unwaith, eto gwelaf fod ffordd arall i ddyweyd llawer, sef trwy ddyweyd ychydig yn aml.

Dyna un dosbarth arall wyf yn ei gyhuddo, sef Deddfwneuth-urwyr a Deddf-weinyddwyr. Yr oeddwn yn meddwl mai chwi fuasai fy nghefnogwyr goreu, oblegid yr oeddwn yn meddwl y buasech chwi yn teimlo *interest* yn llesâd eich deiliaid, a hwythau wedi rhoddi y fath ymddiried i chwi. Darfu iddynt eich dewis chwi i amddiffyn a diogelu eu meddiannau, eu cymeriadau a'u personau; felly yr oeddwn yn meddwl y buasech chwi yn cefnogi diwydrwydd, gonestrwydd, mocsgarwch, a phob rhinwedd, a phe buasai unrhyw beth yn eich gwlad yn taenu anghysur yn mysg ei deiliaid —yn lluosogi ei thlodion—yn cynyddu ei throseddau—yn

llygru ei moesau—yn difa ei hiechyd, ac yn lladd ei thrigolion. Buaswn yn meddwl mai chwi fuasai y cyntaf rhai o bawb i ymosod arno, ac y buasech *chwi* â'ch holl egni yn cynnorthwyo pwy bynag fuasai yn codi yn erbyn y fath elyn.

Yn awr, nis gellwch wadu nad yw y gelyn yr wyf fi yn ymladd ag ef, yn difa cynnaliaeth trigolion eich gwlad, yn cynnyrchu afiechyd, ac yn parotoi ffyrdd i glefydau heintus a dinystriol i gyniwair ynddi, yn llygru ei moesau, yn lluosogi troseddwyr, yn llenwi eich carchardai, eich elusendai, eich ysbyttai, a'ch gwallgofdai, ac mewn canlyniad yn beichio eich deiliaid diwyd a gonest â threthi trymion a diangenrhaid. Ond eto, er hyn i gyd, nid wyf fi yn cael un pefnogaeth gan neb o honoch. Ni chaf ddyfod i mewn i'r Senedd, na dyweyd gair o gynghor wrth neb o honoch.

Os bydd un rhan o honoch weithiau (sef y Deddf-wneuthurwyr) yn *ffalsio* ychydig i mi, mae y rhan arall o honoch (sef y Deddf-weinyddwyr) yn sicr o'm bradychu.

Pe cawn i ond ychydig gefnogaeth genych, buan y dyddymwn haner y troseddau sydd yn eich gwlad, y diboblogwn eich carchardai, ac yr ysgafnhawn feichiau y rhai sydd yn dwyn traul y cyfryw leoedd, ac y gwnawn i gynnyrch eich gwlad faethu a chyfoethogi ei thrigolion yn lle eu gwenwyno a'u tlodi.

Yn awr, Mr. "Arweinydd," oni feddyliech mewn difrif fy mod yn cael cam? DIRWEST.

---

## CAMGYMERIAD Y GOLUDOG.

RHIFYDDWR drwg oedd y gwr goludog y sonir am dano yn Luc xii. 16. Dywed wrth ei enaid, "Y mae genyt dda lawer wedi ei roddi i gadw dros lawer o flynyddoedd," yn lle oriau. Yr oedd yn debyg i fasnachwr twyllodrus, yn ysgrifenu yn ei lyfrau bun'oedd yn lle sylltau. Yr un modd y mae llawer eto a amcanant fod yn fedrus mewn rhifyddiaeth blynyddoedd eu heinioes. Y maent yn ddiwyd

a phrysur mewn lluosogiaeth a chwanegiad (*multiplication and addition*), ac yn breuddwydio am flynyddau maith i ddyfod. Yn lle dysgu gwahan-dyniad (*substraction*), gan gofio fod pob awr, a mynyd yn tynu allan ac yn lleihau rhif eu blynyddoedd. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb."

*Ebensburg.h* ONESIMUS.

---

## PENNOD Y CRISTION.

1. DYLEM foddloni i'r bywyd a'n dwg yn foddlon i farw.

2. Rhaid fod calon dyn yn galed pan y deil yn gyfan yn swn dryllio Crist.

3. Nis gall yr hwn nad yw yn caru lles ei enaid ei hun, garu llesâd eraill.

4. Mae y Cristion yn dymuno cael ei arwain ar hyd canol llwybr barn, oblegid fod maglau y gelyn wrth yr ymylon.

5. Nid yw y Cristion yn wan ond pan y mae yn ymddiried yn ei nerth ei hun.

6. Yr hwn sydd yn adnabod ei hun fwyaf, sydd fwyaf gostyngedig.

7. Mae darllen llawer yn flinder i'r cnawd, ond y mae darllen ychydig yn flinder i'r diog.

8. Wrth ddarllen gair Duw, yr ydym yn darllen Duw ei hun.

9. Gwelwyd llawer un o dan ei archollion o ddiffyg cymeryd y Beibl yn arweinydd.

10. Mae gwadu gwirionedd y Beibl yn arwain i wadu y Bôd o Dduw.

11. Gwell arddel y Beibl er myned i garcharau, na'i wadu, a byw mewn palasau.

12. Y grîs cyntaf mewn crefydd ydyw edifeirwch, a'r uchaf yw gogoniant y nef.

13. Mae mor anhawdd byw yn dduwiol heb edifarhau, ag yw edifarhau heb fyw yn dduwiol.

14. Mae hadau gweithgarwch crefyddol yn tyfu mewn dagrau edifeiriol.

15. Mae llawer ffordd i ddystryw; ond un sydd i'r nef,

sef Crist—dyfeisio rhyw ffordd arall fydd gwneyd ffordd newydd i ddystryw.

16. Crefydd heb onestrwydd nid yw o werth dim, a gonestrwydd heb grefydd nid yw ddigonol i'n cadw i fywyd tragywyddol.

17. Arwydd fod crefydd yn adfeilio yr yr eglwys yw fod y ddysgyblaeth yn myned allan o *repairs*.

18. Pan welir y Cristion yn ddibrofedigaeth, y gwelir ef yn ddibechod; a phan yn ddibechod, dygir ef i'r nef.

19. Y ffordd oreu i wybod am nerth cariad brawdol yw ei arferyd, fe ddaw yn gryfach wrth *actio*.

20. Gall angeu ddiosg y corff o'i ardderchawgrwydd, ond nis gall ddiosg yr enaid o'i sancteiddrwydd.

21. Mae duwioldeb yn "Elw mawr," ond ni ddylem ei phroffesu er mwyn cyrhaedd elw bydol.

22. Fe ddywed yr apostol am rai wedi "Gwadu ei grym hi"—y mae pob peth arall yn rhy wan i'w cynnal.

23. Fe all y gelyn gwanaf orchfygu y Cristion cryfaf yn ei nerth ei hun; ond fe all y Cristion gwanaf orchfygu y gelyn cryfaf yn nerth Duw.

24. Mae dyn yn anrhydeddus pan yn ostyngedig, ond yn ddirmygedig pan yn falch.

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 70.]

TUA thriugain mlynedd yn ol cyfododd cynhwrf nid bychan yn nghylch egwyddor a elwir COELBREN Y BEIRDD, am yr hon yr haerai rhai mai ei llythyrenau hi oedd y rhai cyntaf a arferid gan y cyn-Frydeiniaid. Yr egwyddor hon a ymddangosodd mewn ffurf argraffedig yn Ngramadeg y Dr. O. Pugh, yr hwn a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1793, ac wedi hyny, mewn amrywiol lyfrau Saesonig a Chymreig. Ond nid hir wedi ei hymddangosiad y buwyd heb godi gwrthddadleuon yn ei herbyn, gan eu hystyried yn newyddbeth mewn llenyddiaeth Gymreig. Ond dywedir iddi gael ei chrybwyll yn ysgrifeniadau Llewelyn Sion o Langewydd, yn swydd Forganwg, yr hwn oedd fardd

enwog yn amser y frenines Elizabeth, a'r hwn a bennodwyd i'r gorchwyl o gynnull a chorffori elfenau sylfaenol Barddas Cymru, yn ol traddodiadau gorsedd Morganwg, ar yr hon yr oedd efe yn llywydd yn 1580.

Amryw o wrthwynebwyr egwyddor Coelbren y Beirdd a ddangosent duedd i'w thadogi ar yr hyglod fardd Iolo Morganwg, ond nis gwyddom pa fodd i gysoni y dybiaeth hon â'r ffaith fod Llewelyn Sion wedi marw yn mhell cyn geni Iolo. Nid oes dim yn anhygoel yn y dyb mai efe fu yn offerynol i'w dwyn i sylw mewn amseroedd diweddar; ond nid yw hyny yn profi mai efe oedd y dyfeisiwr. Mewn amddiffyniad iddo ei hun yn yr achos hwn, efe a ddywed yn un o'i lythyrau, "Ni fynwn er yr holl fyd, ddwyn yn mlaen ddim o'r fath yma ddim a roddai achos i'm rhestru gyda Galfrid gelwydd teg a'i blaid. Mi a welais bob un, neu yn agos y cwbl o lythyrenau Coelbren y Beirdd yn gymmysgedig â rhai Saxonaidd (hyny yw, cyn-Frydeinaidd), ar hen groesau a chof-feini eraill. Ac y mae Camden wedi rhoddi un nodedig, o swydd York, yr hon sydd ymron yn gwbl yn y llythyrenau hyny."

Dywedir mai yr egwyddor debycaf i Goelbren y Beirdd, y gwyddis yn awr am dani, yw yr *Etruscan;* ac ar y mater hwn y sylwa Iolo Morganwg fel y caniyn:—"Yn ddiweddar mi a welais y llythyrenau henafiaethol a elwir yr *Etruscan*, ac yr oeddent oll, oddigerth dwy neu dair, yn uniawn yr un fath a Choelbren y Beirdd. Yr Etrusciaid oeddent gyndrigolion yr Ital, pobl Geltaidd; a'u llythyrenau hwy oedd y rhai cyntaf a adnabyddid yn mysg y Rhufeiniaid. Eto, y mae yn beth tra nodedig, pan y darfu i'r Rhufeiniaid gyntaf oresgyn Prydain, yr oedd y llythyrenau hyny wedi myned mor anhysbys, fel y dywed un ysgrifenydd Rhufeinig, fod yn beth anhawdd cael dyn yn Rhufain a fedrai ddarllen y llythyrenau ar feddau y Scipios, na neb yn alluog i ddarllen y cerflythyrenau Etruscaidd hynaf. Wrth ystyried y peth-

au hyn, y mae yn rhaid penderfynu na ddygwyd y llythyrenau hyny i Frydain gan y Rhufeiniaid, llythyrenau y rhai pan y goresgynasant ni, oeddent yr un rhai ag yn bresenol. Y mae yn hysbys nad yw y llythyrenau Groeg presenol ddim yr un fath a rhai y Groegiaid gynt. Y llythyrenau Ewropaidd hynaf y gwyddis am danynt, ydyw yr eiddo y Pelasgiaid, yr Etrusciaid, y Runic, &c. A phan ddaeth y Rhufeiniaid gyntaf i Frydain, ac heb weled yma lyfrau wedi eu hysgrifenu ar femrwn, papyrus, neu y fath, yr oedd yn beth naturiol ddigon iddynt haeru mai cenedl anllythyrenog oedd y Prydeiniaid; ac eto, gallai fod ganddynt lyfrau wedi eu tori ar goed, yn null Coelbren y Beirdd, dull, na feddyliai dyeithriaid ddim am dano y rhawg, tra nad oedd ganddynt un dychymyg am y fath beth yn flaenorol."

Oddiwrth y cwbl a ddywedwyd uchod, gallwn gasglu y pethau canlynol:—

1. Fod y Prydeiniaid yn adnabyddus â llythyrenau cyn i Cæsar gyntaf ymweled â'r ynys. Pa fath lythyrenau oeddent, sydd anmhosibl ei benderfynu. Dywed yr Amherawdwr mai Groegaidd oeddent; ond gallasent fod yn rhai Pelasgiaidd, neu Etruscaidd, os oedd yr olaf wedi myned yn anhysbys i'r Rhufeiniaid.

2. Mai nid y Rhufeiniaid a ddysgodd y gelfyddyd o ysgritenu i'r hen Brydeiniaid. Gallasent ddwyn i'w plith yr arferiad o ddefnyddio papyr neu femrwn, yr hyn yn ddiau, oedd yn adnabyddus iddynt hwy yn flaenorol.

3. Fod y llythyrenau a arferir yn bresenol gan genedloedd Ewrop Ogleddol, megys y Cymry, y Saeson, y Ffrancod, yr Italiaid, yr Yspaeniaid, yr Isellmyn, &c., o wreiddyn Groeg Ionaidd, yr hon a roddes ddechreuad i'r Lladin Arcadaidd, yr hen Geltaidd, Gothaidd, &c., ac o'r Lladin eilwaith, y tarddodd y Lombardaidd, y Saxonaidd, y Visigothaidd, y rhai a roisant ddechreuad i'r llythyrenau Rhufeinaidd ac Italaidd sydd mewn arferiad yn bresenol.

## APPELIAD AT RESWM A FFYDD.

"Ai wrth dy feddwl di y byddai?"—Job.

DRUAN tlawd o Job, mae ei flinder yn trechu ei amynedd, mae yn achwyn—Sylwa ar ymddygiad Duw tuag ato, ac yn grwgnach ar oruchwyliaethau Rhagluniaeth. Pa mor aml, ïe yn rhy aml yr ydym ni yn grwgnach yr un peth. Yr ydym yn achwyn pan y dylem fod yn ddiolchgar, yr ydym yn melldithio pan ddylem fendithio. Yr ydym yn sylwi ar ffyrdd Duw pan ddylem gondemnio ein hunain, ac yr ydym yn beio Rhagluniaeth, pan ddylem orphwys ar yr addewidion.

Achwyn!! Pa fodd y medr pechadur achwyn pan y mae allan o uffern?

Grwgnach!! Pa fodd y medr Cristion rwgnach i'r hwn mae nefoedd wedi ei sicrhau?

Sylwa ar ymddygiadau Duw. Beth pan mae ei holl ffyrdd yn drugaredd a gwirionedd i'r cyfryw a gadwant ei gyfammod a'i dystiolaethau? Yn beio Rhagluniaeth! Am ba beth y dylem feio? o herwydd mae pob peth wedi ei sicrhau i gydweithio er ein daioni. Mae y fath ymddygiad yn anfoddloni Duw. Medr Duw ein cospi am y fath ymddygiad. Ond y mae wedi ymostwng i ymresymu â ni, mae yn appelio at ein rheswm, mae am i ni ddiwygio a gwella ein hunain, mae yn gofyn i ni trwy Elihu, Ai wrth dy ddymuniad y mae i fod? A ddylwn ymgysylltu a'th wendid? "Ai wrth dy feddwl di y byddai?"

Beth mae hyn yn olygu? Mae yn golygu ymddygiadau Duw atom yn bersonol. A ddylai yr Hollalluog ymgysylltu â ni pa fodd i weithredu? A ydym ni i gysylltu ag ef mewn perthynas i'r ffordd y'n harweinir gartref, neu y cyfryngau trwy ba rai y parotoir ni i fwynhau hyfrydwch ar ei ddeheulaw? Os ydyw yr Arglwydd yn addaw gwneyd daioni i ni, a ydyw ef i gysylltu â ni pa fodd i wneyd, neu trwy ba lwybr y cyflawna ei amcan?

Mae yn golygu hefyd ymddygiadau Duw tuag at eraill, tuag at ein cyfeillion, neu ein gelynion, ein perthynasau neu ddyeithriaid, yr eglwys neu y byd. Mae Duw yn llywodraethu y byd a phob person ynddo—yr eglwys a phob aelod o honi, dywed, "Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf!"

Iē pwy sydd ag haw! i'w amheu neu weled diffyg ynddo? Gyfaill, a ydwyt ti yn hawlio hyn? O ba le y cefaist hyn? Pa fodd y medri wneyd hyn? Gellir gwneyd pethau uwchlaw dy reswm, neu ddyrysu dy feddwl, tywyllu dy farn, a blino dy ysbryd, ond ai nid yw yn bosibl iddynt fod yn iawn o herwydd hyn? Ai nis medrant fod yn fwy doeth ac yn well o herwydd hyn? "Ai wrth dy feddwl di y byddai?"

Ond paham? A ydwyt yn fwy doeth na Duw? Mae ei ddoethineb yn anfeidrol. Efe yw yr unig ddoeth Dduw, ac y mae yn amlygu ei doethineb yn yr oll a wna neu a ganiateir ganddo i wneyd. A yw yn bosibl y gelli di ffurfio cynllun mwy doeth, neu wella cynllun Duw? A ydwyt yn fwy tosturiol na Duw? Mae ei drugaredd tuag at ddyn yn ddadguddiedig yn ei air, yn amlwg yn ei weithredoedd ac yn rasol yn ein hiachawdwriaeth trwy ei Fab. Mae ei drugaredd yn fawr uwchlaw ein hamgyffred, a'i dosturi uwchlaw desgrifiad. Yn fwy tosturiol na Duw!! Tydi yn fwy tosturiol na Duw? Ond os nad ydwyt, "Ai wrth dy feddwl di y byddai?" A ydwyt yn fwy sanctaidd na Duw? Mae Efe yn sanctaidd yn ei holl natur a'i holl weithredoedd, nid yw yn gwneyd dim ond yr hyn sydd gyfiawn ac yn bwriadu pob peth i achosi y daioni penaf. Os nad ydwyt yn fwy sanctaidd ac yn fwy cyfiawn na Duw, "Ai wrth dy feddwl di y byddai." A ydwyt yn fwy gwybodus na Duw? A ydwyt yn gwybod mwy am natur a thueddiadau ei greaduriaid nag ef? A elli di weled y diwedd o'r dechreuad, a phob peth yn cydweithio er cyflawni ei ddyben, wedi ei sefydlu trwy ei ddoethineb a'i ras yn well na Duw? Ynddo ef mae oll drysorau doethineb a gwybodaeth, mae Efe yn gwybod y cwbl, y presenol a'r dyfodol, yr hyn nas gelli di, mae dy feddwl di yn dywyll, cymysglyd, hunanol, ansefydlog ac anmhenderfynol. "Ai wrth dy feddwl di y byddai?"

Mewn trefn i lonyddu ein meddwl mewn trallod, i dawelu ein ysbryd mewn colledion a gwrthwynebiadau, cofiwn fod Duw yn gweithredu yn anfeidrol ddoeth; mae ei gynllun, yn ol yr hwn y mae yn llywodraethu y byd ac yn trefnu amgylchiadau personol yn berffaith ddoeth, nid oes modd ei wella, byddai ei gyfnewid yn ddrygedd. Beth bynag a wna Duw, bwriada ei wneyd; a beth bynag a fwriada Duw ei wneyd, mae yn anfeidrol ddoeth a da. Mae dybenion Duw yn gyfiawn a grasol, mae ganddo reswm dros yr hyn a wna er nad

yw yn ei amlygu, ac y mae dan rwymau i wneyd yr hyn a wna yn gyfiawn a grasol, mae'n gyfiawn tuag at bawb. Beth bynag a fwriada Duw wneyd mae yn deilwng o hono ei hun. Yr ydym ni yn aml yn gweithredu yn anheilwng, yn edifarhau ac yn teimlo cywilydd am yr hyn wnaethom, ond nid yw Duw yn gwneyd dim sydd yn anheilwng o'i natur a'i gymeriad. Nis gallwn weled hyn yn awr, o herwydd nid yw ei waith wedi ei gwblhau eto, nid yw ei gynllun wedi ei ddwyn i'r amlwg, ac hyd hyny bydd ei ogoniant yn guddiedig; ond dywed wrthym er ein cysur, "Yr hyn wyf yn wneyd yr awr hon, ti a gai wybod ar ol hyn." Y peth lleiaf allwn ni wneyd yw ymostwng iddo, dylem ymdrechu i wella a diwygio. Gwir fod llawer o bethau yn boenus i gig a gwaed, ac yn profi ein ffydd a'n hagwedd, ond rhoddwn le i Dduw egluro ei hun, ac fe wna y cwbl yn amlwg, yna cawn weled pa fodd yr yspeiliwyd ein hetifeddiaeth, gwedi gwasgaru oddiwrth ein gyfeillion, ein amddifadu o'n hiechyd, a'n erlid gan y byd. "Y dydd a'i ddengys," a chawn weled yr hyn a brofleswn ei gredu yn awr fod Duw yn rhy ddoeth i wneyd cam, ac yn rhy dda i fod yn angharedig. Dylem ddewis doethineb, ffordd a gwaith Duw o flaen ein eiddo ni; beth bynag a wna, mae yn cadw ein daioni ni a'i ogoniant ei hun mewn golwg; ac am hyny pan ydym ni yn anfoddlon i'w oruchwyliaeth, mae yn gofyn, "Ai wrth dy feddwl di y byddai?" Bechadur mae Duw wedi trefnu a dadguddio trefn iachawdwriaeth i dy gadw, ac os ymostyngi, efe a dy geidw yn ei ffordd ef yn unig y gwna hyn, yr hyn sydd yn gwbl o ras, nid yw dy weithredoedd di yn ddim, ni wna dy weddiau a'th ddagrau dy gadw, rhaid i ti credu yn Iesu Grist, hyn a'th geidw, mae dy galon hunanol yn codi yn erbyn hyn, a thithau yn codi gwrthddadleuon. Os gwnai felly, gofyniad Duw i ti yw, "Ai wrth dy feddwl di y byddai?" Pwy ddylai gael ufudd-dod? Crist ddylai gael ufudd-dod, mae Efe wedi trefnu llwybr trwy anfeidrol ddoethineb, mae wedi penderfynu cadw yn y llwybr hwnw, er i hyn gostio bywyd ei anwyl Fab, ac y mae yn abl i gadw y rhai a ddeuant ato trwyddo ef. A ydwyt yn dymuno cael dy gadw ganddo? Cael dy waredu rhag y digofaint sydd ar ddyfod? Cael teitl a'th barotoi i'r nefoedd? Os felly, mae Duw yn barod i'th waredu, ac fe ddywed wrthyt y foment hon, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi."

*Pomeroy.* *Cyf. gan* L. JENKINS.

## GWAITH CATWG DDOETH,

### YR HWN OEDD ABAD LLANCARFAN, YN MORGANWG, YN AMSER Y BRENIN ARTHUR.

A FYNO gynghor, gofyned i'r doethaf.
A fedro ganmol, canmoled y penaf.
A eirch olud erched i'r cyfoethocaf.
A eirch iechyd, arched i'r meddyg mwyaf,
A gais a f'o da, gofyned i'r haelaf.
A gais nodded, gofyned i'r cadarnaf.
A gais drugaredd, arched i'r mawr trugaraf.
A gyfarcho, cyfarched i Dduw yn benaf.

### CARGYFLWYN CATWG DDOETH.

Y daith ni fydd pellach er gwrandaw oferon.
Nid prinach fydd heiniar er rhoddi elusen.
Nid llanwach yr enaid er trallenwi rhumen.
Nid casach gan Ddofydd yr ynfyd na'r cymhen.
Ni ŵyr perchen enaid pa beth fydd ei ddien.
Nid clodfawr y gardod o'i rhoddi yn aflawen.
Nid gwala gan gybydd meddianau y ddaiaren.
Nid isel ond balch, pe b'ai gyfuwch a'r haulwen.
Nid caredig ond gwar, nid gwybodus ond hylen.
Nid gwynfyd ond heddwch, nid gwledd ond gorawen.
Nid doeth pob areithgar, nid ffol anghymhen.
Nid trist pob galarus, nid dyddan pob llawen.
Nid edrych yr angeu pwy decaf ei dalcen.
Nid caredig gan Dduw un a ddalio genfigen.
Nid hygar gan Grist na f'o drugar wrth angen.
Nid cymhwys i'r nef na f'o trech ar ei gordden.
Nid call arwain awydd at unpeth anmherchen.
Nid cellwair â dim a f'o cynglyn ag asgen.
Nid ffolineb ond cred ar a ellir yn amgen.
Nid doeth gwerthu nefoedd er benthyg eluydden.
O gadw dy air y cedwi dy wyneb.
O gadw dy air y cedwi ddoethineb.
O gadw dy ddwrn ti gedwi dy dda.
O chedwi dy glod, cadw heddwch a'i gwna.
O gadw y dydd ti a gedwi dy ddawn.
O gadw'th gydwybod ti a gedwi bob iawn.

## PEDAIR GWERS ANHAWDD EU DYSGU.

BYDDAI y diweddar Barch. D. Rowlands, Llangeitho, yn arfer dywedyd yn ei ddyddiau olaf, fod ganddo bedair gwers y rhai y buasai ar hyd ei fywyd crefyddol yn ceisio eu dysgu, er hyny nad oedd ond ysgolhaig dwl iawn ynddynt yn ei henaint; sef dysgu yn

1. Edifarhau, ac heb anobeithio.
2. Credu, ac heb ryfygu.
3. Llawenhau, ac heb fyned i ysgafnder.
4. Digio, ac heb bechu.

## DETHOLION.

Gwerthfawrowgrwydd yr Ysgrythyrau.—Pe byddai genyf dafod angelion, nid allaswn yn iawn osod allan ardderchawgrwydd yr Ysgrythyrau.—*Watson*

Ni bydd y siaradwr mawr byth heb elynion; y synwyrol a siarada ychydig, ac a wrandawa lawer.

Y dyn hwyrdrymaf i addaw, yw y sicraf o gadw ei addewid.

Holl gysur y Cristion a orwedd mewn môr o waed.

Nid oes un pechod, po mor ddu bynag, nad oes digon o ras yn Nuw i'w faddeu.

Mae perffeithrwydd natur Duw wedi ei argraffu ar ei holl addewidion.

Y neb a fyn ddyfod at Dduw, rhaid iddo gredu; a'r hwn sydd yn gwirioneddol gredu a ddaw at Dduw.

Colli Amser.—Gymaint sydd o ddynion yn y byd yn treulio boreu y diwrnod mewn segurdod i ddysgwyl am y prydnawn, ac yn treulio y prydnawn am fod y boreu wedi myned heibio.

Ni chlywais ond am ddau le *safe* iawn erioed, sef y nefoedd a'r llwch, ac o'r ddau, braidd na ddywedwn nad y llwch yw y mwyaf *safe*. Clywais am rai wedi syrthio o'r nefoedd, ond ni chlywais am neb a syrthiodd o'r llwch erioed.—*Parch. Morgan Howells.*

## AMSER.

AMSER yw yr adeg, neu y cyfwng rhwng dau dragywyddoldeb. Nid yw amser, a'i gymeryd yn y cyfanswm o hono, ond rhyw gyfwng byr iawn wrth ei gydmaru â thragywyddoldeb; ond pan edrychom ar amser yn ei gysylltiad â'i ansicrwydd, o'r braidd na ddiflana i ddyddymdra. Mae amser o ran ei werth yn anmhrisiadwy. O'i benarglwyddiaeth y mae Duw yn rhoddi amser i ddyn—rhydd i un ychydig, ac i arall lawer, yn berffaith o'i rydd-ewyllys, a chanddo hawl i alw ei rodd yn ol pan y myno. Nid oes gan ddyn ond yr amser presenol yn unig yn ei feddiant, nac ychwaith mewn addewid. Mae y gorphenol wedi dianc oddiarnom am byth; mae y dyfodol yn ei ddilyn mor agos, fel mai yn brin y caiff y presenol adeg i ddadgan ei fodolaeth. Gall dyn ddywedyd iddo gael yr amser gorphenol—prin y gall ddywedyd ei fod yn meddu y presenol, na bydd ansicrwydd y dyfodol yn ei gipio oddiarno.

Yr adeg y mae Duw yn ei roddi i ddyn ydyw amser i ymbarotoi erbyn tragywyddoldeb. Mae yr argraffiadau a adawa amser ar ddyn yn annileadwy byth. Y neb a ennillodd ewyllys da a heddwch Duw mewn amser, a'i ceidw yn ei feddiant wedi i amser ddarfod; a'r neb a dynodd arno ei hun ŵg a soriant Duw mewn amser, a erys dan ei ddigofaint byth. Mae holl ymddygiadau dyn mewn amser—mewn meddwl, gair neu weithred, yn gadael argraffiadau na ddyddyma tragywyddoldeb byth mo honynt. Ni ddylai dyn ystyried yr amser mae'n fwynhau yn eiddo iddo ei hun; eiddo Duw yw ein hamser, ac yr ydym yn gyfrifol iddo ef pa ddefnydd ydym yn ei wneyd o bob mynyd o'n hamser. Dylai fod ynom hunan-ymholiad wrth dreulio pob mynyd o'n hamser, "A ydwyf yn treulio y mynyd hwn, neu yr adeg hon yn ol ewyllys Duw?" Mae amser yn rhy werthfawr i'w

dreulio mewn oferedd, diogi a segurdod. Mae canlyniadau rhy bwysig i'w dreulio mewn pechu a sathru deddfau Duw dan draed. Mae yr iachawdwriaeth a gynnygir i'r neb a'i dibrisio mewn amser yn rhy werthfawr i'w hesgeuluso er mwyn difyrwch cnawdol. Mae cael mwyniant pechod dros amser yn rhy fychan o dâl am ddyoddef poenau uffern am dragywyddoldeb. Nis dichon dyn fwynhau digon o lawenydd cnawdol mewn amser i wneyd i fyny y golled o fod heb nefoedd dros byth.

Mae gwastraffu amser yn arwydd o ffolineb a diffyg synwyr; ond y mae prynu amser yn arwydd o ras a gwir ddoethineb. Pan y mae Duw yn rhoddi amser i ddyn edifarhau, y mae yn arwydd o ynfydrwydd, ïe o wallgofrwydd fod dyn yn defnyddio yr amser hwnw i ychwanegu pechod at bechod. Pe buasai canlyniadau amser yn terfynu mewn amser, ni buasai o gymaint pwys pa fodd y treuliem ein hamser; ond gan fod canlyniadau amser o barhad tragywyddol, y mae o bwys anfeidrol pa ddefnydd a wnawn o'n hamser.

Mewn trefn i dreulio ein hamser yn fuddiol—

1. Dylai fod genym ryw orchwyl wrth law yn barhaus, rhag ein bod yn treulio ein hamser mewn oferedd o eisiau gwaith i'w wneuthur.

2. Dylem fod yn ymroddgar ac egniol gyda phob gorchwyl. "Pa beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni."

3. Dylem wneuthur pob gorchwyl yn ei amser priodol. "Mae amser i bob peth, ac amser i bob amcan dan haul." Mae llawer o amser yn cael ei ddefnyddio trwy fod yn anamserol gyda gwahanol orchwylion. Ni ddylem esgeuluso hyd y fory yr hyn allem ei wneuthur heddyw.

4. Dylem fod yn ofalus am fod ein holl weithrediadau yn fuddiol—yn gyfryw ag a fyddo yn ol ewyllys Duw, ac er gogoniant i'w enw; yn gyfryw ag a fyddo yn adeiladaeth i

ni ein hunain, ac i eraill—yn gyfryw ag a orweddo yn dawel ar ein cydwybodau, fel na byddont yn creu euogrwydd yn ein mynwes.

5. Dylem oddiar ystyriaeth o bwysigrwyddd a gwerth ein hamser, ymofyn pa ddyledswyddau sydd yn fwyaf pwysig, ac ymaflyd yn y rhai hyny gyda'r brys mwyaf, a'r ymdrech mwyaf egniol. Mae gan ddyn ddyledswyddau fel deiliad amser i ragddarbod dros y corff, ac y mae ganddo ddyledswyddau fel deiliad byd ysbrydol i ragddarbod dros ei enaid —mae y naill yn dal cysylltiad â'i ddedwyddwch amserol, a'r llall â'i ddedwyddwch tragywyddol—mae ansicrwyd yn gysylltiedig â'r naill, a sicrwydd yn gysylltiedig â'r llall. Am hyny, os na allwn gyflawni pob gwaith allwn farnu yn briod ol a buddiol, gwnawn y pethau pwysicaf, a'r pethau y mae canlyniadau niweidiol o'u hesgeuluso yn sicr ac anocheladwy. "Gan brynu yr amser oblegid y dyddiau sydd ddrwg."

M. J. M.

---

## PREN Y BYWYD.

DAT. xxii. 2. "A dail y pren oedd i iachau y cenedloedd."

MAE llawer o son am "bren y bywyd," mewn amrywiol fanau trwy yr Ysgrythyrau. Mae Ioan yn y fan yma wedi cael golwg arno, yn debyg nid yn unig yn mhlith hâd Jacob, ond hefyd yn mhlith y cenedloedd. Ac yr oeddent i dderbyn iachawdwriaeth a chael iachad oddiwrth yr hen bla pechod, trwy rinwedd ei ddail.

Cafodd yr Iuddewon y fraint fawr o weled Pren y Bywyd, a'i ffrwyth, sef ein Harglwydd Iesu Grist yn nghyd a'i weithredoedd mawrion nerthol â llygaid naturiol. Ond ni chafodd y cenedloedd mor fr hono. Ond er hyn oll mae iddynt addewid am feddyginaeth trwy yr un pren.

Mae yn debyg nad oedd yn ol y drefn fawr i Grist ym-

ddangos yn ei ddynoliaeth i'r cenedloedd yn gyffredinol, canys y mae yn dywedyd "Ni'm danfonwyd ond at ddefaid colledig tŷ Israel;" hyny yw, nid i rodio yn eu plith yn nyddiau ei gnawd. Mae yn dywedyd drachefn, "Defaid eraill sydd genyf, y rhai nid ydynt o'r gorlan hon: y rhai hyny sydd yn rhaid i mi eu cyrchu." Ac er na chafodd y cenedloedd y fraint o'i weled yn nyddiau ei ddynoliaeth. Er hyn oll efe a drefnodd ffordd fywiol a da i'w cael adref i'r gorlan fawr, hyny ydyw, y rhai a gredant yn ei enw ef, a'r ffordd hono yw trwy ffydd.

Os cawn ni byth olwg ar Bren y Bywyd, a phrofi ei ffrwyth, bydd yn rhaid i ni gael hyny trwy ffydd. Trwy chwilio yn yn mysg y dail. Mae pren y bywyd i ni yn debyg i bren y *Mango* yr hwn sydd yn tyfu yn ngweledydd poethion y dehau, yr hwn mae ei ffrwyth yn tyfu oddi tàn y brigau, a'r dail yn tyfu drostynt i'w gadw rhag poethder yr haul, ac mae yn rhaid chwilio yn fanwl yn mysg y dail i gael hyd i'r ffrwythau.

Felly os ydym ninau y cenedloedd am gael gafael ar ffrwythau pren y bywyd, mae yn rhaid i ni chwilio yn fanwl am danynt yn mysg y dail, sef yn mysg dalenau y Beibl, dyma y dail sydd genym ni, ae mae yn ddiddadl mai dyma y dail yr oedd Ioan yn ei feddwl, gair Duw, yr Ysgrythyrau sanctaidd, canys trwy chwilio yr Ysgrythyrau yr ydym yn meddwl cael bywyd tragywyddol.

Wel, fy hoff gyfeillion *ieuainc*, byddwn ddyfal i chwilio yn mysg y dail, sef dalenau y Beibl, ac na byddwn segur, canys mae ffrwyth yn sicr o fod yno yn eu mysg, a Duw o'i drugaredd a'i ras, a roddo i ni afael ar y ffrwythau cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar arnom, a drws y winllan gael ei gau.

WILL O FÔN.

---

Os huna ffydd, fe ddeffry pechod, os ymgynhyrfa ffydd pechod a ffy.

## GOSTYNGEIDDRWYDD.

Y MAE bod dyn yn feddianol ar ysbryd isel a gostyngedig, yn cael ei ystyried yn beth anrhydeddus iawn, ac y mae yn addurno ei holi gyfansoddiad, ac yn harddu ei gymeriad. Y mae yn un o'r perlau mwyaf dysglaer a gogoneddus a allwn ei gael yn ein bywyd, bod yn feddianol a'r ysbryd difalch. Gostyngeiddrwydd yw prif addurn y Cristion,ac y mae yn un o'r prif golofnau sydd yn dal i fyny ei gymeriad ef, ac y mae ei ddull syml a gonest, a'i olwg dirodres yn egluro ei fod yn feddianol ar ysbryd addfwyn a gostyngedig.

Hefyd, yr ydym yn cael yn y Beibl, fod Duw yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig o galon, i'r rhai hyny a gydnabyddant eu hunain yn rhai isel a gwael. Y mae Duw wedi addaw rhoddi gras i'r rhai tlodion yn yr ysbryd, ac wedi ymdrwsio oddifewn â gostyngeiddrwydd. Hwynt-hwy yw y rhai sydd wedi eu dwyn i undeb â Christ, ac wedi eu hennill i ffafr a chymeradwyaeth Duw.

Hefyd, ar dir gostyngeiddrwydd mae y Cristion yn rhoddi y cam cyntaf o'i yrfa grefyddol, oblegid y mae edifeirwch yn gymysgedig mewn gwir ymostyngiad i ewyllys a threfn yr Arglwydd. Anmhosibl i ni ryngu ei fodd heb fod yn meddu ar ymostyngiad, ac i gyfaddef ein hunain yn rhai gwael, megys Job. "Minau wyf wael, beth a dalaf i ti?"

Taith o ymostyngiad oedd taith ein Blaenor mawr i ddyfod i lawr o'r nefoedd i bentref gwael Bethlehem, ac o Bethlehem i ben Calfaria. Ysgol i ddysgu gostyngeiddrwydd yw ysgol Iesu Grist. Gan hyny, anwyl enaid, cofia fod yn rhaid i ti ymostwng cyn y byddi yn addas i ddyfod dan iau Crist, oblegid porth o ymostyngiad yw y porth sydd yn arwain i'r bywyd, ac y mae yn rhaid i ti ymostwng cyn y gelli fyned i mewn trwy y porth hwn. Cofia mai y dyffryn yw

y lle mwyaf ffrwythlawn. Nid ar yr uchel-fanau y rhaid i ti deithio; ond rhaid i ti deithio trwy ddyffryn darostyngiad cyn y deui i wybodaeth ac adnabyddiaeth o Fab Duw, oblegid yr ydym yn cael yn y Beibl, mai ar y rhai llariaidd a gostyngedig y mae Duw yn edrych—hwynt-hwy yw y rhai sydd yn ymëangu mewn gwybodaeth grefyddol, a'u heneidiau yn cael eu gwneyd yn fras. Gan hyny, anwyl ieuenctyd, bydded i chwi ystyried, os ydych am ymëangu eich hunain mewn cylch o ddefnyddioldeb, ac i ddal eich ysgwyddau yn dŷn dan arch Duw, ac i ddadguddio cyfoeth ei ras ef i'r byd pechadurus, fod yn ofynol cael gostyngeiddrwydd yn blanedig yn y galon.

Y mae y gostyngedig yn foneddigaidd, yn hawdd ei drin, yn llawn o ffrwythau da, ac y mae gostyngeiddrwydd yn anrhydedd i'w pherchenog, ac yn ei arwain i dderchafiad. Gan hyny, os byddwn am ennill ffafr a chymeradwyaeth Duw, ymostyngwn yn isel wrth ei draed, ac y mae yn ddiamheu mai y cyfryw sydd yn rhyngu ei fodd ef. "Er bod yr Arglwydd yn uchel, eto, efe a edrych ar yr isel." Hefyd, y mae yr Arglwydd yn ffieiddio y balch o hirbell, ac yn casâu ei feddyliau ffroen-uchel; oblegid "Nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef." Gan hyny, ddarllenydd hynaws, ystyria bob amser mai rhodd werthfawr yw gostyngeiddrwydd, oblegid mewn anrhydedd y bydd gostyngeiddrwydd. "Derchafa di hi, a hithau a'th dderchafa dithau, ac a'th ddwg di i anrhydedd, os cofleidi hi."

*Crab Creek.* THOMAS HOWELL.

---

## CYFARWYDDIADAU PA FODD I YMDDWYN YN ADDAS AT FODDION GRAS.

1. COFIWCH gychwyn yn brydlon oddi cartref, fel y galloch fod yn yr addoldŷ erbyn amser dechreu; byddai

yn dda pe byddai pawb yn eu lle ddau neu dri mynyd cyn i'r addoliad ddechreu.

2. Os dygwydd i chwi fyned at y capel haner awr yn rhy fuan, na fydded i chwi sefyll allan gydag ynfydion (ynfydion y cyfrifir y rhai sydd yn gwneyd arferiad o ddyfod at y capel i siarad am bethau ofer cyn dechreu y moddion) i gymeryd rhan yn eu hymddyddanion ofer.

3. Os ewch i'r tŷ capel cyn dechreu y moddion, gofelwch am fyned oddi yno mewn amser i'r addoliad. Y mae rhai brodyr a chwiorydd crefyddol yn cael gwell blas ar ystori yn tŷ y capel nag ar y bennod a ddarllenir yn nechreu y moddion. Y mae rhai blaenoriaid hefyd yn dueddol i aros yn tŷ y capel am chwarter awr, mwy neu lai, wedi i'r amser dechreu fyned heibio, ac fe allai y gynnulleidfa fawr yn y capel yn dysgwyl wrthynt. Ni ddylai y pethau hyn fod.

4. Cofiwch chwi y meibion dynu eich hetiau yn nrws y capel; peth anweddaidd a phrawf o ddylni mawr ydyw gweled dyn yn myned ar hyd llawr y capel i'w eisteddle a'i het am ei ben.

5. Os bydd yr addoliad wedi dechreu cyn i chwi ddyfod iddo, gofelwch am agor y drws a'i gau drachefn mor ddystaw ac y byddo modd, ac na wnewch drwst a'ch traed wrth gerdded, ond ewch i'ch lle heb i neb eich gweled na'ch clywed os gellwch.

6. Bydded eich ymddygiadau yn weddus yn y moddion. Os canu fydd y gwaith, cyfodwch ar eich traed; os gweddio fydd y gorchwyl, bydded eich agwedd yn ymostyngol; os pregethu fydd y gwaith, eisteddwch yn syth, gan edrych yn ddyfal ar y pregethwr, heb edrych yn wamal o'ch amgylch, na rhoddi eich penau i lawr i gysgu.

7. Peidiwch a symud o'ch lle hyd oni fyddo yr addoliad wedi cwbl fyned trosodd. Peth tra gwrthun ydyw myned allan cyn diwedd canu, fel yr arfera llawer yn ein cynulleidfaoedd gwledig.

8. Ymddyddanwch am bethau crefyddol wrth fyned o foddion gras, yn lle brysio i siarad am wisgoedd eich cymydogion, &c. A. B.

## ADDOLI YN YR YSBRYD.

IOAN iv. 24. "Rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn ysbryd a gwirionedd."

RHYW hen ŵr tlawd, a adroddai iddo pan yn blentyn tair blwydd oed, gael ei ddysgu gan ei fam i adrodd gweddi bob nos, yr hyn a wnaeth nes oedd yn dra hen: eto yr oedd yn dra balch yn dyweyd nad oedd wedi methu dyweyd ei weddiau am driugain a deg o flynyddau. Yn yr oed yma rhyngodd bodd i Dduw anfon arno dristwch mawr, a rhoddi iddo yr Ysbryd Glân i ddysgu ei galon, ac i ddangos iddo mai un peth oedd adrodd gweddiau â'r gwefusau, a pheth arall yw eu dyweyd o'r galon. Yna efe a gynyddodd yn dra gostyngedig, ac a ddywedai yn aml rhyngddo ag ef ei hun, "Myfi ydyw yr hen ddyn a ddywedai ei weddiau am driugain a deg o flynyddau, ac eto heb weddio dim oll yn ystod yr holl amser hwnw."

Yn mha le mae calon fy narllenydd ieuanc, pan fydd yn adrodd ei weddiau? A ydyw yn meddwl am Dduw, ac yn dymuno am y pethau goreu hyn, sef maddeuant pechodau, dawn yr Ysbryd Glân, a lle o flaen gorsedd Duw yn y nef? Neu a ydych yn meddwl am eich chwareu, neu am eich gwersi yn yr ysgol? Oni bydd eich calonau yn gweddio, nid ydych byth yn gweddio; ac os bydd, yna yr ydych yn caru gweddio, ac yn dyweyd wrth feddwl, fod Duw yn eich gwrando.

Fel yr oedd geneth fechan oddeutu pedair blwydd oed (yr hon oedd yn byw yn Llundain), yn chwareu gyda'i chwmpeini bychain, gan eu cymeryd gerfydd eu dwylaw, hi a'u harweiniodd hwynt ar eu gliniau, "Canys yr ydwyf yn myned i weddio ar yr Hollalluog," meddai hi.

Er mwyn i chwi wneyd hyn yn iawn, y mae yn rhaid i chwi deimlo eich angen am y pethau y byddoch yn gofyn am danynt, ac y mae yn rhaid i chwi eu dymuno yn fawr.

Y mae rhai yn gwybod can lleied am Dduw, ac am eu calonau eu hunain, fel na fedrant ddyweyd beth sydd arnynt eisiau gan Dduw Ond, darllened y cyfryw ychwaneg ar y Beibl.

> Y Beibl dd'wed pa beth wnaeth Crist,
> I'n hachub ni o uffern drist;
> Pa lyfr sy'n d'weyd o lyfrau'r byd,
> Fath nefol ryfeddodau 'gyd.

Yr eiddoch,

*Bothelle, Wis.* EDWIN ROBERTS.

---

## TRIOEDD.

TRI pheth a geir o godi yn foreu; iechyd, cyfoeth, a sancteiddrwydd.

Tri pheth a gaiff y cysgadur; cywilydd, afiechyd, ac adfyd.

Tri pheth a gaiff y cywir; dawn, parch, a ffyniant.

Tri pheth a gaiff y trugarog; dawn, cariad, a thrugaredd Duw.

Tri gelyn enaid; y byd, y cnawd, a'r cythraul.

Tri pheth a geir o hir ddilyn drwg; newyn, carchar, ac uffern.

Tri pheth a ddylid eu hystyr gan bob dyn; o ba le y daeth, yn mha le y mae, ac i ba le yr â.

Tri pheth a ysbeiliant lle delont; dwfr, tân, a melldith Duw.

Tri chwerthin ffol; am ben y da, am ben y drwg, ac am ben nasgŵyr beth.

Tri pheth sydd yn arwyddocâu fod dyn yn gadwedig; casâu pob drwg, caru pob daioni, ac ymgais â Duw ar weddiau.

Tri pheth a ennill cariad Duw; ffydd lân, gobaith cryf, a chariad perffaith.

Tri meddyg enaid; ympryd, gweddi, a chariad.

Tri pheth a ddysg dyn o fod yn segur; meddwl drwg, dywedyd drwg, a gwneuthur drwg.

Tri pheth anhawdd i wir Gristion eu gwneuthur; caru drwg, balchio yn ei dda, ac esgeuluso ei ddyled i Dduw a dyn.

Tri chas gan Dduw a chan ddyn; celwyddwr, cynnenwr, a chybydd.

Tri pheth a gaiff dyn mewn tafarn; difyrwch a'i gwna yn dlawd, difyrwch a'i gwna yn bechadur, a llawenydd a'i gwna yn drist.

---

## GRAMADEG.

### RHIF III.

### SWYDD NEU NATUR LLYTHYRENAU.

[*Parhad o du dal.* 83.]

DOSBERTHIR seiniau i ddau ryw; nid amgen *llafar* ac *aflafar*, neu *arwyddocaol* ac *anarwyddocaol.* O seiniau arwyddocâol y mae eto ddau fath; sef *syml* a *chyfansawdd*; ac mewn iaith ysgrifenedig, geiriau sydd yn cynnrychioli seiniau cyfansawdd, a llythyrenau rai syml. Gellid tybied fod rhai llythyrenau, yn enwedig y cydseiniaid, yn arwyddion o seiniau cyfansawdd, canys pa fodd y gellir seinio y llythyrenau *b*, *ch*, neu *ll*, heb fod mwy nag un sain yn glywadwy? Od oes neb yn cael ei ddaeddu i wneuthur y gwrtheb yna, gadewch i ni hysbysu iddo, mai yr achos o'i gamsynied—yr ydym yn rhyfygu tybied mai camsynied y mae—ydyw diffyg gwahaniaethu rhwng *enw* y llythyren a'r llythyren ei *hun*. Y mae *enw* amryw lythyrenau yn cynnwys sain cyfansawdd, ond nid yw y llythyren ei hun felly mewn gair—yn y gair "tad," y mae sain y *t* a'r *d* mor syml a'r eiddo yr *a*.

Y modd y ffurfid iaith ysgrifenedig, oedd, dadansoddi neu ddosbarthu seiniau cyfansawdd i'w helfenau syml, a gosod arwyddion i'r elfenau hyny; a'r cyfryw arwyddion a elwir llythyrenau. Y gwahaniaeth rhwng gair a llythyren yw hyn:—y mae gair yn arwydd o *feddylrith*, a llythyren

o *sain syml.* Gwir yw fod seiniau syml weithiau yn arwyddion o feddylddrithau; ond nid ydynt y pryd hyny i'w hystyried fel llythyrenau ond fel geiriau. Nid yw llythyrenau, gan hyny, ddim mwy na llai, nag arwyddion seiniau syml, sef elfenau yr iaith.

Bu llawer o ysgolheigion Cymreig yn myntumio y dyb, fod ystyr i bob llythyren yn yr Egwyddor Gymreig, sef yw hyny, fod pob llythyren yn arwydd o ryw feddylrith neu syniad yn y meddwl; neu, mewn geiriau eraill, fod pob llythyren yn air; oblegid os yw pob llythyren yn meddu ystyr pennodol a gwahanredol, beth arall ydyw ond gair?

1. "Os nad oes ystyr i lythyrenau, atolwg, pa fodd y gall fod ystyr i'r geiriau a gyfansoddir o honynt?" Dyna fel y dywed y diweddar a'r clodus J. W. Thomas (*Arfonwyson*), a dyna yr unig reswm a glywais erioed dros fod ystyr i bob llythyren; a'r rheswm hwn, wedi newid ychydig ar ei wisg nid yw amgen na hyn:—*Pa fodd y gall* geiriau fod yn eiriau, os nad geiriau yw y llythyrenau o'r sawl y cyfansoddir hwynt? Nid ydys yn gwadu fod ystyr i rai llythyrenau; megys, E â ê i, (*he goes into*); ond yna y maent i'w hystyried nid fel llythyrenau yn unig, ond fel geiriau.

2. Ar y dybiaeth fod arwyddocâd i bob llythyren, ni's gall ai geiriau fod yn amlystyr. Gwyddis fod geiriau, ym mhob iaith, yn cael eu harfer mewn mwy nag un ystyr: megys ystyr llythyrenol ac ystyr ffugyrol; ystyr cyffredinol ac ystyr neillduol, &c. Clywsom am ben *dyn*, pen *mynydd*, [illegible] a phen *y ffordd*; am *garn* twca, *carn* ceffyl, [illegible], &c. Yn awr, carem gael gwybod, od oes neb a ddichon roddi gwybodaeth o'r fath ddirgelwch, beth yw ystyr ffugyrol [illegible] [illegible], yn y gair *pen*: a pha beth yw eu hystyr lythyrenol hefyd? Oblegid "Os nad oes ystyr *ffugyrol* i'r llythyrenau, atolwg pa fodd y gall fod ystyr *ffugyrol* i'r geiriau a gyfansoddir o honynt?"

3. Nis gall fod ystyr i bob llythyren, pe amgen, nis gallai gair cyfansoddedig o amryw lythyrenau byth arwyddocâu neu ddynodi meddylrith cyfarddun neu syml (*simple idea*). Yr wyf yn tybied y caniateir mai meddylrithau cyfarddun yw y rhai a gynnrychiolir gan y geiriau *gwyn*, *du*, estyniad (*extension*), parhad (*duration*), ac eraill; ond os oes ystyr i bob llythyren, rhaid fod pob llythyren yn arwydd o ryw feddylrith; ac, am hyny, rhaid fod *g*, *w*, *y*, *n*, yn cynnwys, o'r hyn lleiaf, bedwar o feddylrithau syml, yr hyn sydd anmhosibl os *simple idea* yw *gwyn*.

4. Os oes ystyr i bob llythyren yn yr Egwyddor Gymreig, atolwg, pa gyfrif a ellir ei roddi am y ffaith fod yr un llythyrenau yn meddu cynnifer o dreigliadau? Treiglir *p* i *b*, *ph*, i *mh*, megys *pen*, ei *ben*, ei *phen*, fy *mhen*. Yn awr gofynwn, os oes ystyr gwahanredol i bob llythyren, pa fodd y gall *pen*, *ben*, *phen* *mhen*, arwyddocâu yr un syniad, neu ddynodi yr un a'r unrhyw ran o'r corff.

5. Y mae ymresymiad Arfonwyson yn un mor gymhwysiadol at ieithoedd eraill, ag ydyw at y Gymraeg. Pan y dywed, "Atolwg, os nad oes ystyr i bob llythyren, pa fodd y cysgwyliant ystyr i'r geiriau a gyfansoddasant?" Nid ydym yn canfod dim ag sydd yn cynnwys rheswm dros i ni dybied ei fod yn cyfyngu ei ymresymiad at y Gymraeg, a hyny can belled ag i gau allan bob iaith arall; oblegid nid oes dim yn ei ymresymiad yn cyfodi oddiar beth sydd yn perthyn yn neillduol i'r iaith Gymraeg. Yr unig reswm a roddir yw, bod ystyr i bob llythyren, o herwydd bod ystyr i'r geiriau a gyfansoddir o lythyrenau. O lythyrenau y cyfansoddir geiriau yn mhob iaith, ac felly, gellir cymhwyso yr ymresymiad at Saesoneg, y Groeg, a'r Hebraeg, yn gystal a'r Cymraeg. Ond pe buasai wedi cyfyngu ei ddamcaniaeth i'r Egwyddor Gymreig yn unig, ac heb brofi paham y mae y neillduolrwydd hwnw yn perthynu iddi hi rhagor rhyw iaith arall, buasem yn dilyn ei osodaeth i'w chanlyniadau angen-

rheidiol; eithr yn gymmaint ag nas gwnaeth, ni a gymhwyswn ei ymresymiad at ieithoedd eraill. Gŵyr pawb bod ystyr i eiriau a gyfansoddir o lythyrenau yn mhob rhyw iaith; ac os yw y ddamcaniaeth mewn dadl yn gywir, gallem ofyn, "Atolwg, os nad oes ystyr i *m*, *a*, *n*, pa fodd y gall fod ystyr i *man* a gyfansoddir o honynt? Os nad oes ystyr i *h*, *o*, *m*, *o*, pa fodd y mae ystyr i *homo?* Ac os nad oes ystyr i *a*, *n*, *th*, *r*, *o*, *p*, *o*, *s*, pa fodd y gall fod ystyr i *anthropos*, a gyfansoddir o honynt? Yr ydym yn meddwl bod llawn cymaint o reswm a phriodoldeb yn y gofyniad pan ei cymhwysir at engraifftiau neillduol, ag sydd pan ei dodir i lawr fel egwyddor gyffredinol.

6. Nid ydym, pa fodd bynag, yn dewis cymeryd mantais ar un frawddeg fel yr un uchod, yr hon, mae yn bosibl, a ysgrifenwyd heb ragolygu y gwrthddadleuon a allesid eu dwyn yn ei herbyn, pan y gallasai yr awdwr, pe dewisasai, ddwyn rhesymau eraill cadarnach na'r un uchod o'i phlaid. Na, nid ein dyben yw dadleu er mwyn dadleu, ond er mwyn cael allan y gwirionedd. Pe baem yn gwybod, gan hyny, am ryw reswm arall, byddem yn llawen o'i gael, a chaffai, yr ydym yn sicr, y sylw a'r ystyriaeth a deilyngai. "Eithr, onid oes rhywbeth," meddai gwrthwynebydd, "yn sain *ll* mewn *lli*, *llifo*, *pistyllio*, &c., yn debyg i'r gwrthddrychau a ddynodant? Ac onid yw *ch* yn y geiriau *och*, *uchw*, *moch*, &c., yn dynodi yn naturiol y meddyliau y mae y geiriau yn eu cynnrychioli?" Y mae yr wrthosodaeth yna ar waelod rhy wan i gynnal i fyny yn erbyn un anadliad o'r eiddo gwir feirniadaeth, a hyny am y rheswm yma, ei fod yn gwneuthur *tebygolrwydd* yn safon ystyr geiriau: sef y tebygolrwydd rhwng y sain neu y gair â'r peth y mae yn ei arwyddocâu. Cydsyniad cyffredin dynolryw, ac arfer gwlad a chenedl, megys ag yr ydym wedi sylwi yn fynych, sydd wedi cysylltu syniadau a geiriau â'u gilydd, ac nid tebygolrwydd seiniadol.

## ARWYDDWYR Y DADGANIAD O ANNIBYNIAETH.

O'R pum' deg a chwech o Arwyddwyr Dadganiaeth Annibyniaeth America, yr oedd naw yn enedigol o Massachusetts, naw o Virginia, pump o Maryland, pedwar o Connecticut, pedwar o Pennsylfania, pedwar o New Jersey, pedwar o South Carolina, tri o New York, tri o Delaware, dau o Rhode Island, ac un o Maine.

Yr oedd wyth yn frodorion o wledydd tramor, o ba rai yr oedd tri o'r Iwerddon, dau o Loegr, dau o Scotland, ac un o Gymru.

Cafodd dau eu hethol yn Llywyddion y Taleithau Unedig, a dau yn Islywyddion; pymtheg a etholwyd yn Llywiawdwyr yn eu hamrywiol Daleithau; a'r gweddill oll a lanwasant sefyllfaoedd pwysig yn y wladwriaeth.

Yr oedd pedwar ar hugain o honynt yn gyfreithwyr enwog; pedwar yn feddygon, pedwar wedi derbyn addysg i'r weinidogaeth, un wedi bod yn grydd yn ei ddyddiau boreuaf, un yn argraffydd, ac un yn grefftwr.

Bu pedwar fyw dros naw deg o flynyddau; deg, dros wyth deg; deg, dros saith deg; triarddeg dros chwe' deg; unarddeg, dros bum' deg; a saith, dros bedwar deg o flynyddau.—*R. W.*

---

## PWY SYDD FEISTR.

PAN weloch gi yn canlyn dau ddyn, ni wyddoch pa un o honynt yw ei berchenog tra y rhodiant yn nghyd; ond gadewch iddynt ddyfod i groesffordd, ac i un fyned y naill ffordd, a'r llall y ffordd arall, yna y gwybyddwch pa un yw meistr y ci. Felly ar amserau, mae crefydd a'r byd yn myned law yn llaw.

Tra mae dyn yn cael y byd a phroffes o grefydd hefyd, ni wyddom pwy yw ei feistr—Duw neu y byd; ond aroswn hyd oni ddelo y dyn i groesffordd; Duw yn ei alw y ffordd hon, a'r byd yn ei alw ffordd arall. Wel, os Duw fydd ei feistr, efe a ganlyn grefydd, ac a ymâd a'r byd; ond os y byd fydd ei feistr, yna efe a ganlyn y byd a'i chwantau, ac a ymad â Duw, â chydwybod, ac â chrefydd.—*Parch. R. Erskine.*

# DETHOLION.

RHAI O YMADRODDION Y DUWIOL DR. CALAMY, AC ERAILL.

MAE Duw yn dwyn ei blentyn i'r dyfroedd dyfnion, nid i'w oddi, ond i'w lanhau; "dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod." Esa. xxvii. 9.

MAE golud, fel mul *Absalom*, yn ein gadael yn yr amser mwyaf angenrheidiol.

MAE y saint goreu yn ddarostyngedig i'r cystuddiau trymaf.

JOB ar y domen ydoedd ddedwyddach nag *Adda* yn Mharadwys. Satan a orchfygodd *Adda;* ond *Job* a orchfygodd Satan.

DYLEM weddio mwy am gael sancteiddio ein cystuddiau, nag am gael eu symud ymaith.

Y MAE yn y gwir Gristion anian sydd yn hiraethu am y nefoedd fel lle o ymwared *oddiwrth bechod*, yn fwy nag fel lle o ymwared *oddiwrth boen.*

NIS gellir llonyddu plentyn bach â dim ond y fron; felly nid oes dim ond gwirioneddau Dwyfol a foddlona enaid y Cristion.

PAN fyddych yn gweddio, cofia dy fod o flaen gorsedd y Brenin mawr, Llywydd a Pherchen nef a daear, ac yno i ymbil am dy fywyd—bywyd a dedwyddwch dy gorff a'th enaid am byth.

NYNI a ryfeddem weled dyn, wrth ymbil am ei fywyd o flaen brenin daearol, yn troi i wibio neu chwareu â'r gwybed o'i ddeutu; ac a ymfoddlona neb i'w galon fod mewn agwedd o'r fath, ger bron Mawrhydi y Jehofa?

BETH pe bai holl wamalrwydd gwageddau dy feddyliau yn llinellau ysgrifenedig rhwng dy erfyniadau? a feiddit ti ddarllen dy bapyr allan? O! cofia, y mae meddyliau yn eiriau eglur ger bron Duw.

PAWB a chwenychant fod yn ddedwydd; ond nid yw pawb ddim yn ystyried fod annedwyddwch yn *ffrwyth pechod*, a bod yn gwbl reidiol cael ymwared oddiwrth hwn, mewn trefn i fod yn ddedwydd.

Y NEB a chwenycho wisgo coron cyfiawnder yn y nef, ymfoddloned i'r groes, a'r goron ddrain, ar ei ffordd yno.

## BETH YW DYN?

Pa beth yw dyn? Creadur hardd,
A wnaed ar ddelw Duw;
Osodwyd gynt yn Eden ardd,
Yn frenin pob peth byw.

Pa beth yw dyn? rhyw bryfyn gwael,
Ymdreigla'n llwch y llawr,
A feiddia wawdio'r Duwdod hael,
A herio'i orsedd fawr!

Pa beth yw dyn? carcharor caeth
Gan lym gyfiawnder glân;
Yn haeddu am yr hyn a wnaeth,
Fod byth yn uffern dân.

Pa beth yw dyn? carcharor sydd
Mewn gobaith i gael byw;
Trwy waed yr Oen, ca'dd lwybr rhydd
I dd'od yn ol at Dduw.

Pa beth yw dyn? canolbwynt mawr
Y ddaear lawr a'r nef,
Elfenau'r bydoedd erch yn awr,
Gydunant ynddo ef!

Gall sylwi ar y pryfyn tlawd
A chwery yn y pridd,
A d'wedyd wrtho, "Ti yw 'mrawd,
Cyd-drigwn eto'n brudd!"

Gall hefyd droi ei olwg draw
I'r nefoedd freiniol fri,
A chyda Gabriel ysgwyd llaw,
A d'weyd, "Fy mrawd wyt ti."

Gall edrych ar y beddrod du
Wrth wywo'n wael ei wedd,
Ac adrodd ar ei lan yn gu,
"Fy mam, fy mam, yw'r bedd."

Ac eto gall chwim-dremiaw fry
At lys y nefol wlad;
Gan dystio, gydag agwedd gu,
"Draw, gwelaf dŷ fy nhad!

Pa beth yw dyn? rhyw gronfa lawn,
O ryfeddodau yw!
Ond mil rhyfeddach, diau cawn
Yr hwn a'n gwaeth—sef Duw!!

IEUAN O LEYN.

## DYWEDYD WRTH FODD CALON JERUSALEM.

ESA. xl. 2. "Dywedwch wrth fodd calon Jerusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni ei milwriaeth, ddileu ei hanwiredd: o herwydd derbyniodd o law yr Arglwydd yn ddau-ddyblyg am ei holl bechodau."

Y MAE gan Dduw ei bobl trwy etholedigaeth dragywyddol, trwy brynedigaeth neillduol, trwy alwedigaeth effeithiol, trwy fabwysiad grasol, a thrwy gyfammod sydd gadarnach na'r mynyddoedd. "Cysurwch, cysurwch, fy mhobl, medd *eich* Duw," (adn 1.) Eto mae eu taith i'r nef trwy lawer o orthrymderau; ond ewyllys Duw yw, yn y sylfaen a osododd, yn yr addewidion a roddodd, yn y weinidogaeth a sefydlodd, ac yn yr ordinhadau a ordeiniodd, iddynt gael cysur cryf.

Cynnwysa yr adnod sydd dan sylw bedwar peth—gorchymyn difrifol—y dull o'i gyflawni—y pethau sydd i'w cyhoeddi—a rhesymoldeb y gorchymyn a'i gyhoeddiad.

I. GORCHYMYN DIFRIFOL.

"Dywedwch wrth fodd calon Jerusalem." Ymddiriedwyd y gorchymyn hwn yn flaenaf i'r prophwydi, ac wedi hyny i holl genadau Crist yn olynol, hyd ddiwedd y byd. "*Dywedwch*," peidiwch celu dim o'r pethau buddiol i athrawaeth, i argyhoeddiad, i hyfforddiad. "*Dywedwch*;" dywedwch yn amlwg ac adeiladol, o'r areithfaoedd, yn lle traddodi pethau tywyll a diles. Dywedwch yn daer, mae y peth yn bwysig! Dywedwch gyda diwydrwydd, y mae yr amser yn fyr, eneidiau yn werthfawr, a'r farn yn fanol, ac yn ymyl! Y cynghor apostolaidd yw, "Bydd daer mewn amser, ac allan o amser. "Dywedwch wrth fodd calon Jerusalem." Dywedwch i'r galon; un peth yw pregethu yn nghlyw y bobl, peth arall yw pregethu i'r bobl. Dylem yn y weinidogaeth amcanu goleuo y deall, i lanw y cof â gwirioneddau y Beibl—

(nid sothach) i dwymno y serchiadau, a chael yr holl nodau planedig i weithrediad grymus. Dywedwch y gwir, dywedwch yn onest, dywedwch DROS DDUW.

II. Y CYFARWYDDYD. "Llefwch wrthi hi."

Nid ydym yn meddwl wrth y llefain hyn, ysgrechian annaturiol, ond taerineb a difrifoldeb mawr. Y pethau sydd i'w cyhoeddi ydynt ddau. Y maent i gyhoeddi ddarfod ei milwriaeth hi. Er hau mewn dagrau, ceir medi ar feusydd gwynfyd, mewn gorfoledd. Gyfeillion wylofus—clywch, "Dros brydnawn yr erys wylofain, ac erbyn y boreu y bydd gorfoledd." Deallir wrth filwriaeth yma, sefyllfa gaethiwus, ac anghysurus Israel yn Babilon, mewn gwlad estronol.

Gorchymynir i'r cenadau gyhoeddi yn uchel, ddarfod eu milwriaeth—i'r tri ugain a deg ddyfod i ben—fod y dorau pres yn agored, ac y cesglid hwynt â mawr drugareddau i wlad y rhyddid, ac i'r porfeydd gwelltog. Yr ydys yn cyhoeddi yn mhellach ddileu eu hanwireddau; sef bod Duw gwedi anghofio eu heilunaddoliaeth, wedi maddeu yn llwyr eu pechodau, a'i fod mewn cymmod â hwynt, ac yn heddychol tuag atynt.

III. RHESYMOLDEB Y CYHOEDDIAD. "O herwydd derbyniodd o law yr Arglwydd yn ddau ddyblyg am ei holl bechodau."

Cynnwysa hyn i'r Arglwydd fendithio y cyfyngder caled a'r caethiwed galarus i ateb y dyben. Gwna yr Arglwydd yn ei oruchwyliaethau a'i oruwchlywodraeth i bob peth gyd-weithio er daioni, a dyma ffrwyth yr holl oruchwyliaethau, sef tynu ymaith bechod eilunaddoliaeth y genedl a dywyllodd y nefoedd, a gadwodd fraich yr Arglwydd rhag eu hamddiffyn, ac a'u dygodd i'r caethiwed.

Derbyniodd Jerusalem gyffeiriau meddygol mor gryf gan yr Arglwydd nes gweithio ynddi hollol gasineb at eilunaddoliaeth, a'i dwyn yn iach o'r clefyd niweidiol hwn.

Bellach, "dywedwch wrth fodd ei chalon hi, a chyhoedd-

wch ddarfod ei milwriaeth, a dileu ei hanwiredd, oblegid y mae y dyben ag oedd yn ngolwg yr Arglwydd wedi cael ei ateb.

*Sardis.* R. H. EVANS.

---

## RHAI O DDYWEDIADAU Y DIWEDDAR BARCH. JOHN JONES, TALYSARN.

PAN glywom dôn newydd yn cael ei chanu yn dda, byddwn byth wed'yn yn clywed y dôn hono yn un ragorol, pwy bynag fydd yn ei chanu; felly y byddwn hefyd wrth weled rhai o ddywediadau y diweddar Barch. J. Jones, y rhai a glywsom o'r blaen.

Llamodd fy nghalon o lawenydd yn ddiweddar pan ddarllenais ddywediadau J. J. yn Nghymdeithasfa Dolgellau, ac arweiniodd fy meddwl at rai o'i ddywediadau yn Nghymdeithasfa yBala.

Nid wyf yn cofio y testyn, ond dyna oedd sylwedd y bregeth—sef "Gras a Dyledswydd," ac ni welais neb eto yn eu dal mor wastad ar gyfer eu gilydd. Meddai, "Dacw yr *Admiral* ryw ddiwrnod yn gyru at Gâdflaenor y *Man-of-war*, am iddo ddyfod a'r llong adref o'r West Indies. Mae yn deall y llythyr yn union, mai nid eisiau iddo gario y llong ar ei gefn adref oedd; ond fod eisiau iddo fod w[illegible] ei ddyledswydd, bod wrth y llyw, a chodi yr hwyliau i'r gwynt, a daw y gwynt a'r môr a'r llong adref. Felly, bechadur, mae Duw yn peri i ti ddyfod a'r llong yna adref, os gweli yn dda, yr wyt ti wedi colli y *coast* er ys digon o amser. Wel, ni fedraf fi ddyfod a'r llong adref, yr wyf yn farw mewn camwedd a phechod. Wel, y mae eisiau i ti ddeall y llythyr, sef bod wrth dy ddyledswydd. Bydd di wrth y llyw, dos i'r dirgel i weddio, darllen ambell i Ysgrythyr yn hwyl ar dy hwylbren fechan, fe ddaw môr gras, ac awelon yr Ysbryd a'r llong adref. Ni fedraf fi weddio. Wel, ceis

ia heb fedru, heb fedru yr ydym ni i gyd; dos di ar dy liniau, a dywed, dyma fi wedi dyfod heb fedru, Arglwydd mawr. Edrych a oes yr un cymal yn mhen dy lîn, pa un ai coeden sydd yn dy gario di. Mae arnaf fi eisiau rhyw dro mawr fel Paul, ar y ffordd. Felly'n wir, Pwy welaist ti heblaw Paul â gafodd ei droi felly? Ni waeth i ti dro fel Matthew wrth y dollfa—rhyw lef ddystaw fain, yn dywedyd 'Tyred canlyn fi.' Mi gymeraf fy llŵ i ti glywed peth fel yna lawer gwaith. Peidiwch a myned i uffern ar eich cyfer, bobl! Yn wir, os af fi yno, yr wyf am amgylchu llawer iawn—yr wyf am ymdroi llawer iawn tua gorsedd gras, yr wyf am aros blynyddoedd tua thŷ Dduw, yr wyf am amgylchu mynydd bychan Calfaria, ond odid nad aiff fy nhroed i'r fagl yno."

Dro arall yr oedd yn pregethu oddiar y geiriau canlynol: "Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi." Sylwodd pwy oedd cyfeillion Iesu Grist, sef y rhai oedd yn gwneuthur ei ewyllys ef, &c., &c. Sylwodd hefyd, fod un mor fawr yn cyfeillachu â rhai mor fychain, &c., &c.

"Pe buasai y Frenines Victoria yn dyfod trwy y dref hon, a disgyn o'i cherbyd, ac yn cyfeillachu â'r hen wraig yn y bwthyn, ac ar y plwyf, fe fuasai llawer o son am dani yn y papyrau newyddion. Ond, mae Iesu Grist yn Frenin mawr goruwch yr holl ddaear, yn llywodraethu yr holl fydoedd difedi. Maent yn dyweyd nad yw system ein haul ni ond rhyw bentref bychan yn nghreadigaeth Duw, ac nad ydyw ein byd ni ond rhyw gut mochyn yn y pentref hwnw, ac wedi ei ranu rhwng llawer o freninoedd. Ond, y mae Iesu Grist yn frenin ar y cwbl, ac yn dyweyd yma heno, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion.'

"Ceisia di gyfeillachu a'r barnwr gwladol pan fyddo yn eistedd ar y fainc i farnu troseddwr y gyfraith. Mae llawer yn edrych yn graff pa fodd y mae yn rhoddi y dded-

fryd yn gyflawn. Ond, mae Iesu Grist yn eistedd ar y fainc y fynyd hon, ac y maent yn dyweyd fod tri o eneidiau yn cael eu taflu iddo bob mynyd i'w barnu, ac angelion y nef, a chythreuliaid uffern yn edrych yn graff pa fodd mae yn gweinyddu y ddedfryd; eto, mae yn llywio y cwbl, ac yn dyweyd yma heno, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion.' Fe allai y cai siarad â'r Maeslywydd gwladol pan y bydd yn rhoddi tro gartref, heb ddim gwaith; ond ceisia di gael ei gyfeillach pan fydd y fyddin ar y maes, a gogoniant y deyrnas yn ymddibynu ar ennill y fuddugoliaeth. Ond, y mae gan Iesu Grist filoedd yn America bell, yn ymladd yn erbyn byd, cnawd, a diafol, a llawer yn yr India ac Awstralia; y mae ef yn tendio pob picell danllyd y fall, sydd yn cael ei anelu at ei saint, eto y mae yn gallu rheoli y cyfan, a dyweyd yma heno, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion.'

"Clywais i rhyw ddyn unwaith yn Llundain, gymeryd dryll ac anelu at Robert Hall, a pheri iddo roddi i fyny ei arian; gwelodd yntau ei law yn crynu, a dywedodd wrtho, 'O gad fy mywyd i mi, ni a fyddwn ein dau bron yn union yn y farn, yn rhoddi cyfrif. Mae yn debyg mai dy angen a'th yrodd fel hyn. Mi a'th gymeraf di yn was am dy oes, ac a gelaf y peth oddiwrth y swyddogion gwladol.' Yr oedd hyny yn garedigrwydd mawr â'r adyn. Nid anelu yn unig a ddarfu i ti, ond yr wyt wedi tanio. Nid dy gymeryd yn was am dy oes y mae Duw, ond yn gyfaill i dragywyddoldeb.

"Yr oedd rhyw fachgen bychan unwaith wedi myned i'r ysgol, yn mhell oddicartref, dros fynydd mawr, trwy gorsydd, a llawer o leoedd peryglus. Cychwynodd y gŵr bychan adref rhyw brydnawn, heb feddwl i'r nos ei oddiweddyd cyn iddo gyrhaedd adref. Ond, dygwyddodd iddo daro wrth rhyw ddyn ar y mynydd, yr hwn a'i harweiniodd adref. Pan gyrhaeddodd y gwr bychan adref, yr oedd yn llawer o'r nos, a churodd wrth y drws. Synodd ei fam pan ei gwel-

odd, a gofynodd iddo, 'Pa fodd y daethost ti fy machgen?' 'Taro wrth gyfaill a ddarfu i mi, ac yr oedd ganddo damaid yn ei logell i mi hefyd,' meddai. Byddaf fi yn meddwl pan af at borth y nefoedd, y bydd rhyw angel yn gofyn, 'Pa sut y daethost ti fy machgen bychan i?' Mae yr ateb yn barod genyf, 'Taro wrth Gyfaill a wnaethum, ac yn wir yr oedd ganddo damaid ar y ffordd hefyd.'

"Wel, wel, canmol tipyn ar y Gŵr y bû'm i. Rhaid i mi ddyweyd fy neges bellach, 'A ai di gyda y Gŵr hwn?' Pan y mae Offeiriaid Eglwys Loegr yn priodi, hyd angeu y maent yn ei ddywevd i gyd, a ninau y gwahanol enwadau, ni fedrwn fyned dim pellach. Ond, a wyddost ti beth y mae y Gŵr hwn yn ei ddywedyd? 'Mi a'th ddyweddiaf di â mi fy hun yn dragywydd. Dyma i ti bwysi myrr fydd yn aros dros nos rhwng y bronau," &c., &c.

*Floyd.* WILLIAM EVANS.

---

## DEDDF.

MAE deddf yn arwyddo rheolaeth, gweithrediad cymhwys i bob math o weithrediad, pa un ai bywiol, marwol, rhesymol, neu afresymol.

Mae yn natur deddf archiad diammodol.

Darostyngodd y Creawdwr y moesol a'r anianol fydoedd i awdurdod oruchel deddf.

Mae dyn ac anifail, nefoedd a'r ddaear, ser a'r môr, goleuni a gwres, dydd a nos, achos ac effaith, yn ardystio y gwirionedd.

Deddf sydd yn llywodraethu yr haul, y planedau a'r ser.

Deddf sydd yn gorchuddio y ddaear â'i llawnder, ac yn ei dilladu â harddwch.

Deddf sydd yn cyfarwyddo goleuni, symud yr awyr, rhwymo galluoedd nerthol y bydsawdd, deffro peroriaeth

creadigaeth, dyfrau y ddaear, arwain yr anifail at ei eisiau, a dyn at ei ddyledswydd.

Nid yw holl gynnydd planhigion, o'r hedyn i'w wraidd, dull, maethiad, anifeilig, treuliad, rhediad, a holl ranau agweddiad, bywydol, rhoddi a'i gadael i ddamwain, nac i ewyllys y creadur, ond y maent yn cael a'i cyflawni yn unol a deddfau tragywyddol ac anghyfnewidiol

Deddf yw dysgawdwr dyn, llawforwyn creadigaeth, yr unig gyfrwng trwy ba un y gall dyn gyrhaedd nôd ei gread. Eto mor ychydig sydd yn canfod y peiriant cadarn hyn, er hyny fe deyrnasa byth.

Nis gall deddfiadaeth dyn, penderfyniad llys, byth newid un o ddeddfau natur. Maent hwy yn Alpha ac Omega holl waith creadigaeth.

*Rushford.* J. G. MORGAN.

---

## CYFARWYDDIADAU PA FODD I YMDDWYN YN ADDAS AT FODDION GRAS.

### MEWN PERTHYNAS I GYFARFODYDD GWEDDIAU.

1. GOFALER am roddi dyn a fedro ddarllen yn dda i ddechreu y moddion. Peth anheilwng iawn i addoliad y Goruchaf ydyw rhoddi dyn i ddarllen pennod o'r Beibl yn gyhoeddus na fedro ddyweyd bron haner y geiriau fel y dylid. Mae llawer yn credu mae hawlfraint neillduol y diaconiaid ydyw dechreu pob moddiou bron, yn enwedig os bydd eisiau dechreu o flaen pregethwr; tybir fod eu dewisiad i'r ddiaconiaeth yn ddigon o gymhwysder iddynt i gyflawni pob gorchwyl; heb ystyried fod haner y diaconiaid wedi eu dewis i'r swydd yn unig ar gyfrif eu sefyllfa fydol, heb unrhyw gymhwysder arall ynddynt.

O'm rhan fy hun yr wyf yn berffaith foddlon i'r brodyr diaconaidd gael yr anrhydedd o ddechreu y moddion; lle byddo pedwar neu pump o honynt efallai y bydd yno rai

cymhwys. Peth gwarthus iawn ydyw clywed neb, yn enwedig diacon, yn dywedyd ymadroddion fel y rhai canlynol wrth ddarllen o flaen cynulleidfa, "Adda, pa le rwyt ti?" "Efe a offrymodd 'yn aruthr!" "Efe a offrymodd Arthur!" "O ddydd-gylch Abïa ei wraig!" "A ddywed y peth ffyrnig wrth yr hwn a'i ffurfiodd!" &c. Os na cheir y pwys-lais yn briodol, bydded i ni gael y geiriau yn gywir.

2. Gofaled pawb fydd yn arfer rhoddi pennillion allan i'w canu, am eu dysgu yn gywir. Y mae yn resyn meddwl gymaint o aflerwch sydd yn cael ei arfer gyda'r gorchwyl hwn. Dynion dylion ac anwybodus yn haner dysgu pennillion; ac yna yn rhoddi allan mewn cynnulleidfa fawr, a thrwy gyfnewid a llurgynio geiriau, gwnant y penill naill ai yn hollol ddiystyr, neu rhoddant ystyr hollol gyfeiliornus iddo.

3. Bydded i'r blaenor fydd yn nodi rhai i weddio yn gyhoeddus ystyried pwy sydd yn addas o ran gwybodaeth a dawn, i fod yn arweinwyr i gynnulleidfaoedd yn eu haddoliad. Nid oes neb yn rhy ddwl ac anwybodus i weddio ar Dduw yn y dirgel, ond ni ddylid rhoddi rhai o'r cymeriad hwnw i weddio yn gyhoeddus ar un cyfrif. Y mae llawer yn gwneyd rhywbeth a alwant hwy yn weddio, ac y mae yn warth i Gristionogion eu clywed.

4. Na fydded i'r weddi gyhoeddus fod yn rhy faith; fel rheol gyffredin y mae o ddeg i bymtheg mynyd yn llawn digon. Ni bydd pregethwyr na dynion call eraill yn arfer bod yn hwy na'r amser a nodwyd. Nid oes yr un weddi yn y Beibl na all y siaradwr arafaf ei dywedyd yn hawdd mewn deng mynyd. Gan hyny bernir mai hunanoldeb ac anwybodaeth ydyw yr achos y bydd rhai yn arfer a gweddio am haner awr. Dilyner y brodyr sydd yn arfer y gweddiau hirion yn y capel, i'w tai, a chanfyddir y bydd eu gweddiau teuluaidd ar eu goreu gyrhaedd tri mynyd o amser. Beth am eu gweddiau dirgel?

5. Dylai y rhai sydd yn arfer gweddio yn gyhoeddus

ddeall y gwahaniaeth sydd rhwng gweddio a phregethu. Bydd ambell gyfarfod a elwir yn gyfarfod gweddio yn debycach mewn gwirionedd, i gyfarfod pregethu nag i gyfarfod gweddio. Ceir pregeth gan un ar Hanfod Duw, pregeth gan un arall ar ddrygioni ei gymydogion, &c. Sieryd wrth Dduw am ei gymydogion fel pe byddai ef ei hun yn angel glân o ran ei gymeriad moesol.

6. Na fydded i neb wrth weddio yn gyhoeddus arfer geiriau ac ymadroddion na byddon yn deall eu meddwl.

7. Na fydded i neb wrth weddio wneyd arferiad o fynychu geiriau afreidiol, megys, Bob un o hononi; Yr awr hon; Fel yr ydanni o'th flaen; Yr hwŷr newydd yma; &c., &c. Y mae llawer yn arfer rhyw ymadroddion fel y rhai uchod ar ol pob ymadrodd. Hen lythyren gysegredig iawn gan lawer wrth weddio ydyw Y. Arferir hi fel hyn, Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd Y, sancteiddier dy enw Y. Deled dy deyrnas Y, &c. Mae sancteiddrwydd a phwysigrwydd y gwasanaeth sanctaidd yn galw ar bawb i roddi arferion isel fel yna heibio.

8. Peth arall sydd yn deilwng o sylw gweddiwyr cyhoeddus, ydyw yr arferiad sydd gan rai i lefain nerth esgyrn eu penau wrth weddio. Gellir meddwl y bydd gwrthddrych gweddi rhai (os bydd gwrthddrych iddi) naill ai yn cysgu neu wedi myned oddicartref. "Mwyaf trwst llestri gweigion." Bydd rhai yn gwneyd rhyw ronc fawr yn eu gyddfau wrth weddio; eraill yn snwffian yn eu ffroenau I ba beth y mae yr arferion hyn oll da? Nid ydynt dda i ddim ond i foddhau hunanoldeb dynion anwybodus a rhithgrefyddol. Meddylier fod mintai o blant yn myned at ddrws boneddwr i ofyn clusen at y Nadolig, a bod un yn gofyn dros y cwbl, a chan lefain a'i holl nerth, a gwneyd rhonc fawr yn ei wddf, yn dywedyd, A welwch chwi yn dda Syr Y, roddi elusen i ni gyd Y, rhowch damaid i bob un o hononi Y. &c., &c. A fyddai dull fel yna yn debyg o fod yn llwyddiannus

gyda dynion? Na, nid oes neb mor ffol a meddwl y fath beth. Wel, y mae llawer yn ymddwyn fel pe byddent yn meddwl fod gan y dull yna ddylanwad mawr ar y Goruchaf. Mae yr Iuddewon yn arfer chwythu mewn cyrn hyrddod yn eu gwasanaeth crefyddol yn y synagogau ún mis yn y flwyddyn, i'r dybeu, meddant hwy, o gynhyrfu Duw i drugarhau wrthynt! O'm rhan fy hun yr wyf yn credu fod cymaint o synwyr a dylanwad yn sain aflafar y corn hwrdd gan yr Iuddew, ag sydd yn mloeddiadau echrydus ambell Gymro.

Dichon fod y darllenydd yn teimlo fy mod yn trin y brodyr yn greulon ac anghrefyddol. I hyn atebaf, y byddaf bob amser yn hoffi pob arddangosiad o deimlad gwirioneddol, ac y mae genyf barch arbenigol i deimladau crefyddol; ond am y bonlleiau echrydus, yr wyf yn eu condemnio yn fawr, nid y dosbarth callaf a mwyaf crefyddol sydd yn eu harfer.

A. B.

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 101.]

Y MAE tebygolrwydd yn hanfodi rhwng geiriau â phethau rai gweithiau, yr hyn sydd yn ychwanegu gradd at brydferthwch iaith.

(1.) Y mae tebygolrwydd rhwng seiniau llafar ac aflafar, (*articulate and inarticulate sounds.*) Y mae y tebygolrwydd yma yn dra chanfyddadwy yn y llinell ganlynol, lle y mae yr hen Brif-fardd Groegaidd yn amcanu desgrifio sŵn uchel a sïawl tònau y môr; ac, meddai am Chryses, offeiriad Apolo, gwedi cael ei fygwth a'i sarhau gan y Cadfridog Agamemnon—

"Bé d' akeôn para thina polyphloisboio thalasses."

Sain cyflym a efelychir drwy olyniad o sillau byrion, yn y llinell ganlynol:—

"Quadrupetante putrem sonitu quatit ungula campum."

Yn y llinell ganlynol, y mae sŵn llinyn bwa yn cael ei efelychu yn y geiriau sydd yn ei osod allan :—

——————————"The string let fly,
Twang'd short and sharp, like the shrill swallow's cry"
*Pope's Odyssey*, xxi. 449

Amryw engreifftiau cyffelyb a allesid eu dwyn; ond digon yw sylwi yma, mai nid perthynas rhwng y naill sŵn a'r llall, megys sŵn llafar ac aflafar, yw y berthynas y mae gair yn ei ddynodi, ond perthynas feddyliol rhwng seiniau llafar â syniadau neu feddylrithiau.

(2.) Gall geiriau ac ymadroddion gynnyrchu effeithiau, megys teimladau, cynhyrfiadau, &c., cyffelyb ynom, i'r rhai a gynnyrchir gan y gwrthddrychau eu hunain, c'yd y bo y geiriau a'r ymadroddion hyny yn cael eu cynanu (*pronounced*) yn briodol. Wrth ddarllen y llinellau canlynol o gyfieithiad yr Archddiacon Prys, o Salm xxiii., gyda thôn arafsain, esmwyth, yr ydym fel pe baem yn cael ein cipio ar unwaith i ganol dôl werdd, feillionog, ar lan afon arafllif, loywddwfr, yn ngwledydd y Dwyreinfyd : fel hyn y dywed y Bardd:—

"Yr Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf;
*Mi gaf orwedd mewn porfa fras,*
*Ar lan dw'r gloywlas araf.*"

Y mae hyn, hefyd, yn wir gyda golwg ar amryw eiriau; ond nid yw hyny, ysgwaetheroedd, yn rhoi dim llaw o gynhorth i'r ddamcaniaeth druenus a wrthwynebwn. Ystyr llythyrenau, pe b'ai ystyr iddynt, yw y syniadau neu y meddylrithiau, y rhai y maent yn eu cynnrychioli, ac nid y teimladau eu hunain a gynnyrchir gan y gwrthddrychau y sawl y mae y syniadau hyny yn eu darlunio.

(3.) Yn ol y drefn hon, ni byddai genym yr un gair na llythyren i arwyddo nifer mawr o wrthddrychau; o herwydd nad oes genym yr un sain yn tebygoli i *archwaeth*, *arogliad*,

*lliw*, neu *symudiad*, a'u holl amrywiaethau a'u dullweddau. O ganlyniad, os oes ystyr i bob llythyren, neu i rai llythyrenau, rhaid bod yr ystyr hwnw yn gynnwysedig mewn rhyw beth heblaw y tebygolrwydd achlysurol ddichon hanfodi rhwng y seiniau llafar ac aflafar, neu seiniau arwyddocâol, a rhai nid ydynt felly; pe amgen, ni byddai genym na llythyren, na gair i ddynodi y rhan fwyaf o lawer o'r pethau y byddwn yn llefaru am danynt. Pa lythyren sydd yn debyg i *arogl* rhosyn, *lliw* y lili? Pa lythyren, yr ydym yn rhyfygu gofyn, sydd yn debyg i *flas* eurafal, mêl, neu wermod?

(4.) Bod *ch*, yn nghyfansoddiad geiriau, fel y clywsom rai yn haeru, yn dynodi yr hyn sydd *ffiaidd, aflan* a *gwrthodedig;* ac mai oblegid hyn y gelwir y creaduriaid hyny sydd mor wrthodedig gan archwaeth Iuddewig, *moch* neu *mo-och*, yn ol cyfiach y gair (?) sydd haeriad ail i "*baseless fabric of a vision*" Shakspeare—yn cyfodi oddiar ôreiddigedd wylltfrydig dros ddamcaniaeth, heb reswm na beirniadaeth yn sail iddi. Hiliogaeth y *Cymmreigomania* ydyw sydd wedi rhoddi hanfodiad i'r *theory* afieithiadurol yr ydym yn ei gwrthwynebu, yn gystal a llawer o bethau eraill sydd mewn cysylltiad âg ysgolheigdod Brythonaidd. Yr unig feddyginiaeth, y cynghorwn i'r sawl sydd yn cael eu blino gan yr afiechyd yma, ei ddefnyddio, ydyw dysgu ar eu tafod leferydd, y llinellau canlynol, a'u canu deirgwaith yn y dydd,

Fel rhosyn *coch* a gyll ei flodau,
Yw *boch goch* fy nghariad inau.

Ac os gall eu cof ddal cymaint, dysgant y penill hwn hefyd, yr hyn fydd yn hyrwyddo ac yn prysuro y gwellâd,—

Hoff gan fechgyn gwlad Merfinia*
Glywed adsain *cloch* y Bala;
Rhodio glanau eu Llyn Tegyd,
Ac *ymdrochi* ynddo hefyd.

* Meirionydd.

I hyn, ond odid, yr atebir, mai nid o'r gwreiddiau y tardd *troch*, *moch*, *soch*, *och*, *croch*, &c., a'r geiriau mwy grasol *coch*, *boch*, *cloch*, &c., bod *troch* yn deilliaw o *tro-och*, *moch* o *mo-och*, a *soch* o *so-och* ; ond *boch* a ddaw o *bo-ych*, *coch* o *co-och*, a *chloch* o *clo-ych*, &c. Yr unig beth sydd yn eisiau yn y mater yma yw prawf; nid oes yma nac *oblegid*, *o herwydd canys*, na dim sydd yn dal perthynas âg ymresymu, yn canlyn, mor ddefnyddiol bynag y dichon i'r fath eiriau fod mewn achosion fel hyn. Nid yw yr ymresymwyr hyn yn arfer dyweyd *quod erat demonstrandum* mor aml ac Euclid. A'r un ymresymiad ag a brawf fod *boch* yn tarddu o *bo-och* ; *coch* o *co-och* ; *tad* o *ta-ad* ; *mam* o *ma-am* ; &c., a brawf hefyd fod *bo* yn tarddu o *bo-o* ; *och* o *o-och* ; *ta* o *ta-a* ; *ad* o *a-ad*, &c., oblegid byddai yn beth anysgolheigaidd iawn tybied y gall un gair Cymreig *unsill* fod yn air gwreiddiol neu anghyfansawdd. Yn awr, gadawn i'r darllenydd ddysgu y llith yna ar Ieithyddiaeth : caiff wers eto cyn bo hir ar yr un testyn.

[*I'w barhau.*]

---

## CYBYDD-DOD.

O BOB dynion nid oes neb mor hollol druenus ar cybydd. Yr afradlon, y mae yn wir, a waria ei ddâ, ond eto y mae yn ceisio cymeryd ei fyd yn ddifyr, ac yn ceisio gwneyd pawb o'i amgylch yn ddedwydd ; ond y cybydd nid yw yn gwneyd y naill na'r llall. Cybydd-dod sydd egwyddor nid yn unig ffiaidd yn ei natur, ond hefyd tra niweidiol i'w meddianydd ; yn gymaint a'i bod yn dyeithro y meddwl oddiwrth Dduw, yn aml yn arwain i anonestrwydd yn mhlith dynion, a pheth sydd waeth, y mae yn afiechyd nad yw braidd byth yn cael ei iachau.

"Felldigaid chwant i'aur! pan er dy fwyn,
Y teifl ynfyd ei hawl yn y ddau fyd;
Yn hwn newynir—llosgir yn y llall."—BLAIR.

Ychydig o esiamplau a gafwyd o neb mwy cybyddlyd

na'r diweddar MR. ELWES o Stoke yn sîr Suffolk. Ei fam yn wir, oedd un eithaf cybyddlyd, ac er y gadawyd iddi gan ei gwr yn agos i £100,000, eto hi a'i newynodd ei hun i farwolaeth! Ymddengys nad oedd MR. ELWES yn ddim llai truenus nâ'i fam. Os torid gwydr ffenestr ei dŷ, trwsid ef â phapyr llwyd, neu clytid ef â darn bychan o wydr; a gwnaed hyn mor fynych fel y dyrysasai un o'r gwŷr doethaf i ddyweyd tebyg i beth oedd.—I arbed tân fe rodiai o amgylch adfail rhyw hen wŷdd-dŷ, neu fe eisteddai gydag un o'r gweision yn y gegin! Pan y byddai y gauaf yn dechreu dyfod i mewn, ei orchwyl yn y boreu fyddai hel ysgiodion, briwŵydd, esgyrn neu ryw beth a allai gael, ac a'u cariai yn ei logell adref i',w rhoi ar y tân! Un diwrnod daliwyd ef gan ŵr boneddig o'r gymydogaeth ar y weithred o dynu i lawr gydag anhawsder mawr, nyth bran i fyned adref i'w roi ar y tan; a phan y dywedodd y gwr boneddig ei fod yn synu pa'm y rhoddai ei hun mewn cymaint trafferth; "O, Syr, " atebai ELWES, " y mae yn wir gywilydd fod y creaduriaid yma yn gwneyd fel hyn; gwnewch ond edrych y gwastraff a wnant. Nid ydynt yn gofalu dim pa mor wastraffus y byddont." Bwytai unrhyw beth er mwyn arbed traul. Yn yr amser yr oedd yn werth wyth càn mil o bunau bwytai helwriaeth a fyddai yn y gradd eithaf o lygredigaeth, a chig na fedrai un dyn arall ei brofi! Am ei ddillad, gwnâi rhyw-beth y tro. Gwisgodd wallt-gapan. am bythefnos a gododd o ôl yr olwyn yn yr ystrŷd pan yr oedd yn marchogaeth gydâ gwr boneddig arall. Ni oddefai byth i'w esgidau gael eu glanhâu rhag y gwisgid hwy yn gynt. Fel yr oedd gwendidau henaint yn cynnyddu, dechreuodd fod yn fwy truenus. Dywedir y clywid ef yn fynych ganol nos. fel pe yr ymdrechai â rhyw un yn ei ystafell wely, ac yn gwaeddi, "Mi gadwaf fy arian, ni chaiff neb fy ysbeilio o fy eiddo. " Llawer o amgylchiadau nodedig a adroddir am dano heblaw hyn, digonol i ddangos fod cyfoeth bydol yn analluog i wneuthur dynolryw yn ddedwydd.

DANIEL DANCER, Ysw. oedd yn un tra nodedig am ei dymer gybyddlyd. Arglwyddes TEMPEST oedd yr unig un a oedd ganddi ddim awdurdod ar y dyn annedwydd hwn. Hi a gafodd yr hyfrydwch un diwrnod o lwyddo gydag ef i brynu het gan ryw Iuddew am *swllt*; canys yr oedd wedi gwisgo ei het ei hun dros dair blynedd ar ddeg. Ond pan y galwodd gydag ef y diwrnod canlynol, er ei mawr synod, hi a welai yr hen

hetan drachefn yn gorchuddio ei ben. Gwedi ymofyniad, cafwyd ei fod trwy daer erfyniadau wedi llwyddo gyda yr hen Griffiths, ei was, i brynu yr het am ddeunaw ceiniog, yr hon a brynasai ef y diwrnod o'r blaen am swllt! Yn gyffredinol gorweddai yn ei wely ar dywydd garw; o herwydd tybiai fod goleuo y tan yn gostfawr, er ei fod yn werth £3,000 yn y flwyddyn, heblaw cyfoeth dirfawr arall! Ni chymerai byth drewlwch, canys yr oedd hyny yn wastraffus, ond cariai gydag ef bob amser flwch trewlwch. Llenwai hwn yn ysdod oddeutu mis, trwy binsiadau a gâi gan hwn a'r llall! Pan y byddai y blwch yn llawn ffeiriai y trewlwch, efo chymydog cyfagos am ganwyll ffyrling; a gwneid i'r ganwyll hon barhâu hyd nes y llenwid y blwch drachefn, gan na byddai byth yn goddef dim goleuni yn ei dŷ, oddyeithr pan yr elai i'w wely. Anfynych y golchai ei wyneb a'i ddwylaw onid pan fyddai yr haul yn tywynu: yna yr âi at rhyw lŷn cyfagos, a defnyddiai raian yn lle sebon: ac wedi ymolchi gorweddai ar ei gefn ac ymsychai yn yr haul gan nad oedd un amser yn defnyddio llian ymsychu, o herwydd y treuliai hwnw, a byddai ymolchi felly yn gostus iddo. Ar ol ei farwolaeth cafwyd yn yr ystabl lestri pridd llawn o ddoleri a sylltau. Yn nhrymder y nos byddai yn arfer myned i'r fan yma, ond i ba ddyben ni fedrai hyd yn nod yr hen Griffiths ddim dywëyd; ond ymddengys y byddai yn ysbeilio un llestr i chwanegu at y llall.

---

## DYN DU.

GWRAIG foneddig yn ngogleddbarth America, oedd yn treulio ychydig o amser yn nhy Mr. D——, yr hwn oedd ganddo was du yn gweini iddo wrth ei ford ar giniaw. Adroddodd Mr. D——, wrthi lawer o bethau am dano—am ei onestrwydd, ei ffyddlondeb, a'i sobrwydd.

Yn mysg pethau eraill, fe ddywedodd fod ei was wedi bod yn offeryn i'w dori o'r arferiad o dyngu a rhegu. Pob tro y cymerai efe enw Duw yn ofer, fe wnelai y dyn ymgrymiad gostyngedig a pharchus, a hyny gyda y difrifwch mwyaf. Pan ofynai ei feistr iddo ei reswm am hyny, dywedai fod ei enaid yn cael ei lanw âg arswyd dirfawr bob tro y clywai efe arfer yr enw mawr a gogoneddus hwnw.

Un diwrnod, pan oedd y wraig foneddig yn myned heibio i'r gegin, hi a welai y dyn du wrtho ei hunan, ac a ddywedodd wrtho, "Beth, hen ŵr, a oes neb ond chwi yma?" "Oes, oes, Missa," meddai yntau, "mae llawer iawn yma, ond ni welwch chwi hwynt, angelion ydynt."

Yr oedd wedi bod dros amser yn dra isel ei ysbrydoedd, ond y pryd hwn yr oedd yn hynod o siriol, a llawen, ac fe fyddai yn canu yn wastad. Mae yn debygol ei fod yn gwneyd y tônau a'r geiriau ei hunan, ond y cydgôr oedd yr un o hyd—sef yr ymadrodd hwnw, "Byddaf yn wyn, byddaf yn ddedwydd."

*Bridgewater.* *Cyf. gan* J. S. L.

## DETHOLION.

Anghrediniaeth yw dechreuad pechod; a thywyllwch yw sail anghrediniaeth; y galon y byddo y rhai hyn yn ei llywodraethu, nid oes ynddi un meddwl uniawn am Dduw yn cartrefu.

Y mae pob drygioni wedi tarddu yn wreiddiol o'r *Un Drwg*, o uffern; ac yno y caiff ei droi yn ol, yn nghyda phawb a fo o'i blaid, brofi ei rym eithaf, a medi ei wobr gyflawnaf am byth. O! drueni anhraethol y carchar gresynol a bythol! lle bydd drygioni y creadur yn ei lawn gynddaredd, a digofaint y Creawdwr yn ei lawn angerdd! y cynnud a'r fflam yn ddiddarfod! y tân yn anniffoddadwy!

Nid ydym byth islaw gobaith tra byddom allan o uffern na byth uwchlaw gobaith tra y byddom is n a'r nef.

Os na elli wneyd dim o'th argoelion gynt mewn perthynas i'th ran yn Nghrist—yna dos ato o newydd fel pechadur tlawd, gan gofio na fu ac na fydd neb farw a ymddiriedo ynddo Ef.

## CYNGHOR I GYFOETHOG.

Agor dy drysor dod ran—trwy gallwedd
Tra gellych i'r truan;
Gwell ryw awr golli'r arian
Na chau'r gôd a nychu'r gwan.

Evan Evans (*Brydydd Hir*).

## SYLWEDD PREGETH.

[A draddodwyd gan y Parch. W. Evans, Aberaeron, yn urddiad y Parch. Benjamin Phillips, Ty'nygwndwn, Mai 13, 1858.]

1 Tim iv. 16. "Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth; aros ynddynt: canys os gwnai hyn, ti a'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat."

I. Gwylia arnat dy hun.

1. Ar dy fod yn Gristion gwirioneddol.
2. Ar ansawdd dy feddwl ger bron Duw.
3. Ar dy fod yn ffyddlon yn mhob peth.
4. Arfer ddoethineb yn mhob peth.

II. Gwylia ar yr athrawiaeth.

1. Ar dy fod yn ei deall yn gyflawn.
2. Ar fod yr athrawiaeth yn bur genyt.
3. Achub bob cyfle i'w dysgu i eraill.
4. Ar fod y bobl yn ei chredu a'i harfer.

III. Fod y ddau beth hyn yn sicrhau iachawdwiaeth y gweinidog a'r bobl.

1. Cadw ei hun y gyntaf.
2. Yna y rhai a wrandawant arno.

Dau air cyn terfynu:

1. Dymunwch fod yn llwyddiannus.
2. Ystyriwch fod gwaith mawr o'ch blaen.

*Rome.* *Cyfl gan* Edward Roberts.

---

## DUWIOLDEB BOREUOL.

### GAIR WRTH DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

Fy nghydfforddolion ieuainc i'r byd tragywyddol, y mae gyda chwi enaid sydd fwy ei werth na'r byd, i'w gadw neu i'w golli, i'w achub neu i'w ddamnio, ac y mae yn bryd i chwi feddwl am dano. Rhoddwch eich henaid i Waredwr, rhoddwch eich calon i Dduw yn awr. Mae genych fyd tragywyddol i feddwl am dano. Os ydych wedi bod yn an-

ystyriol hyd yma, mae yn bryd i chwi ystyried, mae digon o amser wedi ei dreulio mewn oferedd. "Ceisiwch yr Arglwydd tra galler ei gael ef, a gelwch arno tra fyddo yn agos." Mae Duw yn eich cymhell i ymofyn trugaredd. A ydych chwi yn anystyriol o wahoddiadau y Duw grasol. O meddyliwch am y miloedd oedd yn chwerthin am ben gwahoddiadau Duw y ganrif a aeth heibio, na chwarddant byth mwy! Fe allai eich bod yn anystyriol o wirioneddau yr efengyl yn awr; ond daw angeu, barn, a thragywyddoldeb i bwyso ar eich meddwl cyn bo hir, a dangos gwerth gwir grefydd.

Ië, ieuenctyd hoff, dyma yr un peth angenrheidiol sydd arnat ti eisiau, sydd arnaf finau eisiau, ac sydd ar bawb eisiau, "Crefydd dda ger bron Duw a'r Tad." Mae pob sant yn y nef yn gwybod ei gwerth, trwy fod yn gyfranog o'i bendithion, ac y mae pob enaid yn uffern yn gwybod ei gwerth yn y diffyg o honi. Ar y ddaear yn unig y mae dynion anystyriol i'w cael, ac a fyddi di yn un o honynt? "Na ato Duw."

Mae i fod, neu beidio bod yn feddiannol ar grefydd, ganlyniadau pwysig mewn amser; ond mwy na hyny, mae iddo ganlyniadau tragywyddol. Mae yn beth ar yr hwn nid yn unig mae cysur neu anghysur amserol yn crogi, ond ar yr hwn y mae tragywyddol dlodi neu dragywyddol gyfoeth, tragywyddol ogoniant neu dragywyddol warth, tragywyddol wae neu dragywyddol wynfyd, tragywyddol nefoedd neu dragywyddol uffern, tragywyddol wênau neu dragywyddol ŵg y Duw *anfeidrol*, yn ymddybynu.

Meddyliwch, ieuenctyd hoff, beth a fyddwch, a pha le y byddwch gan' mlynedd i heddyw; Ah! yn mhell cyn hyny byddwch wedi darfod a'r byd hwn am byth—bydd eich harddwch wedi troi yn llygredigaeth, y corff heinyf yna sydd genyt ddarllenydd wedi pydru yn y bedd, a'th enw wedi ei anghofio, fe allai; eto, bydd dy enaid yn anfarwol

yn byw mewn byd arall, yn mynwes Abraham neu yn mysg cythreuliaid. Galwadau a thrugareddau sydd yn cael eu hanghofio *yma* a gofir *yno*. Byddi yn cofio i ti dreulio dy ddyddiau mewn oferedd. O fachgen a lodes! nid ydwyt yn rhy ieuanc i farw. A ydyw dy enaid o afael damnio?

*Sardis.* R. H. Evans.

[*I'w barhau.*]

## DIWYDRWYDD.

Y mae yn syndod meddwl gymaint y mae diwydrwydd yn alluog i'w gyflawni. Yr ydym yn synu weithiau wrth weled yr holl gyfrolau y mae un dyn wedi eu cyfansoddi, a hyny mewn oes fer. Ond y mae y gair *diwydrwydd* yn egluro yr oll ddirgelwch i gyd. Ni ddaeth un dyn i enwogrwydd mawr erioed heb arfer diwydrwydd diflino, ac ni ddaw ychwaith.

Ond efallai fod ambell i ddyn ieuanc yn meddwl am ddyfod yn alluog i wneyd rhyw les yn y byd rhyw dro, ond nid yw yn gwneyd yr un ysgogiad at hyny. Ond mae yn debyg pe b'ai rhyw un yn gofyn iddo, a ddymunai ef fod yn debyg i rhyw un a wnaeth lawer o les yn ei oes, mae yn debyg yr atebai, y dymunai. Wel fy nghyfaill, y ffordd i ti fod o rhyw ddefnyddioldeb yn y byd, yw i ti fod yn diwyd mewn darllen, yn benaf y Beibl, a llyfrau da eraill; ac heblaw hyny eu darllen, eu myfyrio a'u deall, onide ni fydd o fawr fuddioldeb i ti. Ac os wyt am fod yn gyfoethog, mae yn rhaid i ti fod yn ddiwyd, oblegid "llaw y diwyd a gyfoethoga." Y mae yr Arglwydd yn ffieiddio y diog, a'r segurllyd gyda phob peth, yn enwedig ei waith ef, y mae yn dangos hyny yn ei air. "Nid yn ddiog mewn diwydrwydd; ond yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd."

Y mae llawer o bethau yn dilyn bod yn ddiwyd a llafurus; bydd ffrwythau gwybodaeth, rhinwedd, a duwioldeb yn sicr

o ddilyn llafur a diwydrwydd; megys y mae chwyn diffaith ynfydrwydd, annuwioldeb, a throseddau yn tyfu yn anocheladwy ar hyd daear y diog a'r segurllyd.

D. E.

---

## YR OEN.

BLANT, A welsoch chwi erioed oen bach? Do, meddwch, lawer gwaith. Wel, os do, a ddarfu i chwi erioed fedd wl a myfyrio rhyw bethau am yr oen—ystyried ei gymeriad fel creadur. Mae yr oen y creadur mwyaf diniweid, difeddwl drwg, o'r holl greaduriaid a greodd Duw i droedio y llawr. Nid oes dichell yn ei galon, ac y mae ei hyfrydwch gyda phlant gwragedd.

Blant, na fyddwch frwnt wrth yr oen, canys yr ydwyf o'r farn nad yw y plentyn a all fod yn gîaidd wrth oen bach, yn aelod cymhwys o'r un gymdeithas. Ond, awn yn mlaen at yr hyn yr oeddem yn ei feddwl ddwyn dan sylw.

Yn awr, gadewch i ni ddychymygu fod rhyw ŵr mawr, cyfoethog iawn, a chanddo ddefaid, yn mha rai yr oedd ei galon yn ymhyfrydu; ac efe a'u gosododd hwy mewn porfa fras, a gwelltog, wrth lan afonydd dyfroedd. Hefyd, efe a blanoddd goed mewn bryn tra hyfryd, fel y gallent fyned i orwedd dan eu cysgod ganol dydd, a gwnaeth bob peth er eu daioni a'u cysur; ac efe a ddywedodd wrthynt, yn awr, wele yr holl faes o'ch blaen, gwnewch yr hyn a fyddo da yn eich golwg, ond yn unig, nac ewch dros y terfyn i faes arall; canys yn yr awr yr ewch dros y terfyn, gan feirw y byddwch feirw. Cadwer chwi oll yn ddiwahan. Wel, arosodd y defaid yn eu porfa yn ddigon boddlon hyd rhyw ddiwrnod, pryd y daeth hen fwch corniog a blewog i'w plith, allan o'r anialwch. Wedi iddo edrych o'i amgylch, dywedodd wrtho ei hun, bu'm inau yn mwynhau y lle da hwn unwaith; ond troseddais ddeddfau fy meistr, a bwriodd fi allan

i'r anialwch. Y rhai yma yw defaid hoff fy meistr, a phe gallwn eu hudo dros y terfyn, cânt eu lladd, a chawn inau ddial fy llid ar fy meistr a'i ddefaid anwyl ar unwaith; a hyn a allaf, o herwydd nid ydynt yn fy adnabod yn y wisg hon. Aeth i ymstwffio trwy y terfyn, ac a lefodd ar y defaid, ac a ddywedodd, Chwi ddefaid, deuwch, a gwelwch y fath faes o ffrwythau peraidd a blasus sydd yr ochr draw. Deuwch, profwn hwynt, ac os na byddant yn dda, peidiwch a'u bwyta. O na, ebe y defaid, nid felly, nis beiddiwn fyned, canys dywedodd ein meistr yn yr awr yr awn dros y terfyn, y byddwn feirw. Pw, pw, ebe yr hen fwch, na chredwch ef, nis byddwch feirw ddim; ond gwybod y mae eich meistr y byddwch yn gwybod rhagor rhwng melus rawnwin a'r gwellt-glas sydd yn eich porfa wael. Felly cymerasant eu hudo drosodd.

Wel, dyma y defaid wedi troseddu, ac y maent yn gwybod y gosb. Bu ddrwg iawn gan y meistr, am y peth a wnaethpwyd, ac o herwydd einioes y defaid. Efe a edrychodd oddiamgylch, i edrych a oedd neb yn mhlith ei weision a âi yn feichiau drostynt; ond nid oedd un yn ddigon difai pe buasent yn barod i fyned. Ond, yr oedd ganddo fab unig-anedig, hwn a safodd i fyny, ac a ddywedodd, Fy nhad, onid wyf fi gyda thi bob amser? Ac oni osodaist fi yn fugail ar y defaid? Yn awr, cymer fi yn eu lle, mi a ddyoddefaf y gosb, a'm heinioes fy hun a roddaf yn iawn am eu heinioes hwy. Cymerwch fi i'r bryn, tywalltwch fy ngwaed yno, a chrogwch fy nghorff ar y coed; felly, pan ddêl y defaid a gweled fy ngwaed, a chlywed ei arogl, yn nghyda gweled fy nghorff wedi ei ddryllio drostynt, hwy a'm carant i, ac a'th ogoneddant dithau. ac a edifarhant am y trosedd; a'r tad a ddywedodd, Fy mab, digon yw, ac yn nghyflawnder yr amser, mi a ofynaf eu gwaed oddiar dy law di; a'r tad a ddywedodd, caiff fy nefaid a'm hŵyn fyw, cefais feichiau.

Wel, blant, yn debyg i hynyna yr oedd hi yn y dechreu,

rhwng Duw a dyn, rhwng y Creawdwr a'r creadur. Fe greodd Duw ddyn yn berffaith, a sanctaidd, ac a'i gosododd ef mewn porfa fras, yn Eden, yr hon oedd Baradwys ddaearol y Duw mawr ei hun. Efe a wnaeth bob peth er ei gysur a'i ddaioni, o herwydd yr oedd ei gariad tuag ato yn fawr. Efe a ddywedodd wrthynt (sef ein rhieni cyntaf), wele yr holl ardd o'ch blaen, bwytewch ei ffrwythau a byddwch lawen. O bob pren yn yr ardd y cewch chwi fwyta; ond o'r pren sydd yn nghanol yr ardd, y dydd y bwytai o hono, gan farw ti a fyddi farw. Arosodd y defaid (Adda ac Efa) yn ddigon tawel hyd rhyw ddiwrnod, pryd y daeth hen fwch, (sef yr hen sarff) i'r ardd, ac a ddywedodd yn ei galon, y rhai hyn yw aur-dlysau calon Duw, defaid fy meistr. Bu'm inau yn ei fynwes ef unwaith; ond pechais i'w erbyn, ac fe a'm trôdd allan i'r anianwch (sef y byd), a phe gallwn dwyllo a hudo y rhai diniweid hyn dros y terfyn, i fwyta o ffrwythau y pren gwaharddedig, byddant feirw, a chawn ni ddial fy llid ar Dduw a dyn ar unwaith; felly a aeth at y gorchwyl a llwyddodd yn ei amcan ddieflig. Pechodd y dyn, cwympodd ei ogoniant, a'r ddedfryd wedi ei chyhoeddi, a rhaid marw, a bu ddrwg iawn yn ngolwg Duw y peth a wnaethpwyd, ac efe a edrychodd, megys o'i amgylch am fe chiau, a safodd yr uniganedig Fab i fyny, ac a ddywedodd, Fy Nhad, "Wele fi, anfon fi," cymer fi yn Iawn dros eu bywyd; mi a ddyoddefaf y gosb, talaf y ddyled, rhoddaf fy einioes drostynt hwy. Dywedodd, y Tad, digon yw, ac yn nghyflawnder yr amser, mi a ofynaf eu gwaed oddiar dy law di, ac ar bwys yr Iawn hwn yr aeth yr holl dduwiolion (gynt) adref, i ganu am waed yr Oen.

Gwelwch i ni siarad llawer yn gydmariaethol yn yr uchod, ond cawn ddyfod at y sylwedd y tro nesaf.

*Rome.* WILL O FON.

[*I'w barhau.*]

## GRAMADEG.

### RHIF IV.

[*Parhad o du dal.* 117.]

MAE y Gramadegwyr Cymreig, gan mwyaf, wedi cyfansoddi eu gramadegau ar yr un cynllun a'r rhai Saesonig, pan nad oes dim cyfatebiaeth, mewn amryw ystyriaethau rhwng y ddwy iaith â'u gilydd. Tebycach yw y Gymraeg i'r cangenieithoedd a elwir Semitaidd, yn nhreigliad ei geiriau, ei chystrawiaeth, a'i phriod-ddull, nag i'r Saesoneg. Nid oes i'r Gymraeg, er engraifft, ddim o'r treigliadau a elwir *cases*, neu ddisgyniadau, y rhai a eilw Gramadegwyr diweddar *achosion*, y rhai sydd yn gynnwysedig yn amrywiol derderfyniadau Enwau ac Ansoddeiriau, er dynodi gwahanol berthynasau geiriau y naill i'r llall, yr hyn a wneir yn Gymraeg trwy gyfnewid llythyrenau dechreuol geiriau, y rhai y gellir eu galw yn llythyrenau *rhagffurfiol.* Perthyna hyn i'r llafariaid yn gystal a'r cydseiniaid

1. *Cyfnewidiad y llafariad.* Perthyna i'r llafariaid yr hyn a elwir anadliad *esmwyth* a *garw* (*soft and aspirate breathing*). Y mae llafariaid yn meddu yr anadliad esmwyth, pan y maent yn eu cyflwr gwreiddiol yn nechreu geiriau; megys *afal*, *enaid*, *ysbryd.* Y maent yn derbyn yr anadliad garw pan eu blaenorir âg *h*, yr hon, mewn lluaws o amgylchiadau, nid yw ddim mwy nag arwydd o'r anadliad garw. Gosodir yr arwydd o'r anadliad garw yn nechreu ac yn nghanol geiriau. Mae y llafariaid yn cael eu garweiddio (*aspirated*) yn *nechreu* geiriau ar ol y rhagenw meddiannol benywawl *ei;* megys, ei hafal (*her apple*)*;* ei henaid (*her soul*)*;* ei hysbryd (*her spirit*)*;* Ond pan ragflaenorir yr Enwau â rhagenw meddiannol yn y rhyw gwrrywol, a'r rhif unigol, medda yr anadliad esmwyth neu y sain gwreiddiol; megys, ei enw (*his name*)*;* ei ofn (*his fear*)*;* ond pan fyddo y rhagenw yn y rhif lluosog, yn y ddwy ystlen, der-

byn yr enw dilynol yr anadliad garw; megys, ein hamser, eu hoedran, eu hysbryd. Pan fo y rhagenw meddiannol lluosog yn yr ail berson, y mae y llafariad yn meddu ei sain esmwyth neu wreiddiol; megys, eich amser, eich enaid, eich ysbryd. Y mae yr un rheol i'w chymhwyso, hefyd, at y rhagenwau dywededig o flaen Berfau; megys, ei herlid, ein hanafu, eu hofni.

Hefyd, y mae y llafariaid yn derbyn yr anadliad garw yn *nghanol* geiriau, pan fyddo dwy lafariad yn dilyn eu gilydd, ac yn perthyn i wahanol sillebau, er mwyn rhagflaenu y bwlch (*hiatus*), neu yr anhawsder i gysylltu y ddwy yn mharabliad y gair; megys marwhau, gohebwr, paham, parhad; neu ar ol llythyrenau gweiniaid; megys cyfiawnhau, parhau, llawenhad. Ond pan fo llythyren gadarn yn blaenori y terfyniadau Berfawl neu Enwawl *au* neu *ad*, nid rhaid wrthi; megys, porfâu, bywiocâu, caniatâu, nacâol.

Y llafariaid cyfnewidiol. Dosberthir y llafariaid, hefyd, i rai cyfnewidiol ac anghyfnewidiol. Y rhai anghyfnewidiol ydynt *i*, *u*, *y*. Y llafariaid cyfnewidiol ydynt *a*, *e*, *o*, *w*, yn nghyda'r deuseiniaid *ae*, *aw*.

*A* sydd lafariad ag iddi ddau dreigliad; nid amgen, i *ei* ac *e*. Treiglir hi i *ei* wrth ffurfio rhif luosog Enwau ac Ansoddeiriau; megys, *bardd*, *beirdd*; *claf*, *cleifion*; *hardd*, *heirdd*. Wrth ffurfio Berfau o Enwau neu ansoddeiriau; megys, *cais*, *ceisiaw*; *trais*, *treisiaw*; *main*, *meinhau*; neu pan ychwanegir sill at ddiwedd gair; megys, *cyfaill*, *cyfeillion*.

Y mae y llafariad *a* yn treiglo i *e*, yn y lle cyntaf, wrth ffurfio Enwau o Ansoddeiriau, trwy ychwanegu sill at eu diwedd; megys, *glan*, *glendid*, neu wrth ffurfio rhif lluosog Enwau; megys, *aberth*, *ebyrth*; ac yn ddiweddaf wrth dreiglo Berfau; megys, *canu*, *cenynt*; *rhanu*, *rhenwch*; *dosbarthu*, *dosberthir*.

*E* sydd lafariad ag iddi ddau dreiglad; sef i *i* ac *y*; meg-

ys, *maen*, *main ; cref*, *cryf.* Yn yr engraifft ddiweddaf, fodd bynag, byddai yn fwy naturiol tybied mai *y* a dreiglir i *e*, nag yn y gwrthwyneb; oblegid y benywol a ffurfir o'r gwrrywol, yn gyffredin, ac nid y gwrrywol o'r benywol. Yn y geiriau *maes*, *meusydd ; maen*, *meini ;* nid y llafariad *e* a dreiglir i *i* ac u, eithr y deuseiniaid *ae.*

*O* sydd lafariad ag iddi ddau dreiglad; sef i *w* ac *y*. Mae yn cael ei threiglo i *w* mewn Ansoddeiriau Gwrrywol; megys, *trom*, *trwm ; llom*, *llwm ;* er y byddai yn fwy cydweddol â chyfatebiaeth iaith, dywedyd fod *w* yn treiglo i *o ;* neu y benywol yn cael ei ffurfio o'r Gwrrywol. Treiglir hi i *y* yn ffurfiad rhif lluosog Enwau heb ychwanegu at eu terfyniadau; megys, *corff*, *cyrff ; ffon*, *ffyn ;* ac yn nhreigliadau Berfau; megys, *ffo*, *ffy.*

I *w* y perthyn dau dreiglad; sef i *o* ac *y*. I *o* yn ffurfiad Ansoddeiriau benywol; megys *crwn*, *cron ; twn*, *ton ;* Treiglir hi i *y* yn ffurfiad Enwau lluosog; megys, *twll*, *tyllau ; llwm*, *llymion ;* hefyd yn ffurfiad Berfau o Ansoddeiriau; megys, *trwm*, *trymhau.*

Y deuseiniaid *ae* a dreiglir i *ei ;* megys, *maen*, *meini ;* i *eu*, megys, *maes*, *meusydd.* Y deuseiniaid *aw* a dreiglir i *o ;* yn ffurfiad Enwau ac Ansoddeiriau lluosog; megys, *brawd*, *brodyr ; tlawd*, *tlodion ;* yn ffurfiad Berfau o Enwau ac Ansoddeiriau; megys, *mawl*, *moli ; nefawl*, *nefoli.*

[*I'w barhau.*]

## PUM' MYNYD YN RHY DDIWEDDAR.

UN o'r beiau mwyaf y mae dynolryw yn agored iddo yw bod yn rhy ddiweddar. Clywir yn aml y dywediadau hyn—"O, y mae yn ddigon buan eto," "cawn feddwl am hyny eto," "gwnaiff y tro yfory," "nid â y cerbyd ymaith am bum' mynyd eto," a llawer o ddywediadau cyffelyb. Ond pe gwneid yn ol yr hen ddywediad—"Na adewch ddim

heibio tan y fory a ellwch wneyd heddyw," arbedai lawer o fywydau, a llawer o waeau tragywyddol, fel y dengys yr engraifft canlynol :—

Yr oedd cerbydres yn rhedeg yn mlaen gyda chyflymdra y fellten. Yr oedd *curve*, neu droad, yn y ffordd, tu draw i'r hwn yr oedd gorsaf, lle yr arferai y cerbydau aros nes pasio y naill a'r llall. Yr oedd ychydig ar ol yn ei hamser, er hyny dysgwyliai allu pasio y curve yn ddyogel, er mor agos oedd i amser y gerbydres arall ddyfod i'w gyfarfod. Ond yn ddysymwth dyma y llall yn dyfod i'w chyfarfod; cyfarfuasant a'u gilydd, tarawsant, ac mewn eiliad yr oedd deg a deugain o eneidiau wedi eu hyrddio yn ddirybydd i dragywyddoldeb, a'r cwbl oll o achos i'r peiriannydd fod yn rhy ddiweddar.

Ymladdwyd brwydr galed ar faes Waterloo, rheng ar ol rheng wedi ymladd am wyth awr flin a'r gelyn, y rhai oeddynt wedi gwersyllu ar ochr bryn. Yr oedd haul y diwrnod yn brysur syrthio i'r gorllewin. Adgyfnerthiad cryf i'r amddiffynwyr cyndyn oedd yn awr yn y golwg. Yr oedd adran gref wedi cael ei galw ganddynt hwythau, a phe buasai iddi ddyfod mewn pryd buasent yn dal i fyny. Y concwerwr hyf ar ei ddyfodiad a osododd ei golofn mewn sefyllfa fanteisiol, ac a'i harweiniodd i lawr y bryn. Yr holl fyd a wyr y canlyniad. Methodd Grouchy a'i adran a chyrhaedd, gyrwyd yr Imperial Guards yn eu holau, Waterloo a gollwyd, a Napoleon a fu farw yn garcharor, o herwydd i un o'i gadlywyddion fod yn rhy ddiweddar.

Dygwyd dyn wedi ei gollfarnu allan i'w ddienyddio. Yr oedd miloedd wedi arwyddnodi deiseb er achub ei fywyd, ac yr oeddent yn dysgwyl ateb ffafriol y noson flaenorol; ac er nad oedd yr un wedi dyfod, eto yr oedd y Sirydd yn teimlo yn hyderus y deuai mewn amser. Aeth y boreu heibio heb yr un golwg ar y genad yn dyfod. Yr oedd yr awr benodedig i fyny, a'r carcharor ar yr esgynlawr, y cap a dynwyd, dros ei wyneb, y follten a dynwyd, a'r dyn a hongiai yn gorff marw ar y grogbren. Yr amser hwnw wele ddyn yn carlamu, nerth traed ei farch, i lawr y bryn, ac yn ei law sypyn, yr hwn a ddaliai i fyny at y dorf. Efe oedd y cenad oddi wrth o brenin gyda dienoediad (*reprieve*) ond yr oedd yn rhy ddiweddar. Dygwyddodd i'w oriawr fod bum' mynyd yn rhy araf, felly gwnaeth i'w pherchenog fod yn rhy ddiweddar.

Felly y mae yn barhaus yn y bywyd hwn. Y goruchwylion mwyaf pwysfawr, lles y cenedloedd, anrhydedd, hapusrwydd, a bywyd ei hun, yn cael ei aberthu am fod rhyw rai yn rhy ddiweddar. Y mae rhai pobl yn methu mewn pob peth a gynygiant, a hyny yn unig am eu bod yn rhy ddiweddar. Mae eraill yn meddwl am ddiwygio, ond yn gadael i hyny fyned heibio o flwyddyn i flwyddyn nes iddynt gael eu dal yn angeu, a marw yn anedifeiriol, a hyny am eu bod yn rhy ddiweddar.

Collodd galluoedd cynghreiriol agos i flwyddyn o amser yn Sebastopol o achos iddynt oedi diwrnod ar ol brwydr Alma. Os oes rhyw rinwedd a ddylai gael ei feithrin, gan yr hwn sydd ar feddwl llwyddo yn y byd, manylrwydd yw. Os oes rhyw fai a ddylai gael ei ochel, y bai hwnw yw bod yn RHY DDIWEDDAR.—*O'r Arweinydd.*

---

## Y SIOMEDIGAETH FAWR.

GAN Y DR. HUIE.

AR fy nhaith i Ucheldiroedd Scotland, yn mis hyfryd Mehefin, eisteddai o'm blaen ddau wŷr ieuainc o Lundain, ac yn fy ochr wraig ieuanc mewn dillad gweddwdod, a baban naw mis oed yn ei breichiau. Canfyddais yn fuan fod y ddau wŷr ieuainc mor llawned o hunanoldeb ag a allasai dynoliaeth ddirywiedig ei ddal. Yr ochr arall y weddw wylaidd, alarus, yr eisteddai gŵr ieuanc mewn dillad cyffredin, ond o ymddygiad boneddigeiddiach na'i wisg, yr hwn a dynai gryn lawer o sylw dau ŵr mawr Llundain. Yr oedd côt y boneddig yn ochr y weddw, wedi dyoddef ystormydd mwy nac un gauaf; ac yr oedd ganddo gôd ledr fechan, yn cynnwys rhywbeth o ran swm i grys, par o hosanau, a napcyn. Pan safodd y cerbyd, sylwodd ceidwad y cerbyd fod y boneddig yn dal ei gôd ledr yn ei law; gofynodd ei genad i'w roddi yn nghist y cerbyd. Caniatâodd yntau. "Rhoddwch ef yn y canol," ebe un o'r ddau ŵr boliog. "Paham yn y canol, Tomas?" gofynai y llall "O! rhag iddo ddymchwelyd y cerbyd, bid siwr, gan ei faintiolaeth," a chwarddasant yn uchel. Codai ei waed i wyneb llariaidd ei feddiannydd; er hyny, ni ddywedodd air o'i ben. Yr oedd y boreu yn hyfryd, y golygfeydd yn adfywiol, a'r ddau Lun-

deinwyr yn siarad yn fawreddus am eu dryllian, eu powdwr, a'u saethu; ac am Arglwydd John, a Syr Harry, fel pe buasent yn byw yn nghanol goreu-gwŷr y Brif-ddinas.

Tra yr oeddem yn newid ceffylau yn nhreflan Uphall, daeth cardotyn oedranus, a'i het yn ei law, i ofyn elusen. Edrychai y ddau ŵr ieuanc balch arno gyda dirmyg. Rhoddais iddo ychydig ddimeuau, a rhoddai y weddw ei llaw i wneyd yr un modd, ond attaliodd y boneddig yn ei hochr hi, ac estynodd haner coron i'r cardotyn. "Gwag ymffrost, Jac," ebe un o'r beilchion." "O! y mae wedi cael noswaith lwyddiannus y nos olaf yn y chwareudy," gan chwerthin dros y pentref, wrth gyfeirio mai chwareuwr mewn chwareudy ydoedd, cododd eilwaith y gwaed i wyneb y gŵr ieuanc, ond ymattaliodd rhag dywedyd gair. Cyn hir wedi newid y ceffylau, cyfnewidiodd yr hîn, dechreuodd ystorm. Gofynodd y boneddig a oedd lle o fewn i'r cerbyd i'r wraig a'r baban. Wedi deall nad oedd, cynnygiodd ei fantell iddi i ddyogelu y baban. "Buaswn yn ddiolchgar i chwi, Syr, am dani; ond y mae yn debyg i ystorm erwin, a bydd raid i chwi eich hun wrth y fantell." Ar hyn, codai y gwŷr mawr gyferbyn a ni eu gwlawleni; a dywedai un o honynt wrth y weddw, "Cymerwch y clogyn, ni fydd ei hen gôt ddim gwaeth; ïe, yn wir, gellwch chwi ac yntau lechu yn y fantell." Gwridodd y weddw: a throes y boneddig atynt, a a chyda mawredd nad anghofiaf mo hono, dywedodd, "Foneddigion, nid wyf, yn naturiol, o ysbryd cwerylus, eto y mae yn bosibl i chwi fy nghynhyrfu yn ormodol." Tarawodd ei eiriau hwynt fel bollt taran, gwelwasant dan eu grym, cauasant eu safnau dros y gweddill o'r daith, oddyeithr ychydig eiriau wrth eu gilydd. Aeth y gawod chwerw heibio, a dechreuodd yr ymddyddan canlynol rhwng y boneddig a'r weddw:—

"A ydych yn myned yn mhell y ffordd yma, mam?"

"Tuag un milltir a rbymtheg yn mhellach, Syr; byddaf yn gadael y cerbyd chwe' milldir tu draw i Airdrie."

"A ydyw eich perthynasau yn byw y ffordd hono?"

"Ydynt, Syr: yr wyf ar y ffordd adref i dŷ fy nhad."

"Mewn adfyd, mi debygwn?"

"Ie, Syr," gan wylo yn uchel. "Yr wyf yn dychwelyd yn weddw drallodus, wedi bod oddicartref ddwy flynedd fer."

"A ydyw eich tad yn dda arno?"

"Ni cdy fy nhad eisiau arnaf fi na'm baban, tra byddo ganddo nerth i weithio; ond gwir nad yw ond gweithiwr tlawd, ar etifeddiaeth Iarll H——."

"Beth yw enw eich tad?"

"James Anderson, o Blinkbonny."

"Gobeithio, er eich bod yn amddifad o dda y byd hwn, y gwyddoch am Dad yr amddifad, a Barnwr y gweddwon, yn Dduw i chwi."

"Gwn, Syr; trwy drugaredd, bu bendith ar addysg rhieni yn ofni Duw, i fy nwyn i lechu yn nghysgod yr Hollalluog. Yr oedd fy ngŵr hefyd yn ofni yr Arglwydd yn fwy na llawer."

"Y mae hyn yn gysur mawr i chwi."

"Y mae yn wir; eto, mae henaint fy nhad, ieuenctyd fy maban, a fy iechyd gwan inau, yn pwyso yn drwm ar fy meddwl yn aml."

"Ymddiriedwch yn yr Arglwydd, ac efe a ofala am danoch, yn ddiau."

Daeth y fan i'r weddw ddisgyn. Aeth y boneddig ieuanc i lawr i dderbyn y baban; rhoddodd ef yn mreichiau ei fam, yr hon a lefai,

"Taled yr Arglwydd i chwi, Syr, am eich caredigrwydd heddyw i'r weddw a'i hamddifad."

"A bendithied chwithau (eb efe) â'r dyddanwch sydd yn Nghrist." Ac ar hyn, rhoddodd ryw beth yn ei llaw; agorodd hithau ei llaw, heb wybod iddi ei hun, a gwelem mai dwy *sofren* felen oedd y rhodd.

Pan diriasom yn Glasgow, daeth cerbyd godidog a phedwar o geffylau brithion i ochr ein cerbyd ni. Cododd y *dandis* ar flaenau eu traed i'w weled. "Pwy bia hon, tybed," meddai un o honynt; dywedai y llall, "Mi roddwn haner swydd Caere rog am ei hail."

Gyda hyn, dyna was lifrau o'r cerbyd ardderchog yn ymgrymu i'n cyd-deithydd, ac yntau yn gofyn iddo, "A ydyw pawb yn iach yn y palas, Robert?"

"Pawb yn iach, fy arglwydd."

Wrth sain y gair *arglwydd*, synodd y ddau ddirmygwyr, syrthiodd eu gwynebpryd, a chywilyddiasant. Aeth yr Iarll i'w gerbyd, ac ymaith âg ef.

"Pa bendefig oedd hwna?" gofynai y Llundeinwyr i ŵr y gwesty.

"Iarll H——," atebai yntau; "un o'r dynion goreu a'r cyfoethocaf a fedd Scotland."

"Iarll H——! adseiniai y *dandi*, a chan droi at ei gyfaill, dywedai, "y fath asynod a fuom. Dyna derfyn ar ein gobeithion i gael saethu ar ei dir ef."

"Gallwn losgi ein llythyrau o gymeradwyaeth ato, pan fynom, a dychwelyd adref yn siomedig."

Nid dyma y tro diweddaf i mi glywed am Iarll H——, marwolaeth gynar yr hwn a fu yn golled i'n gwlad. Ar fy nychweliad o'r ucheldiroedd, galwodd cyfaill arnaf, Athraw Ieithyddol yn Edinburgh, yr hwn a ddywedai iddo gael ei ddewis yn Beriglor Athrofa B——.

"Yn wir, (meddwn inau), Sut y buoch mor lwyddiannus?"

"Yr wyf yn meddwl mai mewn canlyniad i'r amgylchiad canlynol:—Yr oeddwn yn dysgu fy nosbarth fel arferol, tua mis yn ol, pan yr ymwelwyd â mi gan foneddig ieuanc mewn côt led wael, ac a ofynodd i mi gael gweled fy null yn dysgu. Trwy feddwl mai ysgol-feistr o'r wlad ydoedd, yn chwennychu gwybod ein ffordd o ddysgu yn y dref, mi a ganiatcais iddo—bu gyda mi ddwy awr. Pan oeddwn ar ollwng yr ieuenctyd allan, gofynai a fyddwn yn arferol o weddio cyn eu gollwng. Atebais y byddwn. Gofynodd i mi wneyd hyny yn awr. Gweddiais, a gollyngais y plant adref. Diolchodd i mi am fy ngharedigrwydd. Yn mhen y pedwar diwrnod, cefais lythyr oddiwrth Iarll H——, yn mynegi ei fod wedi cael ei foddloni yn fy ymdrech, a'm duwioldeb fel athraw, i lesâu yr ieuenctyd dan fy ngofal, ac yn cynnyg i mi y Beriglоriaeth.

"Ai gwallt goleu oedd ganddo, a chôt o liw *claered*?"

"Ië."

"Yna Iarll H—— ei hun ydoedd."

"Cymerodd y ffordd oreu i brofi fy nghymhwysder, pwy bynag oedd."

Gallwn lawenhau fod rhai o'r fath yn meddu talent i farnu, ac egwyddor i obrwyo teilyngdod. Y mae genym achos hefyd i ganmol Duw, er mai nid llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nid llawer o rai galluog, nid llawer o foneddigion a alwyd, eto, gwelwn ambell un yma ac acw, wedi ei

neillduo gan ras Duw i fod yn un o rai rhagorol y ddaear, er anrhydedd a gogoniant i Dduw ein Hiachawdwr.—*O'r Athraw.*

---

## CADW Y SABBOTH.

GWR tlawd crefyddol, wrth geisio argyhoeddi tòrwr Sabboth, a ymresymai fel hyn: "Bernwch yn awr, fy mod i wedi bod yn gweithio yn galed trwy yr wythnos, ac ennill o honof saith swllt; a bwriwch i mi gyfarfod â dyn, a rhoddi iddo chwe' swllt o'r saith, pa beth a ddywedech chwi am hyny?" "Wel, mi a ddywedwn eich bod yn gymmwynasgar iawn, ac y dylai y dyn fod yn ddiolchgar." "Ond bwriwch y gwnai efe fy nharaw i lawr, a'm hysbeilio o'r swllt arall, beth a ddywedech erbyn hyn?" "Ei fod yn haeddu ei grogi." "Wel, yn awr dyma eich amgylchiad chwi; tydi yw y gwr; mae Duw yn dra haelionus wedi rhoddi i chwi chwe' diwrnod i weithio ynddynt, i ennill eich bara; a'r seithfed a gadwodd efe iddo ei hun, gan orchymyn i ni ei gadw yn sanctaidd, ond chwi, heb fod yn foddlawn ar y chwe' diwrnod a roddodd Duw, a'i hysbeiliwch ef o'r seithfed; pa beth gan hyny ydych chwi yn ei haeddu?" Efelly rhoddwyd taw ar y tòrwr Sabboth.

---

## DYWEDIADAU PHILIP HENRY.

RHODDAI Philip Henry y pedair rheol ganlynol i'w hymarfer yn ein hymwneyd â dynion:—

1. Na wnewch gyfeillach ond ag ychydig.
2. Na ddywedwch y cwbl ond i un.
3. Ymdriniwch yn gyfiawn â phawb.
4. Na ddywedwch yn ddrwg am neb.

Sylwai nad oedd yr un sefyllfa mwy na'i gilydd, a wnai ddyn yn foddlawn heb ras Duw; canys yr ydym cael fod Haman yn anfoddlawn yn y llys, Ahab yn anfoddlawn ar yr orsedd, Adda yn anfoddlawn yn Mharadwys, a'r angelion yn anfoddlawn yn y nefoedd ei hunan.

Yr oedd pedwar peth, meddai ef, nas mynasai am yr holl fyd eu bod yn ei erbyn:—

Gair Duw.

Ei gydwybod ei hun.

Gweddiau y tlodion.
Cyfrifon gweinidogion duwiol.

Arferai hefyd ddyweyd am y dyn ag oedd yn meddu cydwybod ddall heb weled dim, a chydwybod farw heb deimlo dim, a chydwybod fud heb ddyweyd dim—ei fod yn y cyflwr mwyaf truenus y gall dyn fod ynddo yr ochr yma i uffern.

## IEITHOEDD Y BYD.

NIFER yr ieithoedd a siaradir yn y byd yw 3,064; yn Ewrop, 588; yn Asia, 896; yn Affrica, 276; yn America, 1,294. Y mae dros 1,000 o wahanol grefyddau yn y byd. Y mae nifer y benywod yn debyg i nifer y gwrrywod. Cyfartaledd y bywyd dynol, wyth mlynedd ar hugain. Y mae yn marw un chwarter o drigolion y byd, cyn cyrhaedd saith mlwydd oed; ac un hanner, cyn cyrhaedd dwy flwydd ar bymtheg oed. O bob cant o drigolion y byd, nid oes un yn cyrhaedd yr oedran, can' mlynedd. Mae 1,000,000,000 o drigolion ar y ddaear; ac o'r rhai hyn y mae 333,333,333 yn marw bob blwyddyn; bob dydd, 91,334; bob awr, 3,780; bob mynyd, 69, neu un bob eiliad. Mae nifer y genedigaethau yn debyg i nifer y marwolaethau. Mae pobl briod yn byw yn hwy na phobl sengl. Mae dynion tàl yn byw yn hwy na dynion byrion Nifer y priodasau yw 75 i bob 1,000 o bersonau.

## EMYNAU CENADOL.

O! HAUL cyfiawnder dysglaer llon,
Goleua'r byd yn llwyr o'r bron;
Gwna nefol ddydd 'n ol tywyll nos,
Dydd seinio haeddiant angeu'r groes.

*Rome.* W. N. JONES.

TAENER y newyddion goreu,
  Trwy bob rhan o'r ddaear faith;
Trefn y nef i gadw'r euog,
  Gaffo'i dadgan yn mhob iaith;
Dynolryw, o bob lliw,
Glywo son am gariad Duw.

*Rome.* EDWARD ROBERTS.

## DUWIOLDEB BOREUOL.

GAIR WRTH DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

[*Parhad o du dal.* 123.]

ANWYL GYFAILL—Pe byddit yn myned i daith fawr, oni fyddit yn parotoi i'r daith hono? Pe byddit ddau neu dri chant o filldiroedd oddicartref, oni fyddit yn meddwl llawer am y daith, a'r rhwystrau ar dy ffordd i gyrhaedd cartref? Byddit yn penderfynu myned trwy bob rhwystrau. Byddit yn meddwl am dy dad a'th fam, dy frodyr a'th chwiorydd bychain, ac yn dywedyd, O na byddwn wedi cyrhaedd cartref; yr wyf yma yn nghanol estroniaid—heb neb i ofalu am danaf. Nid oes yma neb a rydd bryd o fwyd i mi, yr wyf bron â myned heb ddim am danaf. O na chawn i olwg ar dŷ fy nhad.

Dyna ddesgrifiad o bechadur yn dychwelyd at Dduw. Mae wedi myned i wlad bell, i wlad lom iawn, yn nghanol estroniaid; ond clywaf ef yn dywedyd, "Cyfodaf ac af at fy nhad." Aros, meddai rhyw un, Na, meddai y bachgen, rhaid i mi fyned adref neu farw, yr wyf fi yn methu cael bwyd; ond y mae digon yn nhŷ fy nhad. Mae fy nillad wedi myned yn *rags;* ond mae i mi frawd a rydd i mi wisg a weryd rhag angeu.

A ydych chwi ddim am fyned i'r nefoedd bobl ieuainc? Pa bryd yr ydych yn meddwl cychwyn? Ewch ar bererindod tua Seion; ac os gofyn eich gwrthwynebwr i chwi, i ba le yr ydych yn myned, dywedwch, mai ceisio gwlad well yr ydych, a hono yn un nefol. O ieuenctyd! yr ydych chwi yn myned i ryw le bob dydd. Mae miloedd o honoch yn cyflymu tua'r gwaeau tragywyddol dan chwerthin. Aros enaid, *aros*, gwrando ar Dduw yn dy alw. *Deuwch*, yw llais yr efengyl, *ewch*, fydd llais y farn. Deuwch, meddai Duw, na wnawn ni meddai y bachgen a'r lodes; ond pan ddywedo y

barnwr, *ewch*, a ddywedwch chwi na wnawn yr amser hwnw! Deuwch i'r winllan, bobl ieuainc, ac os cewch chwi nerth i ddyfod yn iawn, fe ddywed y Gŵr fydd ar yr orsedd wrthych y dydd hwnw, "Deuwch i etifeddu y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd."

"Dychwelwch feibion dynion," meddai Duw. Clyw, enaid, deffro, O deffro! cyn yr elo hi yn rhy ddiweddar, cyn y bydd tragywyddoldeb wedi selio dy dynged am byth! cyn y byddo Duw wedi anghofio trugarhau, yna gellir dywedyd yn ngeiriau y prydydd:

"Tempest of angry fire shall roll
To blast the rebel worm,
And beat upon his naked soul,
In one eternal storm."

*Sardis.* R. H. Evans.

---

# YR OEN.

[*Parhad o du dal.* 126.]

DYMA yr amser pennodedig wedi dyfod i'r Oen (sef Mab Duw) ddyfod i'r byd i ddyoddef dros ei eglwys. "Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab" i'r byd, i geisio ac i gadw, ïe, rai wedi eu colli.

Blant, gwelwn ef yn dyfod i barthau isaf y ddaear; cymeryd ei eni o forwyn, wedi gwisgo cnawd. Gwelwn ef yn gorwedd, nid mewn gwely esmwyth, breninol, ac wedi ei wisgo mewn sidan a llian main; ond wedi ei rwymo mewn cadachau, yn gorwedd yn y preseb, ac wedi cysylltu dynoliaeth â'i natur Ddwyfol ei hun.

Dacw yr angelion yn dyfod o'r nef i gyhoeddi ei ddyfodiad i'r byd, gan ddywedyd, "Tangnefedd, i ddynion ewyllys da. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd." Dacw y bugeiliaid yn myned i'w addoli ef; a phe buasem yn gallu

gofyn iddynt, pa beth a welsant yn Bethlehem, buasent yn dywedyd, Ni a welsom Oen Duw. Yr hen Simeon dduwiol yn ei gymeryd yn ei freichiau, ac yn dywedyd yn ei galon, Hwn yw Oen Duw, hwn yw yr Iawn a roddodd ei hun drosof fi. Gwelwn ef yn nghanol y doctoriaid, yn synu yr holl LL. D., Palestina a'i doethineb, pan eto ond bachgen deuddeng mlwydd oed. Dacw 'fe yn myned i olwg Ioan, gynt, yr hwn oedd yn gwaeddi allan, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau'r byd." Dacw 'fe yn myned i'r anialwch, i'w demtio gan ddiafol; ond methodd yr hen fwch a gwneyd dim o hono, canys efe oedd Arglwydd y diafol hefyd.

Wel, dacw 'fe yn dechreu ar y gwaith mawr o gasglu y defaid yn nghyd, ac yn dyweyd, "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Dyma gyhoeddiad a gwahoddiad blasus i bechadur. O am nerth i wrando ar ei lais.

Eto, gwelwn y defaid (sef ei ddysgyblion) yn cyrchu ato, a dacw un (lled falch y mae yn debyg) yn gofyn, pa le yr oedd yn aros, pa le yr oedd ei balas ef. Clywch yr atebiad, "Mae gan y llwynogod ffauau, a chan adar yr awyr nythod; ond gan Fab y dyn nid oes lle y rhoddo ei ben i lawr."

Blant, edrychwn arno, y mae yn Dduw holl-gyfoethog, Creawdwr a Chynnaliwr y bydoedd, Etifedd pob peth heb le i roddi ei ben i lawr. Daeth i'r byd hwn yn dlawd, fel trwy ei dlodi ef y byddai i ni gael cyfoeth diddarfod yn y byd a ddaw. Wel, blant, dyma yr amser wedi dyfod y cawn olwg ogoneddus ar Oen Duw.

Gwelwn ef yn Gethsemane, yn ymdrechu, nes oedd y chwys fel defnynau o waed yn syrthio i'r llawr, ac yn llefain, "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu." Dilynwn ef yn y ddalfa i lŷs yr archoffeiriad, a Phontius Pilat; cymeryd ei gernodio gan ddynion, yn derbyn poeredd yn ei wyneb, ei fflangellu. rhoddi coron o ddrain ar ei ben, a'i hoelio ar bren; eto heb

rwgnach. "Fel Oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa, ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorodd yntau ei enau."

Dacw ef yn hongian ar y groes, wedi hoelio ei draed a'i ddwylaw, a'i waed yn llifo i'r llawr—Oen Duw, Prynwr pechaduriaid, Gwaredwr mawr y byd, Arglwydd yr holl ddaear, Cynnaliwr y bydoedd, yr hwn y mae gor-ddyfnderoedd y ddaear yn ei law yn hongian ar bren melldigedig y y groes; holl gynddaredd uffern yn dyfod i'w gyfarfod, holl filiau y ddeddf yn dyfod i'w erbyn, gan waeddi, cyfiawnder, a gwaed—llawn phiol digofaint ei Dad yn cael ei thywallt ar ei enaid. Mae yn rhaid i ni yn y fan yma dynu y llen i lawr, canys y mae pethau wedi myned yn rhy ddwfn i ni eu hamgyffred, ac nis beiddiwn fyned i gloddio ar ol pethau dyfnion Duw. Lladdodd Duw dros ddeng mil a deugain o bobl Bethsemes, am feiddio agor yr arch i edrych i mewn i ddirgeledigaethau yr Hollalluog.

Yr oedd pethau wedi myned mor ddwfn erbyn hyn, pe buasid yn gofyn i'r angelion, pa le y mae yr Iesu, buaent yn dywedyd, Nis gwyddom; mae ef wedi myned o'r golwg er ys oriau.

Wel, efallai ei fod tua Basan, yn rhyddhau caethion y cedyrn, neu tua gwaelod y môr yn dryllio yr hesg oddi am ben ei ddefaid, neu ynte ei fod tua gwaelod uffern yn tori i lawr nerth y ddraig. Yr oedd dirgeledigaethau trefn gras yn achubiaeth pechadur wedi myned yn rhy ddwfn i amgyffrediadau angelion y nef na thrigolion y ddaear. Ond, pa le y mae efe? Mae wedi myned o'r golwg; mae ef wedi cael ei guddio yn ei ddyoddefiadau, yn ngwaelodion moroedd o rad ras a chariad at bechadur.

Ond gwrandawn, beth yw y llef a glywn; dacw rywun yn gwaeddi allan, "Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bosrah?" Dacw 'fe, Oen Duw yw efe (ac o Bosrah), wedi ysigo ei ben,mae'n debyg. O nagê, nagê, ond "yn

ymdaith yn amlder ei rym;" yn dyfod i fyny yn goncwerwr er ei holl elynion i gyd, wedi concro byd a chnawd, a'r ddraig yn glwyfus dan ei draed. Dacw y ddeddf yn gwaeddi allan, Digon o waed, fe groeswyd bilian y nef. Y Duw mawr yn gwaeddi, "Gollwng ef yn rhydd, mi gefais iawn." Dacw ef ei hun yn bloeddio allan, GORPHENWYD; y mynyddoedd yn crynu, creigiau yn hollti, y beddau yn agor, llen y deml yn rhwygo, a'r haul yn tywyllu gan ddysgleirdeb gogoniant Mab Duw.

"Ond buddugoliaeth Calfari
Ennillodd hon yn ol i mi,
Mi ganaf tra b'wyf byw."

Eto, gwelwn ef ar foreu y trydydd dydd yn cyfodi o'r bedd, wedi gorphen holl waith mawr y prynedigaeth; a'r peth cyntaf bron a wnaeth oedd myned tuag Emmaus, ar ol dwy hen ddafad oedd wedi myned ar gyfeiliorn; ond efe a'u gyrodd yn ol, a chawn eu gweled yn y gyfeillach yn Jerusalem yn fuan iawn. Diolch iddo, mae ef yn myned ar ol ambell hen ddafad led ystyfnig yn y dyddiau yma. Awn gydag ef i fynydd yr Olewydd, gwelwn ef yn parotoi i fyned adref, yn bendithio ei ddysgyblion, yn esgyn yn y cwmwl, yn myned i dderbyn y goron a thragywyddol bwys ei ogoniant. Angelion y nef yn llefain, "O byrth dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol, a Brenin y Gogoniant a ddaw i mewn" (sef Oen Duw).

Y mae efe heddyw yn ei eisteddle dywysogaethol ar ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd, yn eiriol dros ei ddefaid, ac fe ddaw a hwy adref oll yn y man; efe a'u cyfyd o lwch y bedd, ac o waelodion y moroedd—byddant yn dorf ddysglaer, yn myned i fyny ar wen-wedd ei Phriod; a diolch iddo, byth am gofio llwch y llawr.

Yn awr, blant, a ydych chwi yn meddwl rhywbeth am yr Oen hwn? A ydych yn ei barchu a'i garu? yr hwn a'ch carodd chwi â chariad mor ddrud, mor fawr. Cymerwch

ofal na ddirmygwch Oen Duw, ewch ar eich gliniau yn fynych i ofyn am gymhorth i garu yr Iesu, ac ymbiliwch â Duw trwy ei Fab, am iddo eich cymhwyso, a'ch gwneuthur o nifer y defaid.

Bydd yn hyfryd cael bod yn y gorlan, ar ddydd yr ystorm fawr sydd yn dyfod.

*Rome.* WILL O FON (*sef* W. EVANS).

---

## CEISIO YR ARGLWYDD YN FOREU.

DIAR. viii. 17. Y "sawl a'm ceisiant yn foreu, a'm cânt."

Y MAE addewidion Duw yn eu grym i'r rhai sydd yn ymofyn am grefydd yn moreu eu hoes. Gallwn weled hyn trwy ei gymhelliadau taerion; y mae yn ddyledswydd arnom bawb i roddi blaenffrwyth ein dyddiau i'w wasanaethu ef, oblegid y mae wedi meddwl meddyliau o hedd am danom er yn foreu. Dylem ystyried y fraint yn annhraethol werthfawr; oblegid wrth geisio nawdd a ffafr Duw pan yn ieuanc, trwy deithio ar lwybrau rhinwedd, bydd yn attalfa rhag syrthio i arferion pechadurus, a thrwy hyny yn magu nerth tuag at wrthwynebu Satan a'i demtasiynau. Hefyd, y maent yn dyfod i afael grymusder ei addewidion, nes y maent yn cynyddu ac yn gloewi mewn grasusau, ac yn blodeuo mewn rhinwedd a moesoldeb. Mae yn adeg fanteisiol er arwain allan fuchedd sanctaidd a duwiol.

Fy anwyl gyd-ieuenctyd, ystyriwch, mai yn moreuddydd bywyd y mae yn fwyaf manteisiol i ni gymeryd ei iau arnom; oblegid y mae Duw wedi rhoddi ei gymeradwyaeth i'r tymhor hwn. "Cofia yn awr dy Greawdwr, yn nyddiau dy ieuenctyd."

Hon ydyw yr adeg fwyaf cyfleus i ymuno â milwyr Iesu Grist, i rodio mewn doethineb, ystyriaeth a phwyll, ac i gynyddu mewn gwybodaeth grefyddol, yr hon sydd yn abl i'w gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth. Y rhai

sydd yn cael y fraint o rodio ar lwybrau doethineb yn moreu eu hoes, y maent yn prydferthu ac yn harddu rhodfeydd Seion, ac yn addurn i gynnulleidfaoedd Israel yn y manau lle maent.

**Golwg hardd yw gwel'd ieuenctyd,**
**Yn moreuddydd hafaidd bywyd,**
**Yn ymrestru'n ewyllysgar,**
**O dan faner Iesu hawddgar.**

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 129.]

### CYDSEINIAID.

DOSBERTHIR y cydseiniaid i ddau fath; sef cyfnewidiol, ac anghyfnewidiol. Y cydseiniaid anghyfnewidiol yw y rhai sydd yn cadw eu sain a'u ffurf wreiddiol yn mhob amgylchiad, heb byth dreiglo i unrhyw ffurf-lythyren arall. Y rhai hyn ydynt y cydseiniaid *ch*, *ff*, *h*, *n*, *s*.

Y cydseiniaid cyfnewidiol yw y rhai sydd yn amrywio yn eu ffurf a'u sain ar ddechreu geiriau, o herwydd eu bod yn cael eu llywodraethu gan y geiriau sydd yn eu blaenori; neu gan Flaenddodiaid (*prefixes*) mewn riau cgeiyfansawdd.

Y cydseiniaid cyfnewidiol ydynt naw mewn rhifedi, y rhai hefyd a renir yn dri dosbarth; y dosbarth cyntaf yn cynnwys *c*, *p*, *t*; yr ail, *b*, *d*, *g*; a'r trydydd, *ll*, *m*, *rh*.

I'r cydseiniaid uchod y mae sain triphlyg; nid amgen y *meddal*, y *garw*, a'r *ysgafn*.

Dos. I Yn cynnwys *c*, *p*, *t*, sydd yn derbyn tri llunweddiad (*modification*).

Dos. II. Yn cynnwys *b*, *d*, *g*, nid yw yn derbyn ond dau, sef y *meddal* a'r *garw*.

Dos. III. Yn yr hwn y mae *ll*, *m*, *rh*, nid yw ond yn cymeryd y sain *meddal* yn unig.

Er mwyn eu cyfleu yn fwy trefnus o flaen y darllenydd, dichon y bydd y daflen ganlynol yn fuddiol :—

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Gwreiddiol . . . . | c | p | t | b | d | g | ll | m | rh |
| Meddal . . . . . | g | b | d | f | dd | — | l | f | r |
| Garw . . . . . | ngh | mh | nh | m | n | ng | | | |
| Ysgafn . . . . . | ch | ff | th | | | | | | |

Dos. I. Y SAIN MEDDAL. Y mae y cydseiniaid uchod yn derbyn y sain *meddal* dan yr amgylchiadau canlynol :

1. Pan fyddont yn cael eu blaenori gan Ferfau, oddyeithr bod y Ferf yn y modd Anmhennodol ; megys,

"Gwyn fyd na *chawn* gan FADAWG,
Am fy nghân *gwpan* neu *gawg*,
Pan *yrw gwpan* arian,
I mi am *ragori'r gân*.—*Dewi Wyn.*

Ond pan fo y Ferf yn y modd Anmhennodol, neu yn cael ei blaenori gan yr Arwydd Cyfraneius *yn*, cymer y gydsain ei sain gwreiddiol ; er engraifft,

"*Planu*, ac nid *prynu pren*,
Ymddiried mwy i dderwen."

"YR ARGLWYDD, yr hwn sydd *yn preswylio* yn Seion."
—*Salm.*

2. Y mae llythyrenau dechreuol *Ansoddeiriau* yn cymer- y sain *meddal*, pan fyddo yr *Enwau* sydd yn eu blaenori yn y rhyw benywaidd ; megys

"*Bendith* rad i fad a fydd."—*D. Wyn.*

"*Gwraig ddoeth* a adeilada ei thŷ."—*Diar.*

3. Y cydseiniaid cyfnewidiol a gymerant y sain meddal ar ol Cyfryngddawd (*interjection*) ; megys,

"Gwae *fi* ! nad fyfi fai fo."—*D. ap Gwilym.*

"Och ! *dristyd* ddyfryd ddwyfron,
Och GELLI ! Och galed newyddion,
Och ! eilwaith *gorff* a chalon,
Och ! *roi'n* y bedd mawredd Môn."—*G. Owain.*

4. Ar ol Rhagenwau Personol ; ar ol y Rhagenwau Medd-

iannol, *dy*, *mau*, *tau*; ar ol *ei* yn y rhyw Gwrrywol, ond nid yn Fenywol; ar ol y Rhagenwau Perthynasol *pa*, *pwy*. ac *a*.

ENGREIFFTIAU.

"*Mi a welais* y blinder a roddes Duw ar feibion dynion."

"*Efe a wnaeth* bob peth yn deg yn ei amser; efe a *osododd* y byd hefyd yn eu calonau hwy."—*Preg.*

Oh! 'mrawd bach, mawr yw *dy boen*,
* * * *
Dygn yw *dy boen*, dogn di baid."—*Dewi Wyn.*

"Ac ar *ei ddeddf* rhydd ddydd a nos,
Yn ddiddos, *ei fyfyrdod*."—*Edm. Prys.*

5. Ar ol yr ansoddeiriau rhifol *dau* a *dwy*; megys,

"Yr oedd gan ryw ŵr *ddau fab*."

"Efe a gymmerth ei *ddwy wraig*, a'i *ddwy lawforwyn*."—*Gen.*

[*I'w barhau.*]

## PRYNU YR AMSER.

WRTH "brynu yr amser" y meddylir, gwneuthur y goreu o'r amser, neu achub y cyfleusdra. O bob peth a roddwyd i ddyn, amser yw y peth penaf. Y mae o ganlyniad mawr pa fodd y'i treulir, pa un bynag ai yn ei berthynas â'r byd hwn, ai yn ei berthynas â'r byd ar ol hwn. Mae o bwys i bob gradd a sefyllfa; i'r cyfoethog a'r tlawd; i'r hen a'r ieuanc, a chanol oed. Meddyliwn am amser yn ei gysylltiad â phobl ieuainc. Nid yw llawer o honynt yn ystyried gwerth y trysor sydd yn eu meddiant. Gwastraffant ef wrth yr oriau, heb ystyried y gellir troi y rhan leiaf o hono i ddefnydd. Llawer bachgen tlawd a fagwyd mewn bwthyn gwael, trwy wneyd y goreu o'i amser a ddaeth yn feddiannol ar gyfoeth mawr, ac i fyw mewn palas gwych. Llawer gwas a ddaeth i fod yn feistr. Aml fachgenyn a welwyd yn brysur gyda'i lyfrau, pan fyddai ei gyfoedion yn chwareu. Tra byddent hwy yn cysgu yn hir y boreu, byddai ef wedi codi at ei alwedigaeth. Gomeddodd llawer un ei hun o lawer o bleserau o herwydd ei fod yn gweled ei amser yn rhy werthfawr i'w

dreulio felly. Mae amser yn sicr o dalu yn dda am y drafferth a roddir arno. Mae wedi dwyn ffrwyth filoedd o weithiau ar ei ddegfed ar hugain, ei driugeinfed, ac ar ei ganfed hefyd. Nid oes sicrwydd am lawer ariandy na fetha; ond am ariandy amser ni raid petruso yn ei gylch. Y mae pob sicrwydd y rhydd lôg da tra byddo dyn byw. Mae amheuaeth am lawer maes ar ol ei wrteithio, a ddug efe ffrwyth; ond os gwrteithir maes amser yn briodol, ni fetha byth a chnydio.

Nodwn ychydig siamplau er dangos fel y cododd amryw o amgylchiadau isel a thlawd, i sefyllfaoedd uchel mewn cyfoeth, anrhydedd, a dylanwad, wrth wneyd y goreu o'u hamser. Cawn esiampl hynod o hyn yn Benjamin Franklin. Nid oedd ond isel yn ei ddechreuad. Pan yn gweini fel egwyddorwas, codai amryw oriau cyn yr amser, er mwyn cael hamdden i ddarllen a dysgu rhyw wers a nododd allan. Byddai yn gweled yr amser yn rhy werthfawr hyd yn nod i fyned i ymofyn ei giniaw. Prynai dorth fechan i'w bwyta ar ffrwst, a rhoddai amser ciniaw i gasglu gwybodaeth. Cadwai ei geiniogau i brynu canwyllau, er mwyn darllen rhyw gymaint wrth fyned i'r gwely. Pa beth a ddaeth o hono wedi hyny? Daeth yn un o'r dynion mwyaf dylanwadol yn America; ie, yn yr holl fyd. Gwnaeth les i'r byd. Mae y byd heddyw yn ddyledus iddo am lawer o bethau.

Cawn esiampl nodedig arall yn George Stephenson, y peirianydd enwog. Dechreuodd ei fyd yn fachgen tlawd. Bu yn gweithio am ddwy geiniog y dydd. Daeth bob yn ychydig i ennill deuddeg swllt yn yr wythnos. Gwelodd erbyn hyn, ond iddo edrych ar ol ei amser, fod y dyfodol wedi ei sicrhau. Byddai yn codi yn fynych am ddau neu dri yn y boreu, i roddi rhyw fwriad mewn gweithrediad. Byddai yn glanhau awrleisiau ac oriaduron yn y nos, er mwyn cael arian i roddi addysg i'w fab. Trwy ddiwydrwydd a phenderfyniad, daeth yn mlaen trwy bob rhwystrau, nes o'r diwedd y rhoes ddyfais y rheilffyrdd mewn gweithrediad. Chwarddwyd am ei ben gan Seneddwyr; ie, dywedodd rhai o honynt ei fod allan o'i bwyll. Ond i fyny y daeth er y cwbl. Bu wedi hyny mewn llysoedd breninoedd. Cafodd giniawa gyda phenau coronog. Yr ydoedd pendefigion y wlad yn ei hystyried yn fraint cael bod yn ei gymdeithas.

Esiampl neillduol arall a gawn yn hanes William Cobbett,

Yr oedd wedi arfer gyru ceffylau i'w dad. Dysgodd ddal yr aradr i ryw raddau. Yr ydoedd wedi dyfod yn llanc cyn medru ond ychydig ar lyfr. Penderfynodd wneyd pethau mwy â'i amser na hyny. Gwelwn ef un diwrnod â hanner coron, yr hyn oll oedd ganddo, yn talu am ei gludiad i Lundain. Cafodd yno le isel mewn rhyw swyddfa. Cynnilodd ei geiniogau i brynu llyfrau, ac i gael ambell ganwyll i ddarllen ac i ysgrifenu, ac astudio rhifyddeg. Yn mhen ychydig ymrestrodd yn filwr. Daeth gyda y fyddin i America. Pan ar fwrdd y llong, achubai bob cyfle i ddysgu rhyw wers newydd. Byddai y nos yn y *barracks* yn darllen wrth oleu y tân. Daeth yn ysgolhaig medrus yn y modd hwn. Cyhoeddodd amryw o'i ysgrifeniadau. Rhoddodd allan gyhoeddiad cylchynol. Tynodd arno ei hun wg y llywodraeth, a chafodd ei garcharu. Parhaodd i ysgrifenu yn y carchar. Yn mlaen y daeth drwy bob rhwystrau. Gweithiodd ei ffordd i Senedd Prydain; ennillodd wrandawiad yno; a daeth yn ddyn o ddylanwad, ac yn feddiannol ar gyfoeth. Gadawodd amryw ysgrifeniadau pwysig ar ei ol. Gellir dywedyd iddo ddyfod yn mlaen i hyn oll drwy wneyd y defnydd goreu o'i amser.

Mae yr enwog Brown o Haddington yn llewyrchu fel rhyw seren ddysglaer, er dangos pa beth ellir ei wneyd drwy brynu yr amser. Bu yn weinidog ffyddlon a llwyddiannus dros lawer o flynyddoedd. Lnwodd le uchel mewn coleg; ac ysgrifenodd amryw lyfrau sydd mewn bri mawr. Mae ei goffadwriaeth yn beraidd mewn lluawa o eglwysi. Pa fodd y cyrhaeddodd ris mor uchel? Gellir ateb mai achub pob cyfleustra a wnaeth. Bu unwaith yn fachgen tlawd, yn cadw defaid ar un o fryniau Scotland. Adeiladodd iddo ei hun luest bychan, a darllenodd lawer yn hwnw wrth oleu y lloer. Prynai ambell ganwyll ddimai, pan allai. Dygai lawer awr oddi ar gwsg yn nhrymder y nos i ddysgu gwersi. Yn ei ddull manylaidd yn treulio ei amser yr oedd dirgelwch ei lwyddiant; ïe, yno yr ydoedd "cuddiad ei gryfder."

Dywedir fod Barnes, yr Esboniwr, yn nodedig am achub oriau y boreu. Y mae yn rhoddi heibio ysgrifenu am naw ar gloch bob dydd. Ei Esboniad gwerthfawr, sydd wedi bod yn fath gymhorth i filoedd o athrawon yr Ysgol Sabbothol, a ysgrifenwyd oll yn oriau y *boreu*.

[*I'w barhau.*]

## NED BACH.

AR brydnawn hyfryd o Ebrill, safai benyw dlawd a'i hunig blentyn ar gyfer drws tafarndy mewn rhan o dref Congleton. Ymddangosai y bachgen oddeutu 13 oed, a'r fam oddeutu 40. Daliai y fam law fechan dlos y bachgen yn yr eiddo hi, ac edrychai arno yn awr ac yn y man mor anwylaidd a phe buasai angel bach.

Saethai y dagrau o'i llygaid gleision mawrion gan dreiglo i lawr ei gruddiau teg, fel dangoseg o loesion tristwch mewnol. Gofynai y bachgen, "Mam, beth sydd yn gwneyd i chwi wylo fel yna? A ydych chwi yn glaf? De'wch mam, dywedwch wrthyf, neu rhaid i mi wylo hefyd—nis gallaf wrtho." "Peidwch chwi a llefain," meddai y fam; "gwyddoch fod llefain yn eich gwneyd yn glaf yn wastad. Heblaw hyny, os deil eich tad chwi yn wylo, bydd yn ddigllawn iawn, nid wrthych chwi, Edward, ond arnaf fi y syrth ei ddigllonedd. Cyhudda fi o wneyd i chwi lefain, yn enwedig yn awr, pan y mae ef yn——." Rhwystrodd ffrwd o ddagrau i Mari orphen ei brawddeg. "De'wch, dywedwch wrthyf, mam anwyl," ebe y plentyn yn gynhyrfus, "beth sydd." Pasiodd oddeutu deng mynyd cyn y gallodd Mari lonyddu ei henaid terfysglyd mor bell ag i roddi ateb i'r bachgen. O'r diwedd dywedodd, "Eich tad sydd wedi tori ei ardystiad dirwestol, fy anwylyd, yr hwn a ddygodd yr hen Henry Smith iddo oddeutu dau fis yn ol." "Beth!" ebai y bachgen mewn syndod, "tori y tocyn tlws gyda y farddoniaeth ysplenydd hono!" "Ië, Edward," atebai y fam, "chwi wyddoch iddo arwyddo hwnw gyda penderfyniad i beidio yfed dyferyn byth mwy o'r *diodydd meddwol.* Ond och! y mae wedi profi yn dwyllodrus i hyny. Mynych yr edrychais ar y tocyn pan yn hongian uwchben y *mantel-piece* gyda theimlad o hyfrydwch; yr wyf wedi darllen y farddoniaeth aruchel a gynnwysai ugeiniau o weithiau, Edward; ac yr oeddwn yn diolch i'r Hollalluog Dduw am fod eich tad yn un o aelodau y Gymdeithas a gynnyrchiolai; oblegid meddyliwn mai trwy dd'od yn ddirwestwr y gallai, mewn ychydig amser, ddarparu dillad addas i ymddangos yn nhŷ Dduw, ac yn y cynnulliadau hyny o lafurwyr gonest sydd yn cyd-gwrdd i wrandaw ar ddarlithwyr yn darlunio prydferthwch Dirwest, a'r angenrheidrwydd am y Maine Law yn ein gwlad ni, yn

mha le yn ddiau, trwy ddylanwad addysg a theimlad crefyddol, y byddai iddo agor ei galon i dderbyn argraffiadau o'r gwirioneddau dwyfol, a chael ei wneyd yn llawer mwy o elyn i'r fasnach feddwol. Ond yn awr—och!—mae ein dedwyddwch wedi myned, a'r Nefoedd yn unig a wyr a ddychwel efe byth! Fy anwyl blentyn, ni all dedwyddwch gydfyw â meddwodod, gwyddoch hyny eich hun; oblegid pryd bynag y deuai eich tad adref yn ei feddwdod, yr hyn, y mae yn dra thebyg a wna heno, canys y mae efe yn y tŷ pechadurus a gwaradwyddus acw yn awr yn yfed y diodydd sydd wedi eu halogi â dagrau gwragedd a gwaed plant, deuai terfysg ac afreolaeth gydag ef."

"Yr wyf yn meddwl," ebai Wilmot ieuanc, oedd yn awr yn llefain o herwydd annedwyddwch ei fam, "na wyr fy nhad ddim beth a ddywed y Beibl am y meddwyn. Mi a'i darllenais y Sabboth diweddaf i'm hathraw; pe byddai fy Meibl bach genyf yn awr, gallwn ei ddarllen neu ei ddangos i chwi, yr wyf yn meddwl ei fod yn rhywbeth yn debyg i hyn. "Ni chaif meddwon fyned i'r nefoedd." "Efallai, pe byddai fy nhad yn gwybod hyna, na fyddai ef ddim yn feddwyn." "Mi a'i darllenaf allan iddo pan ddel adref."

O'r diwedd syrthiodd ar eu clustiau swn cerddediad trwsgl yn nesu, yr hyn a roddodd derfyn ar eu hymddyddanion. Pwy oedd yno ond y gwr: daeth at ei wraig a'i unig blentyn, nid fel dyn, ond fel bwystfil rheibus, a'i reswm wedi ei ddiorseddu, gan ddal gwydraid o'r tân llosgedig yn ei law.

"O, fy anwylyd," eb efe "meddyliais mai chwi oedd yma; mi a'ch gwelais trwy ffenestr fach y *bar*, ac yr oeddwn yn meddwl y buasech yn fferu wrth fod yn aros y fan hyn yn agored i awel oer y nos; mi a ddaethym â rhywbeth twym i chwi i'w yfed, felly yr ydych yn gweled, fy anwylyd, fy mod yn dra gofalus am danoch. Cymerwch, yfwch, fe rydd fywyd newydd i chwi. Chwi deimlech fel pe gallech redeg gyrfa ag un o'r merched gwridgoch sydd yn addurno ystafell ddawns y dref fechan hon. Yfwch, ac yfwch yn dda hefyd; oblegid, a dweyd y gwir i chwi, yr wyf wedi ymwystlo y rhedwch yrfa â merch yr hen *Bill Sigleys*, prydnawn yfory, am chwart o gwrw, gwerth *wyth ceiniog*, ac y mae arnaf eisiau eich cael chwi mewn eithaf *trim* erbyn y pryd hwnw.

"Na, fy ngŵr, na na," ebai y wraig yn ddifrifol, gyda llygaid llawn o ddagrau, "ni yfaf fi ddim o'r peth sydd wedi

llanw fy nghalon â'r fath ofid—y peth sydd wedi alltudio am byth, yr wyf yn ofni, y gobaith cu ac anwyl hwnw a feddwn y dydd y gosodasoch eich enw ar y tocyn bach dirwestol. Och! y clwyf ydych wedi roddi i'm calon! Y nefoedd a faddeuo i chwi, Richard."

"Dystawrwydd," gwaeddai y tad, â llais taran, mewn pang o gynddaredd, a'i lygaid yn melltenu. "A'i dyma y modd yr ydych yn fy nhalu i aiê, wedi i mi wneyd gwystl i chwi redeg gyrfa, a dwyn allan frandy twym i chwi? Edrychwch chwi ati, Polly, mi ddof fi i fyny â chwi am hyn eto, ac ni chewch chwi ddim yfed y brandy chwaith. Ni byddai waeth gen' i pe byddech chwi yn fferu i farwolaeth yn y fan yma. Cymerwch hwn, Edward," ebe Richard, gan droi at ei fab. "Yfwch chwi, a pheidiwch a sylwi ar eich mam."

"Na, na," ysgrechiai Mari; "peidiwch, O! peidiwch, yr wyf yn *dymuno* arnoch beidio gosod fy mhlentyn i yfed y peth sydd yn achosi cymaint o drueni i ni; mae fy nghalon bron a rhwygo yn ddwy! O! Richard, fy ngwr! yr wyf yn dymuno ar Dduw eich bod y cyfaill caruaidd, anwyl, a sobr hyny oeddech cyn i chwi droi yn dwyllodrus i'ch ardystiad; y pryd hwnw treuliwn fy mywyd fel y bwriadwyd i mi gan fy Ngwneuthurwr, pryd yr oedd dedwyddwch yn harddu ein cartref bychan. Arferech eistedd ar foreu Sabboth i ddarllen rhan o'r Beibl cyn anfon Edward i'r Ysgol. O! pa mor ddedwydd oeddwn y pryd hwnw!"

"Wel," ebai Richard, yr hwn yr oedd ei gynddaredd wedi ei dofi trwy appeliad difrifol Mari, "ni chymhellaf ef i yfed, caiff foddloni ei hun; ond gofynaf iddo unwaith yn ychwaneg, "Ned, a yfwch chwi?"

"Na, fy nhad, mae yn well genyf beidio: mae yn fy ngofidio yn dost i'ch nacâu chwi, ond ni feiddiaf fi yfed o'r gwydraid yna."

"Paham?"

"O achos," ebai y plentyn, "diod o'r fath ag a gynnwysa y gwydr yna sydd wedi ac yn gwneuthur y meddwon a welir yn y byd, ac y mae fy Meibl i yn dyweyd "na chaif meddwon fyned i'r nefoedd." Mae llawer o filoedd yn *meirw*, ac yn myned i fedd meddwon yn flynyddol. Felly yr ydych chwi yn gweled, fy nhad, pe byddai i mi yfed peth o'r brandy yna, y byddwn yn yfed yr un fath wirodydd ag sydd yn anfon cymaint o filoedd i'r lle y mae wylofain a rhincian

dannedd yn y diwedd! O! fy nhad, byddwch fel myfi; teflwch y gwydraid yna i ffwrdd am byth. Rhoddwch ef i fyny Dewch, ac ail ardystiwch—arwyddwch eto, a bydd fy mam yn ddedwydd."

Canwyd genau y gloddestwr yn y man, ac yr oedd y gwirod a gafodd y diwrnod hwnw yn dechreu colli ei effaith ar ei gyfansoddiad. Edrychai ar ei blentyn synwyrol gyda llygaid synedig. Yr oedd geiriau Ned bach wedi trywanu ei galon: yr oedd yn ddyn unwaith yn rhagor; a chydag edrychiad gwgus ar y brandy, fe'i taflodd i'r llawr a thaflodd ei freichiau am Ned bach, cusanodd a bendithiodd ef; ac yna, fel gwr tyner, a thad cariadus, cerddodd adref.

Yn mhen ychydig wed'yn, gwelid tocyn dirwestol yn hongian uwchben y *matel-piece*, yn gystal a thocyn aelodaeth y Cynghrair Dirwestol. Y mae y teulu bychan hwn yn fyw yn awr, ac yn gwneyd yn dda, a'r tad yn bendithio y mab bychan yn feunyddiol, yr hwn dan fendith Duw, a fu yn foddion i'w achub rhag bedd y meddwyn.—*Cronicl.*

---

## BYWYD AC ANGEU YN LLUNDAIN.

RHYDD cofnodiadau Llundain am y flwyddyn 1858, yr hanes dyddorol a ganlyn: Bu yno yn ystod y flwyddyn 88,620 o enedigaethau—bechgyn 45,220, genethod 43,400; marwolaethau 63,882—gwrrywod 32,563, a benywod 31,319. Ychwanegiad y boblogaeth trwy fwy o enedigaethau na marwolaethau, 24,738, trwy ymfudiad, 27,952: yr hyn a wna o gwbl yr ychwanegiad yn 52,690, neu tua mil yr wythnos.

Yr oedd y marwolaethau yn ol y cyfartaledd o 24 i 1,000. Bu 5,535 feirw yn y gweithdai, 57 yn y carchardai, a 4,412 yn yr ysbyttai a'r gwallgofdai Felly gwelir fod agos i un o bob chwech yn meirw yn y sefydliadau cyhoeddus—agos i un o bob unarddeg yn y gweithdai.

Mae Llundain yn helaethu ei therfynau yn gyflym. Mae yn gorchuddio 121 o filldiroedd o dir, yr hyn sydd yn gyfartal i 11 o filldiroedd bob ochr pe buasai yn ysgwâr. Yr oedd y boblogaeth yn 1801, yn 958,863, ac yn y flwyddyn 1851, yn 2,362,236. Yr oedd Llundain 1858 yn gyfartal i dair Llundain 1801. Mae ei phoblogaeth yn fwy na'r chwech Taleithau Dwyreiniol a elwir Lloegr Newydd gyda'u gilydd.

## Y WLAD SYDD WELL.

(*Efelychiad o waith Mrs. Hemans*).

Clywaf di yn son am wlad o ddedwyddwch;
Gelwi ei phobl yn feibion hyfrydwch;
Fy Mam! O pa le mae yr oror ysblenydd,—
O! na chaem ei meddiannu o afael ein cystudd.
Ai lle mae eurlwyni mewn hedd yn blaguro,
A maesydd o berion yn siriol flodeuo?
"O nage! nid yno mae'r ardal hyfrydlon,
Lle gorphwys y dedwydd oddiwrth eu gofalon!"

Ai yn ngwlad y pomgranad a'r palmwydd pereiddiawl,
Lle distyll y gwin oddeu ffrwythau addfedawl,
Neu mhell yn y cefenfor mewn hafaidd werddonau,
Lle chwyth hoff awelon dros erddi perlysiau,
Ac adar hyfrydlais yn odli llawenydd,
Mewn mentyll eurddoeawg, a thegwch ysblenydd?
"O nage! nid yno mae'r ardal hyfrydlon,
Lle gorphwys y dedwydd oddiwrth eu helbulon!"

Ai yn mharthau dwyreinfyd, lle drych haul y boreu,
A threiglynt afonydd ac aur hyd eu glanau.—
Pelydron arianaidd y gem a ddysgleiniant,
A llethri gan wythi o berl a lewyrchant,
A bronau coethfeini goreurant yn hyfryd—
Ai yno, fy Mam! y mae Gwlad y dedwyddyd?
"O nage! nid yno mae'r ardal hyfrydlon,
Lle gorphwys y dedwydd oddiwrth eu gofidion!"

Fy mhlentyn! erioed ni chanfyddodd golygon,
Ni chlywodd y glust un o'i chathlau melysion:
Ei thegwch nid all unrhyw freuddwyd ddarlunio,
Gofid nac Angeu ni feiddiant fyn'd yno!
Amser ni chwyth ar ei bythawl wyrenig;
Canys uwch y cymylau a daiar lygredig,
Mae Cartref tragwyddawl y dedwydd dduwiolion,
Lle seiniant delynau gorfoledd nefolion!

T. Ll. Jones (*Gwenffrwd*).

---

## YR YMFFROSTIWR.

(*Buddugol yn Eisteddfod Llanfyllin*, 1867).

Ero'r ystum a'i fwstwr—mynu bri,
Mewn brol mae'r ymffrostiwr:
Syr ydyw fel siaradwr,
A'i fost yw ei brif ystwr.

Meiriadog.

# Y LLWYBR I WNEYD DAIONI.

## AWGRYMIAD I IEUENCTYD.

PAN y daeth ein bendigedig Arglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist o'r nefoedd i'r ddaear, i achub pechaduriaid, efe a aeth oddiamgylch i wneuthur daioni. Y mae pawb sydd yn ei garu yn dymuno bod yn debyg iddo yn hyn.

Efallai y dywedwch, Gobeithio y gwnaf ddaioni wedi tyfu i fyny, ond pa beth a allaf wneyd yn awr, pan nad ydwyf ond megys plentyn?

Os dywedaf wrthych, a wnewch chwi ymgeisio? Os na wnewch, mi'ch cynghorwn i roddi o'r neilldu yr erthygl hon yn bresenol, a'i chadw yn ddiogel nes y gellwch wneyd eich meddwl i fyny; canys dywed y Beibl, "I'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo." A wnewch chwi geisio? Gan hyny mi ddywedaf wrthych pa fodd y gall plentyn wneyd daioni:—

Onid ydych yn adnabyddus o ryw ŵr tlawd yn byw yn eich ymyl heb fedru darllen? Eisteddai drwy y dydd yn ymyl y tân, am ei fod yn eiddil ac heb fedru gweithio. Truan ddyn, mae ei oriau yn myned heibio yn hwyrfrydig; canys y mae gan ei wraig ddigon i'w wneuthur i ofalu am y tŷ; y mae'r plant wrth eu diwrnod gwaith, ac felly nid oes ganddo neb i fod gydag ef i ymddyddan âg ef, na'i gysuro.

Pan y byddoch gartref ar ol yr ysgol, dywedwch, A welwch chwi yn dda fy mam, adael i mi fyned i ymweled â'r dyn tlawd yn ——, neu y plentyn claf yn ——, neu y wraig sydd yn orweiddiog yn ——; yna os cewch ganiatâd, ewch, a chymerwch y Beibl gyda chwi, a gofynwch a gewch chwi ddarllen ychydig iddynt. Byddwch ofalus i ddarllen yn bwyllog, ac yn ddealladwy. O fel gwna'i hyny lawer

calon drom i fod yn llawen, os ceisiwch wneyd daioni yn y modd yma unwaith neu ddwy yn mhob wythnos!

Ond, dywedaf wrthych am lwybr arall, trwy ba un y gallech wneyd daioni. Mae yn bur debyg eich bod yn hysbys o rai plant yn yr un heol a chwi, nad ydynt yn myned i'r Ysgolion Sabbothol; dywedwch wrthynt, Yr ydym mor ddedwydd yn ein hysgol, fel y carwn pe deuech yno gyda mi. Mae ein gweinidog yn dyfod atom, ac mae e'n hathraw yn bur dirion wrthym. A gaf fi fyned i mewn, a gofyn yn eich tŷ chwi, a gewch chwi ddyfod i'r ysgol gyda mi? ac yna gallaf alw am danoch yn y boreu wrth fyned heibio.

Efallai yn y modd yna y gallech ddwyn plant i'r ysgol, y cyfryw, os gadewir hwy iddynt eu hunain, a dyfant i fyny yn anwybodus, yn ddiog ac yn annuwiol.

Wrth geisio gwneyd daioni i eraill y ceir hyd i'r iawn ffordd i'n gwneyd ni ein hunain yn ddedwydd; oblegid galarus ydyw i neb segura yr oriau na ddychwelant byth yn ol Dywed eich athraw wrthych pa fodd y gellwch wneyd daioni yn yr ysgol; ond wedi y cwbl, gartref ydyw y man i wneyd y daioni mwyaf. Ufuddhau i rieni ydyw gwneyd daioni, bod yn dirion at frawd neu chwaer ydyw gwneyd daioni; hyd yn nod chwareu mwyn, ac yn ei iawn amser yn wneuthur daioni. Chwi welwch gan hyny, y gall plentyn pur fychan wneyd daioni. Mewn gair, bydded y peth can lleied ag y b'o, *gwneyd y peth iawn, yn yr iawn adeg*, ydyw gwneyd daioni.

Dywedais ychydig eiriau yn nghylch y *peth* iawn; yn awr, dywedaf ychydig eiriau am y *ffordd* iawn. Wrth y ffordd iawn, nid ydwyf yn meddwl y dull goreu, er fod hyny o bwys; ond cael calon newydd ac ysbryd uniawn, sydd yn fwyaf angenrheidiol o gwbl, canys Duw a edrych ar y galon. Gan hyny, gweddiwch yn daer am i Sanctaidd Ysbryd yr Arglwydd breswylio ynoch, canys hebddo ef nis gellwch wneyd dim sydd dda. Rhoddwch eich hunain i fyny i

Dduw fel yn eiddo iddo, yn brynedig â gwerthfawr waed Iesu, ac ymdrechwch bob dydd i fyw er ei ogoniant.

*Slate Hill.* *Cyfl. gan* R. AP GWILYM.

---

## TRAGYWYDDOLDEB.

PENDEFIGES wedi treulio y prydnawn a'r hwyr wrth y cardiau a chyda'i chwmpeini gwageddos, a ddaeth adref ac a gafodd ei morwyn yn darllen llyfr crefyddol, hi a edrychodd ar y llyfr dros ysgwydd y forwyn, ac a ddywedodd, "Y peth melancolaidd tlawd! Pa bleser a elli gael wrth syllu cyhyd ar y llyfryn yna?" Ond y noson hono ni cha'i y bendefiges ddim llonyddwch i gysgu, ond ocheneidio ac wylo yn fawr iawn yr oedd hi. Ei morwyn a ofynodd iddi unwaith ac eilwaith, beth oedd y mater, o'r diwedd, hi a dorodd allan mewn dylif o ddagrau, ac a ddywedai, "O! un gair a welais yn dy lyfr di sydd yn fy aflonyddu, yno y gwelais y gair TRAGYWYDDOLDEB. O mor ddedwydd y buaswn pe byddwn barod erbyn *Tragywyddoldeb.*" Y canlyniad o'r argraff hyn oedd iddi roddi heibio ei chardiau, a gadael ei chyfeillion gwageddus, ac ymosod ei hunan i fyw yn sobr, ac i ymbarotoi erbyn byd arall. Pwy o honoch sydd ddoeth, ac a wrendy hyn? Pwy a ystyr ac a glyw erbyn yr amser a ddaw, canys digon yw yr amser a aeth heibio i wasanaethu pechod. Ieuenctyd yr Ysgol Sabbothol meddyliwch lawer yn ddifrifol am gynnwys y gair TRAGYWYDDOLDEB.

*S—r, O.* EPIPHANES.

---

## GONESTRWYDD YN CAEL EI WOBRWYO.

DYN o'r enw Perrin a gollodd ei dad a'i fam cyn gallu gwybod dim am danynt, ac anfonwyd ef i ysgol; ond, pan yn bymtheg oed, cyflogwyd ef gan dyddynwr i fod yn

ugail defaid mewn cymydogaeth, lle yr oedd merch brydweddol, o'r enw Lucetta, yn cadw defaid ei thad. Byddent yn aml yn cyfarfod a'u gilydd, ac yn bur hoff o fod gyda eu gilydd.

Wedi cydnabyddiaeth o bum' mlynedd, yn yr hwn amser y cawsant gyfleustra i fod yn hollol gydnabyddus o'u gilydd, rhyw ddiwrnod dywedai Perrin wrth Lucetta am iddi ofyn cydsyniad ei thad iddynt gael priodi. Cochodd Lucetta hyd ei dwy glust; ond ni omeddodd. Ac fel yr oedd ganddi neges i'r dref y diwrnod nesaf, defnyddiwyd y cyfleustra o'i habsenoldeb i wneyd y peth yn hysbys.

"Ah! yr ydych am briodi fy merch," meddai yr hen ŵr. "A oes genyt ti dŷ i'w chadw, dywed, ac arian i'w chynnal? Nid yw *fortune* Lucetta yn ddigon i'th gynnal di a hithau. Wnaiff hi mo'r tro, Perrin, wnaiff hi mo'r tro."

"Ond," meddai Perrin, "mae genyf ddwylaw i weithio, mae genyf ddigon yn barod i ddechreu byw, gwnaf weithio yn galetach i ennill rhagor."

"Wel," meddai yr hen ŵr, "Yr wyt yn ieuanc eto, os gelli di ddyfod yn gyfoethog, cai fy merch." Dysgwyliai Perrin am ddychweliad Lucetta yn y prydnawn.

Daeth Lucetta yn mlaen gyda golwg sobr, a gofynai,

"A gawsoch chwi gydsyniad fy nhad?"

"Ah! Lucetta," meddai Perrin, "yr wyf yn druenus am fy mod yn dlawd! ond pwy a ŵyr na chaniata rhagluniaeth fawr y nefoedd gyfnewidiad yn fy sefyllfa."

Fel yr oeddent yn rhodio gyda eu gilydd y noson hono, y naill yn ceisio cysuro y llall. Aeth Perrin ar draws rhywbeth, a syrthiodd i lawr ar y ddaear, a chafodd godaid o rywbeth trwm iawn. Wedi nesau at ryw oleu, cafodd mai codaid o aur ydoedd. Ymaflodd yn llaw Lucetta, a dywedodd,

"A wyddost ti beth, dyma godaid o aur, dyma beth a

foddlona dy dad." Ac ar y ffordd i dŷ ei thad, daeth rhywbeth i feddwl Perrin, ac a ddywedodd,

"Nid yw yr arian yma yn eiddo i ni, mae yn perthyn i ryw ddyeithrddyn, ac fe allai yn awr ei fod yn gofidio yn fawr o herwydd ei golled. Gadewch i ni fyned at y *Vicar* am gynghor." Rhoddodd Perrin yr arian yn llaw y *Vicar*, a dywedai, ei fod wedi edrych arnynt ar y cyntaf fel eiddo rhagluniaeth, ond iddo feddwl wed'yn, nad cyfreithlon oedd iddo eu cadw. Edrychai y *Vicar* yn syn arnynt, hoffodd hwynt o herwydd eu gonestrwydd.

"Perrin," meddai. "gwnaiff y nefoedd dy fendithio; ceisiwn gael gafael yn y perchenog, diamheu y gwnaiff wobrwyo eich gonestrwydd, gwnaf finau a allwyf—ti gai Lucetta."

Cyhoeddwyd yr arian yn y newyddiaduron, aeth peth amser heibio, ond nid oedd neb yn dyfod i ymofyn yr arian. Yna dygodd y *Vicar* hwynt at Perrin, a dywedai,

"Nid yw y deuddeng mil *livers* yn dwyn yr un elw fel hyn,rhodder hwynt allan yn y fath fodd ag i sicrhau y swm ei hun i'r perchenog os daw efe i ymofyn am danynt."

Prynwyd tyddyn, cafwyd cydsyniad tad Lucetta i ymbriodi. Pan oedd Perrin ryw brydnawn yn dychwelyd oddiwrth ei waith yn y maes, canfu gerbyd wedi dymchwelyd, a dau foneddwr ynddo, rhedodd i'w cynnorthwyo.

"Mae y fan yma," meddai un o'r boneddigion, "yn lle aflwyddiannus iawn i mi. Deng mlynedd yn ol, collais yn y fan yma, ddeuddeng mil o *livers*."

"Pa ymholiad a wnaethoch am danynt?" meddai Perrin.

"Nid oedd yn fy ngallu," meddai y boneddwr, "i wneyd un ymholiad yn y byd; yr oeddwn yn brysio i Port L'Orient, i fordwyo i'r India, gan fod y llong yn barod i hwylio."

Aeth Perrin â hwynt i'w dŷ, ac a ddangosodd iddynt ei ardd, ei anifeiliaid, cynnyrch ei feusydd, ac a ddywedodd,

"Mae hyn i gyd yn eiddo i chwi meddai wrth y boneddwr a gollodd yr arian, "daeth yr arian i fy llaw i—prynais y tyddyn hwn â hwynt. Yn awr, mae y tyddyn hwn yn eiddo i chwi." Edrychai y boneddwr ar Perrin a Lucetta, a'r ddau blentyn bychain oedd ganddynt, a dywedai,

"Pa le yr wyf, a pha beth wyf yn ei glywed! y fâth rinwedd mewn dynion o sefyllfa mor isel? A oes gennych chwi dir heblaw y tyddyn hwn?"

"Nag oes," meddai Perrin, "ond bydd arnoch chwi eisiau tenant, ac yr wyf yn gobeithio y gadewch i mi aros yma."

"Mae eich teilyngdod yn haeddu gwell taledigaeth," meddai yntau. "Yr wyf fi wedi llwyddo yn fawr yn fy ngalwedigaeth, ac wedi anghofio y golled i gyd erbyn heddyw, y mae i chwi ryddid i gymeryd y tyddyn hwn yn eiddo i chwi eich hunain." Pa ddyn yn y byd a allai ymddwyn yn fwy anrhydeddus?"

Tywalltodd Perrin a Lucetta ddagrau o orfoledd a llawenydd. Rhoddodd Lucetta ei dwy law ar ysgwydd Perrin, ac a ddywedodd,

"Dyma ragluniaeth ogoneddus."

Ddarllenwyr ieuainc yr "Arweinydd," byddwch onest.

*Sardis.* R. H. Evans.

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 145.]

6. LLYTHYRENAU dechreuol Enwau benywol a gymerant y sain *meddal*, os bydd y bannod yn eu blaenori

"Yr Arglwydd piau'r *ddaear* lawr,
A'i llawnder mawr sy'n eiddo."—*Edm. Prys.*

Enwau benywol yn dechreu â'r llythyrenau *ll* neu *rh*, ydynt eithriadau i'r rheol hon; engraifft,

"A Mair a ddewisodd y *rhan* dda."

"Efe a wnaeth y *lleuad* i amseroedd nodedig."

7. Llythyrenau dechreuol Enwau a Berfau a gymerant y sain *meddal*, pan fyddont, yn groes i'r drefn gyffredin, yn cael eu blaenori â'u hansoddeiriau; megys, "ei uniganedig *Fab*; "dy ddaionus *rad*; "ei fawr *drugaredd*."

8. Pan fo enw priodol, heb y bannod, yn cael ei dilyn âg enw arall yn dynodi yr un gwrthddrych, llythyren ddechreuol yr olaf a gymer y sain *meddal*; megys, Dafydd *Frenin*; Ioan *Fedyddiwr*; Ieuan *Brydydd*; Goronwy *Fardd*. Ond os gosodir y Bannod o flaen y naill neu'r llall, cymerant y y sain *Gwreiddiol*; megys, y Brenin Iago; y Prophwyd Jonah.

9. Y Rhagferfau cynnorthwyol, a, â, yn gyfystyr a y *sawl a*, *fe*, *e*, a barant i'r Ferf a fo'n dilyn, gymeryd y sain meddal; er engraifft,

"*A* wado hyn aed a hi."—*Dewi Wyn.*

Hyny yw, "Y *sawl a wado* hyn," &c.

"Fe *dd'*wedir rhyfeddodau
Am y Llywydd clodrydd clau."—*Dafydd Ionawr.*

"Yr hwn *a rodia*'n berffaith dda,
Yr hwn *a wna* gyfiawnder;
A'r hwn *a draetha* o'i galon wir,
*A drig* ar dir uchelder."—*Edm. Prys.*

10. Ansoddeiriau yn cael eu blaenori â'r rhagferfau cynneddfus (*qualifying*) canlynol, *can*, *go*, *iawn*, *mor*, *ni*, *pur*, *rhy*, *yn*; a gymeraint y sain *meddal*; fel y dengys yr engreifftiau a ganlyn:

"Na fydd *ry gyfiawn*, ac na chymer arnat fod yn *rhy ddoeth*."—*Preg.*

"Mae'r esgyrn yn chwyrn iachâu,
*Go weinion* yw'r gewynau."—*Dewi Wyn.*

"A'i ddillad oedd *can wyned* a'r goleuni."—Math.

11. Enwau ac Ansoddeiriau yn cael ei blaenori â'r arddodiaid *am*, *ar*, *at*, *i*, *o*, *oddiwrth*, *tros*, *trwy*, ac craill, a gymerant y sain *meddal*; er engraifft,

"Yn mhob achos *am bechu*."—*D. Wyn.*

"Ni fedd *at waith* y saith y sill,
Ond y pin i wneyd pennill."—*Yr un.*

"Hollalluog Dduw, yr hwn a roddaist dy un Mab i ni yn aberth *dros bechod*, ac hefyd yn eisampl *o fuchedd* dduwiol."—*Llyfr Gweddi Cyffredin.*

"Yn ŵr perffaith *at fesur* oedran cyflawnder Crist."—*Paul.*

Y rheol hon, yn ol Dr. W. O. Pugh, sydd fel hyn:—

"Y mae y llythyrenau dechreuol *meddalion* yn dyfod ar ol yr holl Arddodiaid, oddyeithr *yn* a *tua*."

Ond nid oes dim sydd amlycach na bod y rheol yna yn gwbl anghywir; yn gymaint a bod lluaws o arddodiaid na chymerant ond y sain gwreiddiol ar ddechreu y geiriau sydd yn eu dilyn; yn mhlith y cyfryw y cawn nid yn unig *yn* a *tua*, ond *a*, *mewn*, *amgylch*, *cer*, *goruwch*, *islaw*, *heblaw*, *rhag*, *ymysg*. *ymhlith*, *gerbron*, *gerllaw*, ac amryw eraill y gellid eu henwi.

12. Pan ddodir un ansoddair o flaen un arall, er ffurfio rhagferf, derbynia yr olaf o'r ddau Ansoddair y *sain* meddal i'w lythyren ddechreuol: er engraifft,

"Pan ddaeth y cyfryw lef ato oddiwrth y *mawr ragorol* ogoniant."—*Pedr.*

"Ein byr ysgafn gystudd ni sydd *odidog ragorol*."—*Paul.*

Cyfryw ydynt, hefyd, y geirweddion canlynol: "perffaith ddedwydd;" "gwir dduwiol;" "anfeidrol fawr," &c. Mae yr un rheol, hefyd, i'w chymhwyso at Ferfau ar ol ansoddeiriau; megys, "didwyll ddymuno; diargyhoedd fucheddu," &c.

13. Y Cysylltiad *neu* a bâr i'r llythyren gyntaf yn y gair a'i dilyna gymeryd y sain *meddal*; megys, "dyn neu *ddynes*;" "mab neu *ferch*," &c.

[*I'w barhau.*]

## Y FAM GRISTIONOGOL.

Y MAE cyfrifoldeb rhïeni yn fawr. "Rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist," "Fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corff."—Diau y gofyna Duw gyfrif manwl o berthynas i'r plant a ymddiriedodd i chwi. Os gadewir hwynt iddynt eu hunain, byddant yn chwerwder i chwi yma, ac yn ychwanegiad at eich damnedigaeth ar ol hyn. Os hyfforddir hwynt yn ofn yr Arglwydd, Efe a'u gwna yn llawenydd a chysur i chwi ar y ddaear, ac yn berlau yn eich coron nefol. Y mae y fam Gristionogol yn dymuno bod yn gywir yn hyn.

### MAE YN DYFAL WEDDIO.

Y mae yn rhoddi ei phlant i Dduw o'r foment y'u genir, ac yn taer erfyn gyda y gofal mwyaf am iddi gael ei fendith Ef. Y mae yn gweddio yn fynych dros bob plentyn wrth ei enw ar ei gliniau, a llawer gwaith yn y dydd yn ddirgel yn ei henaid. Y mae yn derchafu ei chalon am arweiniad a chymhorth ar bob achlysur, pa mor fychan y byddo, mewn afiechyd, damwain, neu ddrygfyd. Y mae yn ddystaw yn ei meddwl yn gofyn bendith arnynt pan yn eu hanfon i'r ysgol. Pan y meddylia am danynt yn eu habsenoldeb, er fod ei dwylaw yn brysur, y mae ei chalon o flaen yr orsedd drostynt. Pan yn edrych arnynt yn cysgu, atolyga ar Dduw edrych arnynt yn ei gariad. Y mae pob peth a wna drostynt yn cael ei berarogli â gweddi. Y mae hefyd yn gweddio yn eu gŵydd. Byddant yn ei chlywed yn gweddio, tywysa hwythau yn ieuainc i weddio.

### MAE YN SERCHOG.

Y mae pob mam yn meddu cariad naturiol. Y mae y fam Gristionogol yn meddu llawer mwy. Y mae cariad Crist ati hi wedi rhoddi ynddi gariad annhraethol o hunan-ymwadiad at ei rhai bychain; cariad tyner, amyneddgar, pa mor gyn-

hyrfus bynag y byddont; cariad a'i galluoga, er mor luddedig a thrallodus y byddo, i'w cysuro, a'u boddio; uwchlaw pob peth, cariad a'i galluoga i'w ceryddu—yn bwyllog, tyner, ond yn benderfynol—a iechyd eu cyrff, neu iechyd eu heneidiau.

MAE YN DDIANWADAL.

Gŵyr mai ewyllys Duw ydyw i rïeni lywodraethu eu tai er daioni. Gofyna ufudd-dod yn ddiysgog. Yr hyn a orchymyna ni oddef iddynt anufuddhau iddi. Y mae yn ddiysgog a dianwadal yn ceryddu anwiredd, anonestrwydd, neu anweddeidd-dra, hyd yn nod mewn plant bychain iawn. Gŵyr y gofyna Duw gyfrif am yr awdurdod a ymddiriedodd iddi, a cheisia ei arferyd megys iddo Ef.

MAE YN DDIWYD.

Llafuria foreu a hwyr am eu daioni tymhorol ac ysbrydol. Gwisga hwynt yn ofalus, dysga iddynt yr oll a ŵyr, ac yn ddiolchus enfyn hwynt i'r ysgol, yn ddyfal, glanwaith, a thrwsiadus. Gwrendy ar yr hyn a ddysgant. Hyfforddia hwynt i garu y Sabboth a thŷ Dduw.

Cymhella at WIRIONEDD, GONESTRWYDD, PURDEB A PHARCH.

Gwobrwya yn llawen GAREDIGRWYDD, HUNANYMWADIAD, DIWYDRWYDD, TREFN, GLANWEITHDRA, A DEFNYDDIOLDEB.

Ac fel annogiad i hyn oll, amcana yn ddidor i reddfu ynddynt ofn a chariad Duw. Dywed wrthynt am Waredwr—ei sancteiddrwydd, ei hynawsedd, ei barodrwydd i faddeu eu pechodau a'u derbyn hwynt, pa bryd bynag, trwy ras Duw, y gwelant ac y teimlant eu cyflwr pechadurus yn ngolwg Duw, ac yr edifarhant o'i herwydd ger ei fron Ef, ac yr ymddiriedant yn Iesu Grist. Hyfforddia hwynt i ofyn yn feunyddiol am ei Ysbryd Sanctaidd i'w cynorthwyo i anrhydeddu Duw, ei ddydd, ei dŷ, ei lyfr, ac i gasau ac ofni pechu, ac i ffoi o gymdeithas y rhai drygionus.

Dilyna hwynt â gofal a thynerwch ychwanegol, fel y tyfant i fyny, a gwylia ar ei meibion a'i merched â llygaid diflino, gan ofalu eu bod yn gwisgo yn addas i'w sefyllfa, ac ymdrecha i'w cadw o bob magl.

MAE YN YMDDIRIED YN DUW.

Cyflwyna ei rhai bach iddo Ef heb arswyd. Ymddirieda hwynt i'w gariad, gan wybod eu bod yn eiddo iddo Ef yn fwy

nag iddi ei hun. Y mae yn dysgwyl ei arweiniad a'i fendith i lwyddo a goruwchrëoli ei holl ymdrechiadau. Ymddirieda yn ei drugaredd. Pwysa, a dadleua ei addewidion. Oni fendithia Efe y rhai a ymddiriedant ac a hyderant ynddo gyda boddlonrwydd a thrugaredd?

O! mor wynfydedig yw y gobaith y cawn ni, er mor annheilwng ein cyflwyno ger bron yr orsedd, wedi ein "cael yn Nghrist Iesu" "heb ein cyfiawnderau ein hunain,"—a chael y pryd hwnw mewn dwfn ostyngeiddrwydd a diolchgarwch ddywedyd, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi."

*Rome.* GWILYM AB DAFYDD.

---

## PRYNU YR AMSER.

[*Parhad o du dal.* 147.]

PAN feddyliom am luaws o weinidogion yr efengyl yn mhlith y Cymry, y rhai ni chawsant fanteision athrofäol; y rhai oeddent dan lwythau o ofalon teuluaidd; y rhai na feddent ond ychydig o "ddâ y byd hwn;" y rhai yr oedd eu tai yn wael, a'u dodrefn yn waelach; ïe, a ddyoddefasant eisiau rhai o angenrheidiau natur; eto, yr oeddent yn gawri mewn gwybodaeth ysgrythyrol. Trysorasant y rhan fwyaf o'r Beibl yn eu cof, a buont yn ser dysglaer yn eu dydd. Beth a'u gwnaeth mor enwog, yn wyneb y fath rwystrau? Buont yn ddiwyd iawn "mewn amser, ac allan o amser."

Dadleuir yn wyneb hyn gan lawer, na wiw iddynt *hwy* byth ddysgwyl cyrhaedd yr un tir a Franklin; mai hollol anobeithiol ydyw iddynt hwy gerdded yr un llwybr a Stephenson; na welir mo honynt hwy yn Senedd Prydain fel Cobbett; a phe caent hwy "oes Methuselah," na ddeuai byth Esboniad allan ganddynt hwy fel un Barnes; na llyfrau rhagorol fel rhai Brown o Haddington. Gellir ateb, fod defnydd mewn llawer llanc i wneyd pregethwr enwog, neu brydydd galluog, neu areithiwr hyawdl, neu ysgolhaig medrus. Mae yr esiamplau a enwyd, yn nghyda lluaws eraill, yn profi fod cestyll uchel dysgeidiaeth, ac anrhydedd, a chyfoeth, a dylanwad, yn gyrhaeddadwy i'r tlotaf yn y wlad ond rhoddi *amser* yn y farchnad oreu.

Ond i ddyfod yn nes. Pa faint o amser a dreulia llawer mewn tafarndai? Tafla llawer o ieuenctyd ein gwlad eu

hamser heibio wrth yr oriau yn siop y gof, neu yn nhy y teiliwr, neu y crydd, i adrodd chwedl ffol. Y mae llawer tŷ mewn llawer cymydogaeth yn fath o gyrchfa i dderbyn bechgyn a merched yn y nos i ymddifyru mewn gwagedd ac oferedd.

Y mae angen mewn lawer o ardalodd am athrawon ac athrawesau deallus yn yr Ysgol Sabbothol. Onid oes yn mhlith ieuenctyd yr oes lawer yn meddu ar alluoedd cryfion, a wnaent athrawon rhagorol, pe baent â'r arian a dreuliant am ddiodydd meddwol a myglys, ac a wariant yn afreidiol mewn ffeiriau, yn prynu Esboniadau a llyfrau eraill; ac â'r amser a dreuliant yn ofer, yn eu darllen? Ni byddai diffyg athrawon pe cymerai hyn le. Gellid, mewn llawer cymydogaeth, ar nosweithiau hirion gauaf, sefydlu cyfarfodydd darllen ac ysgrifenu. Codai hyny syched ar lawer am fyned yn mhellach. Magai awydd am wybodaeth; a threulid amser felly i ryw ddefnydd.

Onid yw cerddoriaeth eglwysig, a chanu cynnulleidfaol, yn isel mewn llawer man? Mae digon o amser yn cael ei wastraffu gan lawer a'u gwnai yn gantorion medrus. Treulia llaweroedd oriau gwerthfawr ar foreuau Sabbothau yn y gwely. Ceir llawer, y rhai ydynt yn brysur gyda gorchwylion y bywyd hwn ar foreuau yr wythnos, na thalant unrhyw sylw i oriau boreu y Sabboth. Gwelir y gweithiwr yn codi am bedwar neu bump ar ddiwrnod *gwaith*, ond yn cysgu neu orwedd hyd naw neu ddeg ar y *Sabboth!* Gofala yr amaethwr am y boreu ar hyd yr wythnos; ond caiff pawb godi y pryd y mynont ar y Sabboth. Pe byddai yr amser a dreulir fel hyn yn cael ei roddi i ddarllen y bennod, ac i chwilio am oleuni arni, byddai yr Ysgol Sabbothol yn llawer mwy adeiladol.

Ystyriwn eto y *canlyniadau gofidus o wastraffu amser.* Pe byddai modd cael amser yn ol i'r farchnad, byddai llawer un yn brysur iawn yn prynu o'r rhai a'i gwariodd i oferedd pan yn ei feddu. Edrychwn ar yr hen ŵr fu yn ddiofal o amser ieuenctyd. Ni ddysgodd erioed ddarllen. Ni threuliodd erioed awr i goethi ei feddwl; ac ni chyfoethogodd ei gof â thrysorau gwybodaeth. Y mae yr olwg arno yn ddiffrwyth. Os bydd ganddo blant, ni all ef eu harwain ar hyd meusydd gwyrddion gwahanol gangenau dysgeidiaeth. Os gofynant iddo gwestiwn ar unrhyw fater, nid all ef eu hateb;

y mae yn faich iddo ei hun, ac i bawb arall hefyd. Pe buasai wedi prynu yr amser pan yn ieuanc, buasai fel tywysen lawn addfed. Buasai pawb yn caruei gymdeithas. Buasai yn eistedd fel tywysog yn mhlith ei gymydogion. Talesid y parch mwyaf i'w gynghor a'i farn. Gall llawer un sydd heddyw yn druenus eu gwedd yn ngweithdŷ y tlodion, roddi yr holl fai arnynt eu hunain. Bu unwaith yn ddyn ieuanc a chryf, yn weithiwr da, yn ennill cyflog gwych; ond cludodd ei gyflog i'r dafarn, treuliodd yno lawer diwrnod gwerthfawr. Priododd, a chafodd blant; ond bu am ei oes yn gaethwas i dlodi. Pe treuliasai ei amser a'i arian yn y modd goreu, pwy a wyr na buasai erbyn hyn yn amaethwr parchus, neu yn siopwr llwyddiannus, a'i blant wedi cael dysgeidiath briodol, ac wedi cael eu gosod i fyny mewn sefyllfaoedd cysurus, a lleoedd o anrhydedd.

Mae amser yn ei berthynas â *byd tragywyddol* yn fwy pwysig fyth. Dyna fydd yn gwneyd uffern miloedd yn annyoddefol—adfeddwl am yr amser gwerthfawr a dreuliwyd ar y Sabbothau i fwynhau pleserau, yn lle bod yn moddion gras. Bydd yn ofnadwy ar lawer adgofio am yr amser a dreuliwyd mewn nosweithiau llawen a difyrwch cnawdol, yn lle i ddarllen y Beibl a gweddio. Bydd llawer merch ieuanc yn cofio am yr oriau gwerthfawr a dreuliodd yn y drych, i geisio harddu ei phen, a thrafferthu gyda phlethiad ei gwallt, yn lle treulio ambell i ddeg mynyd ar ei dwylin i weddio ar Dduw am drefnu ei chalon a harddu ei henaid. Bydd llawer tad yn dòrcalonus am yr amser a adawodd i gilio ymaith, yn lle ei droi i addysgu ei blant, a'u rhybuddio rhag dyfod o honynt hwythau i'r lle poenus hwnw. Bydd llawer mam yn flin arni am goleddu ei merched i dreulio eu hamser bron i gyd i barotoi dillad gwychion, i ymddangos ger bron dynion, yn lle eu hannog i roddi ambell ddeg mynyd i ymofyn am y wisg hono a guddia noethder eu henaid, ac a'u cymhwysa i ymddangos yn hardd yn nydd mawr y farn. Pa faint a glywir ar wely angeu yn dymuno am ychydig oriau, ac yn ochain am eu mawr ffolineb o ddibrisio eu hamser! Gellir dyweyd, wrth derfynu, fod pinaclau uchel gwybodaeth, anrhydedd, dylanwad, a chyfoeth, yn agored i dderbyn a chroesawu y neb a wna y goreu o'i amser. Ië, gellir dyweyd fod y nef ei hun yn barod i agor ei dorau i'r neb a wna wir ddefnydd o'i amser.—*Cronicl.*

## JOE BRACE.

MAB ydoedd i dyddynwr yn mhlwyf W——, a thrwy ei ddiriedi a'i gampau drwg oedd yn peri llawer o drafferth i'w "riant." Un tro dygwyddodd i Joe gael ei ddal mewn rhyw drosedd, ac yn gosb arno anfonwyd ef i'r cae corn i weithio hyd oni welai y "rhiant" a nodwyd yn addas ei ryddhau o'i galedwaith. Aeth Joe ati gan weithio yn galed hyd ganol dydd. Amser ciniaw a ddaeth ac a basiodd, a neb yn galw ar Joe druan at giniaw, yr hwn erbyn hyn ddechreuai deimlo fod ei gosb yn "drymach nag y gallai ei ddal;" ond yn parhau i ddal ati yn ddiwyd o hyd, gan ddysgwyl bob eiliad clywed yr alwad i'w ryddhau, o leiaf am ryw ysbaid, oddiwrth ei dasg; ond nid oedd un arwydd o waredigaeth i'w ganfod.

Yr oedd yr hen ŵr wedi penderfynu y "cai ei chwysu hi allan," fel y dywedai; a chan ymollwng ar y *sofa* syrthiodd i gwsg. Daliai Joe ati yn ffyddlon hyd dri ar gloch, pan oedd ei newyn bron a'i orchfygu, a phenderfynai fynu rhywbeth "i lonyddu ei gylla" yn wyneb pob perygl. Felly ar ol gollwng yr *hoe* o'i law aeth yn ddystaw tua'r tŷ; a thrwy fod yr hen wr yn cysgu, a bod y rhan arall o'r teulu wedi myned i'r parlwr i groesawu dyeithriaid, gallodd fyned i'r bwyd-gell yn ddirwystr. Y peth cyntaf gafodd yno oedd *mince pie* newydd grasu, ac wedi ei roi ar y ffenestr i oeri. Pan ar ganol bwyta y *pie* daeth y gath ato i'r gell gan rwbio yn ei goesau, a meddyliodd yn y fan am ffordd i dynu pob amheuaeth o feddwl pawb am dano ef mewn cysylltiad a'r weithred ar gost y gath. Cymerodd afael ynddi a dwbiodd ei dau bawen yn yr hyn oedd weddill o'r *pie*, yna gollyngodd hi i redeg ar y llawr, a phob cam a roddai yn gwneyd ei ôl ar y llawr. Yna prysurai Joe at ei waith, a'i natur wedi adnewyddu ar ol cael "tamaid."

Yn mhen ychydig ar ol i Joe fyned at ei waith gwelai yr hen wr yn dyfod o'r tŷ a'r gath dan ei gesail a'i wn ar ei ysgwydd. Ni ddywedodd air, ond aeth heibio o olwg Joe tu draw i fryn bychan.

Safodd Joe am fynyd i wrandaw, pryd y clywai ergyd allan o wn yn sydyn ar ei glustiau, yn gymysgedig ag ysgrechfeydd y gath, yn dangos yn amlwg beth fu tynged y gath druan. Yn uniongyrchol ail ymddangosai yr hen wr a'r gwn yn ei law

a'r mwg yn cordeddu allan o hono; a phan oedd yn pasio oni buasai ei fod yn lled hwyrdrwm ei glyw, gallasai glywed y bachgen gobeithiol yn dywedyd—

"*Dyna un arall wedi myned yn ysglyfaeth i dybiaeth amgylchiadol.*"—*U. H.*

---

## FFRAETHINEB TREIDDIAWL.

RHAI blynyddoedd yn ol, yn Nghymanfa Dinbych, dygwyddai fod amryw o bregethwyr a gweinidogion yn eistedd gyda'u gilydd i giniawa; yn mhlith pa rai yr ydoedd y gŵr hynod hwnw am ei ffraethineb, Mr. Jones, o Edeyrn: yr ydoedd ef yn un o'r rhai a bennodwyd i dori bwyd; gyda pha wasanaeth yr arferodd gryn lawr o ysgafnder ac ysmaldod, am yr hyn y ceryddwyd ef yn llym gan Mr. Ishmael Jones, yn ddifrifol, ac wedi hyny, dywedodd, "Gyfeillion, bu arnaf lawer o ofn am ddidwylledd fy nghrefydd, o dro i dro, ond y mae fy meddwl yn nghylch hyny mewn ystâd lawer mwy gysurus erbyn heddyw; yr ydwyf yn gweled fy mod yn fab yr addewid, canys y mae *Ismael mab Agar yn fy erlid.*"

---

## HELAETHRWYDD CYFOETH Y SAINT.

BONEDDWR un diwrnod a gymerodd un o'i gydnabyddwyr i ben rhyw le, er dangos iddo helaethrwydd ei feddianau, pryd yr ysgydwai ei law o amgylch, gan ddywedyd —"Dyna eiddo i mi;" a chan droi ffordd arall wedi'n, dywedai, "Dacw fy eiddo I hefyd, &c. A myfi biau y lle acw hefyd." Cyfeiriodd wedi hyny at ochr arall, gan ofyn i'r ymwelydd, "A welwch chwi y tŷ pell acw hefyd?" "Yna," meddai y cyfaill, "a welwch chwithau y dref-lan acw?" "Gwelaf" meddai yntau; "Y mae yn trigo yn hon acw hen wreigan dlawd ag sydd yn perchen mwy na chwi o lawer." "Beth yw hyny?" "Wel gall hono ddywedyd fod CRIST *yn eiddo iddi!*" Ymddangosai y boneddwr yn bruddaidd, ac ni ynganodd air yn nghylchh 'elaethrwydd ei feddianau wedi hyny.—*O Ddyddanion Iorwerth Glan Aled.*

## DETHOLION.

Y MAE y llwybr i ddefnyddioldeb fel y llwybr i ogoniant, yn llawn o anhawsderau.—*Cope.*

YR hwn sydd yn porthi ei adar, ni âd ei blant i newynu. —*Henry.*

Y MAE dyn heb grefydd fel llong yny dymhestl heb lyw, nac angor.—*Newton.*

Duw a wnaeth ddyn ar ei ddelw ei hun, dyn a wnaeth bechod ar ei ddelw ei hun, a phechod a wnaeth drueni ar ei ddelw ei hun.—*Venning.*

YR hwn nid yw yn meddwl ond anfynych am y nefoedd, nid yw yn debyg o fyned yno, oblegid yr unig ffordd i gyrhaedd y nod yw cadw y llygad yn sefydlog arno.—*Esgob Horne.*

TRI peth sydd yn gwneyd pregethwr da; gweddi, temtasiwn, a myfyrdod.—*Luther.*

Y MAE gallu pob dyn i wneyd daioni yn ymddibynu mewn gradd arbenig ar ei gymeriad.—*Wardlaw.*

PAN oedd Samson yn elyn cyhoeddus i'r Philistiaid, yr oeddent yn gorfod ei barchu fel un wedi ei godi gan Duw i adferu gogoniant Israel; ond pan ddechreuodd gyfeillachu â hwynt, a byw yn debyg iddynt, aeth yn wawd i holl Gaza. —*Massillon.*

## Y GWANWYN.

Y GWANWYN gwiw ei ynni—da weithian
Y daethost eleni;
Pob calon sydd yn lloni,
Wrth dy awel dawel di.

Mae'r ddaear gynar yn gwenu—mor llon,
Mae'r llanerch yn glasu,
A brig yr holl goedwig gu,
A'i hir-ddail yn blaendarddu.

Mae'r adar hygar hoywgu—yn beraidd,
Bob boreu yn canu;
Holl anian sy'n llawenu,
Gyda'r Gwanwyn ceinwyn cu.

*Sardis.* R. H. EVANS.

## GAIR AT EDRYCHWYR AR GLADDEDIGAETH.

"PA beth yr aethoch allan i'w weled?" Y mae yn eglur i bob dyn ystyriol wrth sylwi ar ymddygiad y gynnulleidfa yn gyffredin mewn claddedigaeth, nad yw y rhan fwyaf yn ystyried o ba herwydd y daethant yn nghyd—er hyn i gyd y mae arch ac amdo, corff a bedd, yn bethau difrifol; ac y mae claddedigaeth gyhoedd yn gyfleustra cymhwys i gyfleu addysg gyhoedd. Am hyny gofynaf eto, "Pa beth yr aethog allan i'w weled?" Sefwch ac ystyriwch! Ai ysta am weled a chlywed rhyw beth newydd a'ch dygodd allan? Ai i gyd-ymdeimlo â'r galarwyr y daethoch allan? ai ynte er mwyn gwrando beth sydd gan y gweinidog i'w ddywedyd er budd ac adeiladaeth eich eneidiau?

Os y cyntaf yw eich dyben, mae islaw yr hyn sydd yn gweddu i greadur rhesymol ar y cyfryw amser. Wrth sylwi ar ymddyddanion y rhan amlaf, gellid meddwl mai hyn yw eu dyben yn dyfod yn nghyd—canys hwy a dreuliant eu hamser, wrth ac yn nhŷ y marw, ac ar y ffordd oddi yno at ei fedd, yn gwrando ac yn adrodd rhyw beth newydd.

Gallesid dysgwyl ar achlysur fel hyn, y buasai yr hen a'r ieuanc yn ymofyn ac yn gwrando am bethau yn perthyn i fyd arall a bywyd gwell; ond yn lle hyn, ceir dynion mor llawn o'r byd a'i bethau, fel o'r braidd y dystawant tra byddo y gweinidog yn gweinidogaethu. I ba beth y daethoch allan? Ai i fwyta ac i yfed, i adrodd ac i wrando siaradach ofer, coeg ddigrifwch a phethau nad ydynt weddus? Os felly, gwell fuasai i chwi aros gartref; cofiwch, y mae amser yn rhy werthfawr i'w dreulio fel hyn. Onid oes genych lawer o bethau i'w gwneuthur dros Dduw, drosoch eich hunain, dros eich teuluoedd, a thros eich cymydogion? Y mae Duw, yr hwn sydd yn rhoddi i ni bob peth yn helaeth i'w mwynhau, yn dangos i ni werth amser, wrth y dull y mae ef

yn ei gyfranu i ni. Nid yw Duw yn rhoddi i ni yr ail mynyd, nes y byddo y cyntaf wedi darfod, a phan y byddo yn rhoddi yr ail, y mae yn rhoddi y drydedd o'r golwg, ac yn ansicr pa un a gawn ei mwynhau ai peidio. Am hyny dylem ddefnyddio pob rhan o'n hamser mewn modd ag a fyddo yn tueddu i'n hadeiladaeth ysbrydol.

Ond fe allai i chwi fyned allan i gyd-ymdeimlo â'r galarwyr, a gollasant gâr agos ac anwyl—ac yr oeddech chwi yn gydnabyddus âg ef, chwi a gawsoch ergyd trwm, yn ei farwolaeth ef, ac yr ydych am y tro olaf yn dyfod i ddangos eich caredigrwydd tuag ato. A chan eich bod yn llawenhau gyda hwynt pan yr oeddent yn llawen, yr ydych yn awr am wylo gyda hwynt pan y maent yn wylo; y mae eich dagrau yn gweddu i chwi, a'ch gofid yn gyfiawn. Y mae dynoliaeth yn gofyn y tynerwch a'r serchawgrwydd hyn, y mae rheswm yn ei gymeradwyo, a'r Ysgrythyr yn ei awdurdodi, yr Iesu a wylodd wrth fedd Lazarus. Ond cofiwch y gall serchiadau dynol weithredu yn nerthol, lle na byddo un egwyddor rinweddol yn hanfodi. Y mae llawer yn hollol amddifad o bob gwir rinwedd, yn dyner a chydymdeimlgar o ran tymher ac ysbryd. Llawer un a wylodd ddagrau heilltion wrth fedd câr, cyfaill, neu gymydog, yr hwn, er hyny ydoedd yn hollol ddyeithr i ofn Duw, yn elyn i Grist, ac yn ddirmygwr y serchiadau Cristionogol hyny, y rhai sydd yn derchafu dyn i'r graddau uwchaf o anrhydedd ar y ddaear. Nid yw cariad at ddyn yn deilwng o'r enw, os nad yw yn tarddu oddiar gariad at Dduw.

Ond fe allai y dywedwch, nyni a ddaethom allan i wrando ar y gweinidog, ac i sylwi ar yr hyn a ddywedai. Da iawn, yr oedd hyn fel y dylasai fod, ac yn hynod o weddus; chwi a welsoch y corff yn cael ei ollwng i weared i'r bedd, "daear i'r ddaear, lludw i'r lludw, pridd i'r pridd." Yn sefyll ar fin y bedd yn mhlith darnau o benglogau, eirch, bedd-arfau, a phryfed, chwi a gawsoch gyfleustra difrifol i

fyfyrio ar fyrdra bywyd—ar wagedd ac annigonolrwydd yr holl bethau a all y byd hwn eu rhoddi. Cyfoeth, anrhydedd a digrifwch a bob math ydynt wagedd a gorthrymder ysbryd. Ystyriwch, "cyflog pechod yw marwolaeth"—sylwch yn fynych a difrifol ar wirionedd ac uniondeb y bygythiad cyntaf, "Yn y dydd y bwytai di o hono gan farw ti a fyddi farw." Duw a lefarodd hyn wrth Adda fel gwreiddyn a chynnrychiolwr dynolryw—yr ydym ni oll yn cyfranogi yn nghanlyniadau ei gwymp ef—ac wedi gwneuthur ein hunain lawer o bethau yn haeddu marwolaeth—am hyny cyfiawn yw y gosodiad i ddynion farw, ac nid oes ond trugaredd Duw er mwyn Crist, a all ein hachub rhag "chwerwaf boenau angeu tragywyddol." Ystyriwch amgylchiadau marwolaeth—eich anadl yn pallu—rhwnc yn y gwddf—llygaid yn tywyllu—y dwylaw a'r traed yn oeri—y tafod yn bloesgi, yn methu tewi—cyfeillion yn wylo, ond heb allu cynnorthwyo, ymdrechwch i argraffu y pethau hyn ar eich meddyliau Gosodwch o flaen eich meddwl hefyd anfeidrol gariad Duw tuag at ddyn, yn nanfoniad ei "unig-anedig Fab i'r byd, fel y byddem byw trwyddo ef." Yr hwn a ddywedodd, "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd. Trowch eich wynebau ataf fi holl gyrau y ddaear fel y'ch achuber. Myfi yw y ffordd, y gwirionedd a'r bywyd, ac ni ddaw neb at a Tad ond trwof fi." Esa. xlv. 22. Ioan xi. 25; xiv. 6. 1 Ioan iv. 9.

A chwi yn gwybod yn brofiadol am lygredigaeth y ddynol anian, gochelwch ymddiried mewn dim, ond cyfiawnder Crist, gan gofio yn wastadol nad yw ein holl weithredoedd goreu ni, ein cyfiawnder, ein hedifeirwch, ein helusenau a'n cyflawniadau crefyddol o bob math, o ran haeddiant, ond "megys bratiau budron." Esa. lxiv. 4. Ond cyfiawnder Crist sydd fel llian main gwyn a glân—y wisg oreu—mantell cyfiawnder, &c., wedi ei wisgo â'r wisg hon gall y Cristion orwedd yn y bedd, gyda "gwir a diogel obaith o adgyfodiad i fywyd tragywyddol."

Yn yr ymddiddan a fu rhwng ein Harglwydd bendigedig â Nicodemus, chwi welwch yr angenrheidrwydd anhebgorol o ail-enedigaeth, "Oddyeithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Ioan iii. 3. Cyhoeddodd un o apostolion Crist trwy ei ysbrydoliaeth ef, mai un o ddeddfau anghyfnewidiol y nef yw, "Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Heb. xii. 14. Dymunwn eich hannog i fyw a'ch holl egni yn ffyrdd sancteiddrwydd tra fyddoch byw—i weithio tra gelwir hi heddyw—i lanw pob awr â gweithredoedd defnyddiol ac anrhydeddus—ac i fyw y cyfryw fywyd, fel y byddoch yn wastadol yn barod i ymadael o'r byd hwn, "Canys ni wyddoch na'r dydd na'r awr y daw mab y dyn." Yn ddiweddaf, byddwch fyw bywyd o edifeirwch, o ffydd, ac o sancteiddrwydd, gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig o fywyd tragywyddol trwy drugaredd ein Harglwydd Iesu Grist.

Yn awr, ddarllenyddion caredig, gofynaf, pa les a gawsoch chwi oddiwrth ystyried y pethau y bum yn son am danynt? Y mae eich eneidiau yn werthfawr yn ngolwg pob dyn da, a ydynt felly yn eich golwg chwithau? Y mae dull y byd hwn yn myned heibio, O na thwyllwch eich hunain—beth yw eich einioes chwi? "Tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Iago iv. 14. Y mae dynion marwol yn rhoddi pawb i farw, ond hwy eu hunain. Dyma y fath ynfydion yw dynion yn gyffredin, ac am hyny nid ydynt yn parotoi erbyn marw. Ond na fydded felly gyda chwi. Canys chwi a wyddoch fod yr amser yn agosâu yn gyflym, ac y bydd raid i chwi ymddangos ger bron Duw mewn barn, i dderbyn y ddedfryd ddiweddaf.

A yw y bedd, y pryf, a'r tywyllwch yn eich dychrynu? Darbwyller chwi i roddi eich holl ymddiried yn yr Arglwydd Iesu Grist, ac i orchymyn eich henaid i ei gadwraeth ef, ac efe a ofala am danoch. Y mae efe yn alluog i

gadw yr hyn a roddir ato erbyn y dydd hwnw. Yn y dydd mawr hwnw, pan y byddo yr Arglwydd Iesu yn gosod ei ddefaid ar ei ddeheulaw, boed eich rhan chwi a minau yn eu plith hwy. Rhodded yr Arglwydd i ni gael trugaredd gan yr Arglwydd yn y dydd hwnw. Amen.—*Cym. y Traethodau Crefyddol, Llundain, Rhif.* 48.

---

## ADDYSGIADAU YR HAF.

WEL, yn wir, dyma yr Hâf tesog, ffrwythlon, a llon, wedi dyfod eto! A diau mai nid yn unig er mwyn tyfu ymborth i'r corff, ac er mwyn lloni y meddwl y daeth, ond fod ynddo wersi i'r galon hefyd. Beth pe byddem yn ceisio sylwi ychydig ar rai o addysgiadau y tymhor difyr hwn? Gadewch i ni geisio. Ond cyn dechreu, aroswch i ni gael gwydriad o ddwfr oer, canys y mae y gwres yn codi syched mawr ar ddyn ac anifail. O mor dda a gwerthfawr yw y dwfr gloew yma a rhew ynddo, ar ddiwrnod poeth fel heddyw! Yn bendant hefyd, mae yn anhawdd peidio cymeryd hwn yn destyn i ddechreu. A chan fod adnod o'r Diarebion yn dyfod i'n meddwl y mynyd yma yn nghylch dwfr oer fel hyn, gadewch i ni sefyll uwchben hono am fynyd neu ddau. Dyma hi yr adnod :—

"FEL dyfroedd oerion i enaid sychedig,
yw newyddion da o wlad bell." Diar. xxv. 25.

Mae dwfr, efallai, yn un o'r pethau rhyfeddaf a wnaeth Duw. Meddyliwch am fynyd gymaint o hono sydd yn cael ei roddi i ddiodi holl drigolion y byd am ddiwrnod: ac nid oes pall arno byth. Y môr yw y ffynon fawr lle mae Duw yn ei gadw, ac y mae yn hallt yno. Er mwyn ei gadw rhag llygru, cedwir ef mewn halen, gan y Bôd mawr, hyd nes y bydd ei eisiau. Yna codir ef i fyny oddiyno yn darth i'r cymylau, pan bydd angen am dano, a gwneir ef yn *fresh* erbyn y gollyngir ef gan y cymylau ar y ddaear. Hynod

fel y mae yn cael ei gario a'i barotoi i ni yn newydd bob dydd yn yr awyr uwch ein pen. Gwna Duw y dwfr weithiau yn galed fel careg—dyna fo yn y telpyn rhew sydd yn y gwydryn yma. Dro arall gwneir ef yn eira gwyn, esmwyth, fel y mân blu. Dro arall troir ef yn darth ysgafn, anweledig, canys y mae miloedd o ronynau o hono yn esgyn heddyw yn yr awyr o'n cylch, er nad ydym yn eu gweled. A dont i lawr heno, yn wlith i adfywio y llysiau a'r blodau erbyn boreu fory. Ië, yn siwr i chwi, peth rhyfedd iawn yw dwfr. Ac nid rhyfedd yn unig, ond gwerthfawr anrhaethol hefyd. Beth a wnaem pe methem gael dyferyn o ddwfr ar y gwres yma am fis? Byddem farw oll o syched. Ystyriwch am fynyd, Beth pe byddai pob ffynon ac afon a ffrwd wedi myned yn hollol sych erbyn boreu fory? Diau y rhoddid *bill* can' dolar am lon'd y gwydryn yma o ddwfr. Ond oblegid fod Duw yn rhoi cyflawnder o hono, nid ydym yn ystyried ei werth. Pe peidiai Duw a rhoi cymaint a chawod o wlaw i ni o hyn hyd fis Medi, byddai pob capel yn y wlad yma yn llawn bob dydd, o bobl yn gweddio am dano; ond yn awr, am fod Duw yn ei roddi, mae yn ormod peth gan lawer droi i dŷ gweddi am un awr yn yr hwyr, unwaith yn yr wythnos, i ddiolch i'r Tad Goreu am roddi mor helaeth. O na, yr ydym yn rhy brysur i roi awr yrŵan i ddiolch, er na welem yn ormod rhoi wythnos i ofyn am dano, pe pallai.

Mae teithwyr a fuont yn cerdded ar draws yr anialdiroedd y mae son am danynt yn y Beibl, yn desgrifio eu syched pan heb ddwfr yn y gwres mawr ar y tywydd sych, nes y mae yn anhawdd dal heb wylo wrth ddarllen am eu caledi. Pan fydd y tafod wedi sychu yn y genau, ac wedi chwyddo yn llon'd y safn, o eisiau dwfr, a'r sychedig bron yn dymuno cael marw o'i boen o herwydd syched, dyna y pryd y byddai llon'd cawg o "ddyfroeddd oerion" yn dda a gwerthfawr anrhaethol. Peth felly sydd yn cael ei olygu yn yr adnod

sydd dan sylw genym. Ac y mae hîn wresog yr hâf, ac ambell i brydnawn fel heddyw, yn adeg fwyaf manteisiol i'n dwyn ni i feddwl am y fath beth.

Dywed y gwr doeth yma, fod "newyddion da o wlad bell, fel dyfroedd oerion i enaid sychedig." Hyny yw, y maent yn beraidd a gwerthfawr fel y dyfroedd oerion. Er mwyn i'r newyddion da fod yn ddymunol a gwerthfawr, rhaid i'r neb fyddo yn eu derbyn fod yn awyddus am danynt, a bod rhyw gysylltiad rhwng y newyddion a'r person fydd yn eu cael. Canys byddai cael llythyr o'r hen wlad yn mynegi fod arian lawer wedi dyfod i ran rhywun nad ydym ni yn ei adnabod, nac yn gofalu dim yn ei gylch, mor ddiflas i ni ag a fyddai dwfr oer i ddyn heb arno ddim syched. Ond pan mae mam yn dysgwyl gair oddiwrth ei bachgen, neu ei geneth, mewn gwlad bell, a chael llythyr yn mynegi eu bod wedi ennill cymeriad da, ac eiddo mawr, a'u bod yn dyfod adref i'w gwneyd hi yn gysurus am ei hoes, yna bydd y newyddion da hyny iddi hi fel y dyfroedd oerion i enaid sychedig. Newyddion da felly i Jacob oeddent y rhai am Joseph eto yn fyw, ac yn llywydd yr Aipht; yr oeddent fel dyfroedd oerion i'r sychedig i'w dad oedranus oedd yn Nghanaan, mewn prinder o achos y newyn.

Ond y mae ein meddwl yn rhedeg yn awr at y "newyddion da," goreu, o'r wlad bellaf; ac y mae y rhai hyny fel dyfroedd oerion i'r enaid sychedig, mewn modd arbenig yn nghyfrif rhai pobl. "Newyddion da" o'r nefoedd yw yr efengyl. Maent an hollol *newydd*, yn yr ystyr helaethaf. Peth newydd heb ddim cyffelyb iddo wedi bod erioed o'r blaen, oedd fod Arglwydd pawb oll wedi dyfod i'r byd yn faban, a'r Hwn sydd yn addurno y nefoedd, wedi dyfod i orwedd yn mhreseb ŷch. Peth hollol newydd yn amherodraeth Duw, yw fod modd gwneyd gelyn i Dduw yn blentyn iddo, ac yn etifeddiaeth teyrnas nefoedd.

Ac y maent y newyddion *goreu*, sef fod *teyrnas* yn barod

i bob pechadur tlawd a gred; a hono yn deyrnas "ddisigl" —na ddymchwelir byth.

Maent o "wlad *bell*" hefyd: y wlad sydd yn rhy bell i neb a aeth oddiyma yno ddyfod yn ol byth. Gwlad rhy bell i anfon llythyr yno, nac i gael un oddiyno oddiwrth neb o'n cyfeillion sydd wedi myned yno. Hefyd y wlad bell lle yr ydym ni oll am ymfudo i fyw yno byth, ydyw y wlad bell o'r hon y daeth newyddion da yr efengyl. Ond gadewch i ni gofio mai "fel dyfroedd oerion i enaid *sychedig*" yw y newyddion da goreu hyn. Os na byddwn *sychedig* am danynt, ni byddant ddymunol a gwerthfawr genym. Peth diflas yw dwfr i'r neb nad oes arno syched, felly hefyd y mae dyfroedd bywiol yr efengyl i'r neb nad oes syched arno am danynt.

O bydded i'r syched am ddyfroedd oerion, yr hâf yma, i'r corff, fod yn wers i ni yn nghylch y syched a ddylem deimlo am y "Newyddion da" sydd yn y Beibl i bechaduriaid.

Rhaid i ni aros hyd rhyw dro eto i gael ymddyddan pellach am addysgiadau eraill y mae yr hâf yn eu gosod o'n blaen.

*Utica.* R. L. Herbert.

---

## LLAIS CYDWYBOD.

Y MAE perygl o'r mwyaf i ni ddiystyru llais cydwybod yn moreu oes. Dylem dalu y sylw manylaf i'w gofyniadau, yn hytrach na rhoi ein hunain i afael temtasiynau y diafol, a throi clust fyddar ati, a'i suo i gysgu a obenydd difaterwch; a thrwy hyny ei chyd-dymheru â llais ein tueddiadau.

Y mae lluoedd o'n cydgreaduriaid trwy fyned i afael y byd a'i chwantau pechadurus, wedi boddi llais cydwybod, ac wedi suddo i aflendid, ac yn ymdroi yn ei ganol, ar thrwy hyny ychwanegu at ei euogrwydd. Beth yw yr achos fod

dynion yn myned yn orwyllt, ac yn aflywodraethus. Druain oeddent, maent wedi casglu iddi yn ystod eu bywyd, nes y mae yn cael ei phigo a'i gyru yn anesmwyth, a hithau yn dechreu cyhuddo ei pherchenog, trwy ddwyn ar gôf iddo ei ystranciau annuwiol.

Llŷs barn sydd yn yr enaid yw y gydwybod; o ganlyniad dylid gwrando a thalu sylw difrifol i'w chŵynion. Nid llŷs i'w ohirio yw hwn, oblegid pob trosedd a gyflawnir, y mae ganddi dystion byw i'th gyhuddo, nes bydd euogrwydd yn dy amgylchu o bob tu, gan hyny ystyria ei fod yn berygl o'r mwyaf i ni beidio rhoddi ei lle priodol iddi, i gael ein hiawn farnu. O mor werthfawr yw cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion. At yr Iesu y mae i ni fyned i gael dadlwytho ein hunain o euogrwydd. Dyma y lle y gall cydwybod gael lle tawel, clyd, i orphwys, yw yn mynwes yr Iesu.

Anwyl enaid, gwylia ar yr adeg werthfawr sydd yn dy afael, rhag y bydd dy dynged wedi ei sefydlu cyn y fory yn ng hanol dy euogrwydd a'th bechodau.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

---

## EFFAITH CWYMP O BEN TY.

YR oedd rhyw fachgen o Sais, fel y galwai ei hun, yn gweithio ar ben tŷ mawr, a darfu iddo rywfodd syrthio o ben y tŷ i'r heol. Codwyd ef i fyny yn farw, a phan ddaeth ychydig ato ei hun, dywedai, "O fy mhen bach i." Yr oedd y dynion yn methu a'i ddeall mewn unrhyw fodd. Cludwyd ef i'r ysbytty, ond siaradai ryw iaith yno nad oedd neb yn ei ddeall drachefn, er eu bod yn gwybod mai Sais ydoedd. Daeth rhyw Gymro i mewn, a phan glywai hwn yn siarad, a aeth ato, a throes allan mai Cymro oedd y dyn, ac mai Cymraeg loyw lân oedd yr iaith, er ei fod wedi gadael Cymru er ys tuag ugain mlynedd yn ol, ac anghofio y

Gymraeg! Dywedir i effaith y cwymp ei hollol amddifadu o'r gyneddf o siarad Saesoneg, a chynyrchu yn ei lie y gyneddf o siarad Cymraeg! Nid tebyg.

Yn awr, Mr. Golygydd, pe byddai i ni gredu yr hanes uchod fel gwirionedd trwyadl, ni a gynghorem ddarllenwyr yr "Arweinydd" i arfer yr un moddion er adfer y gyneddf uchod i amryw o'n cydwladwyr, ond yn fwyaf neillduol i'r rhai hyny sydd yn amddifaid o'r gyneddf o fedru siarad Saesoneg yn iawn, o'r hyn lleiaf hyd nes y medront.

Gwell i fachgen neu lodes wybod iaith eu mam na pheidio gwybod dim un iaith; o herwydd os credwn rai o honynt, na allant siarad Cymraeg, rhaid i ni gredu na allant siarad un iaith. Os ydynt yn caru y Saesonaeg mor fawr, mae yn drueni eu bod yn ei difrio mor ddrwg.

Mae gogoniant rhai yn eu cywilydd. Gwell gan ambell i fachgen penwan dyngu yn Saesonaeg na dyweyd ei bader yn Gymraeg, ac ambell i ferch, os dywed air Cymraeg, bydd yn ofalus i'w ddyweyd yn ddigon isel rhag i neb ei deall, ac os dygwydd i rywun ei chlywed, gwnaiff wrido yr un fath a phe byddai wedi gwneyd digon o ddrwg i gael ei chrogi.

*Sardis.* R. H. EVANS.

---

## GRAMADEG.

### RHIF V.

#### Y CYDSEINIAID CYFNEWIDIOL.

[*Parhad o du dal.* 161.]

Y CYFNEWIDIAD nesaf sydd yn perthyn i'r cydseiniaid yw i'r sain garw.

DOS. II. Y SAIN GARW. Nid oes namyn chwech o'r cydseiniaid cyfnewidiol yn derbyn y sain *garw;* sef *c, p, t; b, d, g;* a hyny sydd yn dygwydd dan yr amgylchiadau canlynol:—

1. Y mae y chwe' chydsain uchod yn derbyn y sain *garw*

(*aspirate*) pan fyddont yn cael eu blaenori â'r Rhagenwau Meddiannol *my*, neu *fy*.

> "Yr Arglwydd yw *fy Mugail* clau,
> Ni âd byth eisiau arnaf."—*Edm. Prys.*

> "Fel y daw y gwlaw a'r gwlith,
> Mae i undyn *fy mendith.*"—*D. Nanmor.*

> "Ac enwyna yn uniawn,
> *Fy nhymher* dyner a'm dawn."—*Dewi Wyn.*

2. Yr arddodiad *yn* o flaen Sylweddeiriau sydd yn troi y cydseiniaid dechreuol i'r sain Garw; megys,

> "Ni ddaw i'n blin awr ni blaid,
> *Yn Mrydain* o Nimrodiaid."—*D. Wyn.*

"Yr oedd gŵr *yn ngwlad* Us, a'i enw Job."—*Job.*

"Eithr yr awrhon *yn Nghrist* Iesu, chwychwi y rhai oeddech gynt *yn mhell*, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist."—*Paul.*

> "O Arglwydd na cherydda fi,
> *Yn mhoethni* dy gynddaredd."—*Edm. Prys.*

(EITHRIAD 1.) Nid yw yr arddodiad *yn*, yn blaenori Ansoddair mewn ystyr Ragferfol, yn troi y gydsain ddilynol i'r sain *garw*, eithr i'r *meddal;* megys, *yn dda* iawn; *yn bur* wael; ac os bydd y gydsain ddechreuol yn yr Ansoddair yn *ll*, neu *rh*, nid yw yn cyfnewid ei sain gwreiddiol; megys, *yn rhagorol* y llefarodd; *yn llwyddiannus* y gweinidogodd; *yn llawen* y dyoddefodd.

(EITHRIAD 2.) Nid yw *yn* o flaen Berf neu Barwyddiad fel Rhangymeriad, yn cymeryd y sain garw ar ei ol, eithr y gwreiddiol; megys, *yn gweled*, *yn darllen*, *yn canu*, *yn llefaru*.

DOS. III. Y SAIN YSGAFN. Y mae y cydseiniaid cyfnewidiol yn cymeryd y sain ysgafn dan yr amgylchiadau canlynol:—

1. Ar ol Rhagenw Meddiannol *ei* pan yr etyb i *her* yn Saesoneg, neu yn cael ei arfer mewn ystyr Benywaidd.

"Banon falch *ei thy*nged,
Lliw ewynfriw teg rhag ton nawfed."

"Ni thyr hwn *ei thy*rau hi,
Tra'r erys twr Eryri."—*D. Wyn.*

2. Y Rhagferf *tra* a dry gydseiniaid dechreuol yr Ansoddeiriau a'i dilynant i'r sain ysgafn.

"Mynych chwennychais weled hon,
Rhag mor *dra thi*rion ydoedd."—*Edm. Prys.*

"Mawr yw yr ARGLWYDD a *thra mo*liannus."—*Salm.*

"Ha wŷr Atheniaid! mi a'ch gwelaf chwi yn mhob peth yn *dra cho*elgrefyddol."—*Paul.*

"Nid pont heb *dra pho*nt."—*Diar.*

3. Y cydseiniaid dechreuol a gymerant y sain ysgafn ar ol y cysylltiad *a;* yr arddodiad *a;* a'r cysylltiad *na* neu *no.*

"Cynan *a Cha*dwaladr, cadr yn llwydd,
Edmygawr hyd frawd."—*Golyddan.*

"*Na thy*wysogaethau, *na phe*thau presennol, *na phe*thau i ddyfod."—*Paul.*

"Ei chlod fyth fwy *na Chl*wyd fawr,
Hefelydd hi i Faelawr."—*D. Wyn.*

"Canys wele, Lluniwr y mynyddoedd, *a Chr*eawdwr y y gwynt, yr hwn a fynega i ddyn beth yw ei feddwl.—*Amos.*

"A ddeuaf fi ger ei fron ef *a pho*ethoffrymau?"—*Micah.*

4. Y Rhagferfau Negyddol *ni*, *na*, a'r Cysylltiad *oni*. a ysgafnhant y cydseiniaid a'u dilynant; nid amgen *c*, *p*, *t*, y rhai yn unig sydd yn meddu y sain ysgafn.

"*Na chr*edwch i gyfaill, nac ymddiriedwch i dywysog." —*Micah.*

"*Ni che*l grudd gystudd calon."—*Diar.*

"*Oni chr*edwch chwi mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau."—IESU.

Nid yw y cysylltiad *neu*, fel y dywed Dr. O. Pugh, yn ysgafnu y llythyrenau a'i dilynant; megys y dengys yr eng-

reifftiau canlynol: caru, *neu g*asâu; mam *neu d*ad; y Cenedloedd *neu b*obl Israel. Y sain *meddal*, fel y gwelir, sydd yn cael ei *lywodraethu* gan *neu*.

*Nodiad.*—Dealled y Gramadegydd ieuanc, pan fyddo gair yn achosi i air arall gymeryd unrhyw ffurf neillduol, neu yn peri i ryw lythyren gymeryd sain gwahanol, y byddis yn arfer dyweyd fod y cyfryw air yn *llywodraethu* y pethau y mae yn dwyn y fath effaith neu gyfnewidiad arnynt.

[*I'w barhau.*]

---

## HIR WEDDIO,

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. CHRISTMAS EVANS.

YR wyf yn golygu (medd Mr. Evans) fod hir weddio yn cael ei wahardd yn eglur yn yr Ysgrythyr, ac yn cael ei anghefnogi yn yr holl esiamplâu o weddiau a geir yn y Beibl, yn enwedig yn y cynllun a dynodd Crist o benau gweddi. Gweddi Daniel yn pen. ix. ydyw, fe ddichon, yr hwyaf, oddyeithr gweddi Solomon wrth gysegru y deml, yn y Beibl, a hono dros holl Eglwys Dduw yn ei chaethiwed; eto gellir darllen hono yn bwyllog mewn llai na deng mynyd, pan y mae genym ni weddiau yn parhau dros haner awr! Dylai fod undeb dyben mewn gweddi, yn deuluaidd ac o flaen pregeth; dylai gweddi yr Arglwydd fod yn gynllun i grynhoi pethau i gylch byr, a bod ynddi grybwylliad am freninoedd, a phawb sydd mewn goruchafiaeth; ond fod deisyfiadau o flaen pregeth yn neillduol am gymhorth yr Ysbryd Glan i bregethu, a bod y gair yn cael ei arddel; yn lle rhygnu dros bob peth fel gweddiau y "*Common prayer.*" Pe byddech yn gyru deiseb am gael cofrestriad genedigaethau, &c., a hwnw i gael ei gyflwyno gan ryw aelod o'r Seneddr, a bod yn grybwyll am naw neu ddeg o hen ddeisebion, ac wrth fod y ddeiseb yn cael ei darllen, fod aelodau y Tŷ yn dyweyd, "Nis gwyddom ni pa un o'r deisyfion y maent yn eu geisio, gan eu bod yn crybwyll am ryddfreiniau er dyddiau y brenin William o Holland: dywedwch fod yn rhaid iddynt anfon eu deiseb yn fwy cryno, ac mewn gweddi ferach o'r hanner." A fyddai hyny ddim yn gywilydd i ti? Y mae llawer peth yn peri i

ni weddio yn hir heblaw gras; ac y mae llawer yn gweddio yn hir yn gyhoeddus, pan prin y maent yn gostwng ar eu gliniau yn y dirgel. Y mae yr hanesyn canlynol am Rowlands, Llangeitho, yn moreu-ddydd y bywhad yn Nghymru, yn werth sylw. Yn y *Sassiwn* a gynnelid yn y Capel Newydd, yn sir Benfro, yr oedd pregethwyr wedi pregethu y nos o'r blaen, ond yr oedd yn dra chaled yno: am ddeg ar gloch dranoeth, pregethodd un o'r offeiriaid o flaen Rowlands, ond heb ddim arddeliad, a chaledwch mawr yn gwisgo y gwrandawyr: gwedi i Rowlands godi i fyny, cyn rhoi pennill, na dim arall, dywedodd wrth bregethwr o'r enw Dafydd Pwllymarch, yr hwn oedd hynod am weddi fer i'r pwrpas presenol; "Dafydd," eb efe, "y mae yn rhaid i ti fyned i weddi fer o'm blaen i, i gynnyg rhwygo y cwmwl tew hwn; ni byddi di yn hwy nâ thair neu bedair mynyd wrthi, canys y mae y weddi hir a fu yma o flaen y cyfarfod wedi methu a rhwygo y cwmwl." Gyda hyny yr oedd Dafydd yn agor ei enau, gan ddywedyd:—"Arglwydd Iesu! er mwyn dy waed a'th ing, gwrando fi. Mae dy weision wedi bod yma yn ceisio nithio yn yr hwyr a aeth heibio, a'r boreu heddyw; ni allant wneyd dim, Arglwydd—nid oes yma un chwa o wynt nefol wedi wedi dyfod i'r cyfarfod hwn." Yna efe a ddyblodd erfynu, gan ddywedyd, "Gwynt, Arglwydd, gwynt, Arglwydd grasol, canys y mae yn dy ddwrn di y gwynt yn awr fel erioed. Amen." Disgynodd cawod o dynerwch ac wylo ar y gwrandawyr yn y man, a phregethodd Rowlands gyda hwyl hyfryd. Natur yw natur, a gras yw gras bob amser. Pe byddem ninnau yn cyfnewid hirfeithder marwaidd, am daerni byr a bywiog, caem weled mwy o ddeffroad. 'George Whitfield a ddywedai wrth ryw un oedd wedi gweddio o'i flaen, "Darfu i ti, frawd, fy ngweddio unwaith i ysbryd pregethu, a phe tewist y pryd hyny, buasit er ysgogiad i mi; ond trwy i ti barhau yn hir, tydi a'm gweddiaist allan o hwyl pregethu, wedi fy nyrysu yn nghoedwig hirfeithder a ffurfioldeb, ar ol i ti unwaith fy ngweddio i hwyl a thymher nefol."

---

## ATEBIAD FFRAETH.

FEL yr oedd gwr ieuainc yn y fynwent, yn eistedd yn alarus ar fedd ei dad, yr hwn a adawsai etifeddiaeth fawr iddo, dygwyddodd i'r ymddyddan canlynol gymeryd lle rhyngddo

â mab i wr tlawd a gladdesid yn yr un fynwent:—"Mae beddrod fy nhad I wedi ei wneyd o faen mynor; ei goffadwriaeth wedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau o aur; a'r palmant o'i amgylch o'r brith-waith cywreiniaf; ond waeled yw yr olwg ar feddrod dy dad di! dim ond dwy gareg, un wrth ei ben, ac un wrth ei draed, a thipyn o bridd ar ei gorffyn." Y bachgen tlawd a'i atebai, "Dal dy dafod, druan; ac nac ymffrostia; fe fydd fy nhad I wedi cyrhaedd Paradwys, cyn y gallo dy dad di symud y gareg oddiar ei fedd ddydd y farn."

## GWEDDI FY MAM.

YMDRECHAI dyn duwiol yn y wlad hon, adferyd carcharor calon galed oddiwrth ei ddrygioni, a'i ddwyn i edifeirwch am ei feiau a'u gadael. Wedi tair blynedd o lafur ofer gyda ef, daeth ei garchariad i ben, a gollyngwyd ef yn rhydd. Nid hir y bu heb droseddu eilwaith, a'i ddwyn i'r un carchar. Dechreuodd yr un dyngarwr ddarllen y Beibl yn ei glyw, a defnyddio moddion er ei adferiad, eithr dros amser mor aneffeithiol a'r tro blaenaf. Gofynwyd iddo a oedd ganddo rieni? "Nac oes." "Beth oedd dy oed pan fu farw dy fam?" Teimlodd y galon galed, a dywedodd y carcharor a'r deigryn ar ei rudd," wyth mlwydd oed." "A oedd dy fam yn wraig dduwiol?" "Oedd." "A glywaist ti hi erioed yn gweddio?" "O! do; gweddiai hwyr a boreu; a gwnai i minau weddio wrth ei deulin. *O weddi fy mam! y mae yn fy nghlustiau y mynyd yma.*" Torodd allan i wylo; a wylodd ei ddysgawdwr. Syrthiodd y ddau ar eu gliniau i gydweddio. Torodd gweddi y fam galon y mab oedd *wedi caledu fel y dur er's saith mlynedd ar hugain.* Gadawodd ei feiau, a'i garchar—unodd âg eglwys Dduw, a dilynodd lwybr ei fam tua gwlad purdeb a'r llawenydd. *Dyma ffrwyth gweddi y fam.—Athraw.*

## GWEITHRED GANMOLADWY.

PAN ofynwyd i'r Parch. D. Dickson, o Edinburgh, pa fodd yr ydoedd yn teimlo ei hun (ar ei wely angeu), yntau a

atebodd, "Cesglais fy holl weithredoedd da a drwg yn un pentwr, wedi hyny fföais gyda brys oddiwrthynt at Grist, ac ynddo ef yr ydwyf yn cael tangnefedd cyflawn."—*O Ddyddanion Iorwerth Glan Aled.*

---

## OES DYN.

Ail i wreichionen yn y nef,
Neu sain chwaledig, nychawl lef,
Pan drwy'r ëangder, ar ei hynt,
Y byddo'n boddi'n nghôl y gwynt.

Neu chwim ehediad eryr cryf,
Neu bér awelon ar eu chwyf,
Neu harddwch tyner flodau haf—
Mal hyn y dianc—byr y saf!

Mal gwlithyn gwan ar doriad gwawr,
Yn prysur-dreiglo tu a'r llawr—
Gosgöir dyn, o ddydd i ddydd,
Yn nês i'r bedd, nes yno bydd!

Mal llon chwysigen ar y lli,
Yn dawnsio mewn addurnawl fri,
Ar frig chwyddedig tonau erch,
Mae bywyd dyn a'i farwol serch.

Ail yw ei gorffyn brau i hon,
Tra gwisgai'r awyr glir yn llon,
O'i chylch ymdaena'r wawr yn hardd,
Ac arni'r Huan claer a chwardd.

Ond aden denu'r awel lem,
A'i chwal yn drwch o'i huchel drem;
A'r awyr wisgai—ymaith 'hed,
O'r gywrain gell, mewn brys ar led.

Ei rhyfedd oes ar wyneb crych,
Y llif, nid yw ond gwanaidd ddrych,
I ganfod hyd amserawl daith
Y dyn i drag'wyddoldeb maith.

E saetha angeu idd ei wedd
Arwyddion y dychrynllyd fedd;
Ehed ei wrid, a gwywa 'i nerth,
Syrth yn nhrafangau angeu certh!

I. G. A.

# IAITH Y RHAI OLL YDYNT YN ESGEULUSO GWEDDIO.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. E. PAYSON, D. D.

MAE yn naturiol i ddyn o'i febyd ieuangaf i waeddi am gymhorth pan mewn perygl neu gyfyngder, os tybia fod rhyw un galluog i'w achub o fewn clyw ei waeddiadau. Gan hyny y mae pob dyn teimladwy o'i ymddibyniad ar Dduw, a'i angen o'r bendithion hyny, nad oes ond Duw yn unig a ddichon eu cyfranu, yn sicr o weddio arno ef.—Mae yn golygu gweddi, nid yn unig fel ei ddyledswydd, ond fel ei fraint uchelaf, braint o'r fath, fel na chydsyniai i'w amddifadu o honi, dros fyned i ffau llewod am ei defnyddio. Felly y mae y dyn sydd yn gommedd, neu yn esgeuluso gweddio, yr hwn nad yw yn golygu gweddi yn fraint, ond fel rhyw faich blin, yn dyweyd mewn ymarferiad yn y modd egluraf, Nid wyf fi yn ymddibynol ar Dduw, nid wyf fi mewn angen am ddim a all efe ei roddi i mi, ac am hyny, ni ddeuaf fi ato ef, ac ni ofynaf am un ffafr o'i law ef. Nis gofynaf fi iddo goroni fy ymdrechion â llwyddiant, oblegid yr wyf fi yn alluog a phenderfynol i fod yn adeiladydd fy llwyddiant fy hunan; nis gofynaf iddo et fy nysgu na'm harwain, oblegid yr ydwyf yn gymhwys i fod yn ddysgawdwr ac arweinydd i mi fy hun; nis gofynaf iddo ef fy nerthu na'm cynal, canys yr ydwyf yn gryf yn ngalluoedd ac adnoddion fy meddwl fy hunan; ni cheisiaf ei nawdd ef, canys gallaf fy amddiffyn fy hun: ni cheisiaf ei drugaredd faddeuol, na'i ras sancteiddhäol ef, canys nid oes arnaf angen, ac nid wyf yn dymuno y naill na'r llall: ni cheisiaf ei wyddfod na'i gymhorth yn awr marwolaeth, oblegid myfi a allaf wynebu brenin dychryniadau ac ymdagu âg ef heb gymhorth neb, a myned i mewn i'r

byd anadnabyddus, i'r hwn y gall fy nhrosglwyddo, yn unig heb fraw nac arswyd. Dyna ddarluniad o iaith y dyn sydd yn esgeuluso gweddio.

---

## "YMGEDWCH RHAG POB RHITH DRYGIONI."

MAE y diafol yn gyfrwys iawn, defnyddia bob moddion er ceisio hudo dynion i afael ei ddichellion. Y mae mor gyfrwys, y mae yn gallu lliwio pethau i ateb y tueddiadau llygredig, nes y mae trwy ei ddylanwad yn eu llithio i afael ei gynllwynion pechadurus. Medr daflu ffugliw temtasiynau nes y maent yn ymddangos o'u lliw priodol. Ymgedwch rhagddynt, oblegid nid ydynt ond moddion llygredig er hudo a swyno dynion i gyflawni eu chwantau, y rhai sydd yn gwrthweithio yn erbyn pob tuedd dda. Dylid gofalu i beidio chwareu ar ymylon temtasiynau, a phrofedigaethau. Nid ar unwaith y mae dynion yn myned i afael ei ystranciau dinystriol, na, y mae yn gosod maglau i'w dal. Pa faint o ieuenctyd oedd a golwg obeithiol arnynt, sydd wedi cael eu llygru trwy ddarllen *novels*, nid ydynt amgen na seigiau drewllyd, er magu a meithrin egwyddorion anffyddol. Cedwch draw, oblegid nid ydynt ond moddion surllyd i gynyrchu anystyriaeth yn y meddwl.

Magl arall sydd ganddo, yw ymwneyd a'r pethau meddwol. Y mae yn dylanwadu ar y dyn i gymeryd un dyferyn bychan, gan ei berswadio y bydd iddo gyfodi ychydig ar ei ysbryd ; ac ar ol i Mr. Blys gael gafael yn y ffrwyn, bydd yn cael ei yru i gymeryd ychwaneg, a thrwy hyny yn ei gael i lawr i drofeydd meddwdod. Priodol oedd cyngor y gwr doeth, "Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei yn y cwpan."

Magl arall sydd ganddo ydyw, ei bod yn ddigon cynar iddynt i ymwneyd â dyledswyddau crefydd, y byddai yn [illegible]ddynt g[illegible]ymgyfoethogi, ac i gael eu hunain mewn

sefyllfa gysurus yn y byd. 'Fel hyn y mae yn cadw lluoedd yn nghwsg pechod, ac yn eu suo i gysgu ar obenydd difaterwch.

Hefyd ieuenctyd hawddgar, ymgedwch rhag y *parties*, a chöeg ddigrifwch y rhai ydynt rith drygioni. Yn nghanol y grechwen a'r gwag siarad, y maent yn foddion i arwain y meddwl i segurdod ac i rydu cynneddfau yr enaid. Byddwn ar y tir o wyliadwriaeth yn barhaus rhag ei gynllwynion, trwy gadw y meddwl gyda gwaith yr Arglwydd.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 181.]

5. Y MAE y rhifolion *tri* a *chwe'*, yn llywodraethu y sain ysgafn; megys, *tri p*heth; *chwe, th*roed.

O berthynas i Enwau priodol o ieithoedd eraill, megys yr Hebraeg a'r Groeg, y mae ysgrifenwyr Cymraeg yn amryfarn; rhai yn tybied y dylent fod yn ddarostyngedig i'r un cyfreithiau a geiriau Cymreig cysefin, ac eraill yn barnu nad oes gan ddeddfau yr iaith ddim awdurdod arnynt; ac fel y canlyn yr ysgrifenant, "Y mae Eubulus yn dy annerch, a *P*udens, a Linus, a *C*laudia." Ond y peth mwyaf rhesymol fyddai ymddwyn atynt ar yr egwyddor, "Os âi i Rufain, rhaid i ti wneyd fel y mae Rhufain yn gwneuthur,"—pan y mae y cyfryw Enwau yn cael eu derbyn i mewn i'r iaith Gymraeg, y dylent fod yn ddarostyngedig i reolau yr iaith hòno. Ac oni fyddai geiriau cyfunryw â'r rhai uchod yn ymddangos yn well ac yn fwy hysain pe ysgrifenid hwynt fel hyn,—"Y mae Eubulus yn dy annerch, a *Ph*udens, a Linus, a *Ch*laudia;" megys hefyd y rhai canlynol :—"A hwy a etholasant Stephan, gwr yn llawn o'r Ysbryd Glan, a Philip, a *Ph*rocorus a Nicanor, a *Th*imon, a *Ph*armenas," yn lle "Procorus a Nicanor, a Timon, a Parmenas, fel yr argreffir hwynt weithiau. Heblaw hyny, pa reswm sydd am

roddi *terfyniadau* Cymreig iddynt, os nad ymostyngant yn gwbl i ddeddfau yr iaith hòno? Paham nad ysgrifenid Paulus neu Paulos, Petros, Saulos; yn lle Paul, Petr neu Pedr, Saul, &c. Yn mhellach, oddyeithr i ni ddwyn y geiriau hyn i gyfagweddu â geiriau Cymreig cysefin, a'r cydseiniaid cyfnewediol i gael eu llywodraethu ynddynt hwy fel eraill, byddai yn anmhosibl penderfynu ystyr ymadroddion hafal i hwn, "Y cawr a regodd Dafydd;" pa un ai Dafydd a regodd y cawr, ai y cawr a regodd Dafydd? Yn ol rheolau Cyfatebiaeth, ei ystyr yw, Dafydd a regodd y cawr. Ond pe dywedid, fel y mae rheolau y cydseiniaid yn gofyn, "Y cawr a regodd Ddafydd," ni byddai modd camgymeryd.

Pa fodd bynag, nid yw y rhai a gymhwysant yr un rheolau at enwau estronol, yn cyffredin, ag at y rhai Cymreig, ddim yn gyfunwedd a chyson o ran eu hymarweddiad; oblegid ysgrifenant, "Epistol Paul *at T*imotheus," neu *at T*itus," yn lle, "Epistol Paul *at D*imotheus," ac "at *D*itus." "Pan aethym i Macedonia;" yn lle "*i* Facedonia." Ond nid yw ysgrifenwyr Cymreig yn cyduno mewn odid ddim ond i fod yn anghytun ac anghyson. Yn gymaint a bod deddfau yr iaith Cymraeg yn ei wneuthur yn angenrheidiol i ni, os mynwn fod yn ddealladwy, gymhwyso yr un rheolau at enwau sydd yn perthyn i ieithoedd eraill, dylem wneuthur hyny yn gyfunffurf, a hyny nid yn unig er mwyn cysondeb, eithr oblegid y rhesymau sydd yn ein darbwyllo i wneyd o gwbl. Dyna gymaint a ddywedwn o berthynas i gyfnewidiad cydseiniaid yn nechreu geiriau.

Dos. II.—*Cyfnewidiad cydseiniaid mewn geiriau cyfansawdd.*

Geiriau cyfansawdd yw y sawl a ffurfir o Enwau, Ansoddeiriau, neu Ferfau gwreiddiol, a hyny trwy osod Blaenddodiaid atynt; fel pe byddid yn gosod y Blaenddawd *cyd* o flaen y Ferf *rhanu*, yr hyn a wnelai y gair cyfansawdd *cyfranu;* *an* o flaen yr Ansoddair *glan*, a ffurfiai y cyfansawdd *aflan;*

neu *di* o flaen y gair *barn*, a wna y gair cyfansawdd *difarn*. Oddiwrth yr engreifftiau hyn ac ereill, cenfydd y darllenydd fod y gydsain olaf yn y Blaenddawd, a'r gyntaf yn yr Enw, yr Ansoddair, neu y Ferf, fel y dygwyddo fod, yn cyfnewid. Athroniaeth y pwngc hwn, neu y rheswm am dano, ydyw gwiwseiniad (*euphony*); ac y mae yn debygol mai er mwyn gwneuthur llythyrenau yn fwy hysain—hawdd eu seinio—a gwiwsain neu bersain, yr arferwyd y cyfryw gyfnewidiadau ar y dechreu. Y mae ein llafar beiriannau fel pe baent wedi eu cyfaddasu i seinio geiriau a brawddegau fel y maent pan siaredir yr iaith yn gywir; ac, am y rheswm yma, y mae y fath gyfnewidiadau yn seiliedig ar egwyddorion planedig yn ein cyfansoddiad. Ac os yw hysain a gwiwsain yn gydberthynasol i ddeddfau sydd yn ein natur; y naill yn cyfeirio at ein periannau llafar (*organs of speech*), a'r llall at ein chwaeth mewn seinyddiaeth, yr ydym dan ryw fath o angheurheidrwydd naturiol o gynanu neu lafaru geiriau a brawddegau megys yr ydym yn gwneyd; ac, oddiwrth y ffaith yna, yr ydym yn dadleu y dylem lythyrenu y geiriau a'r brawddegau yn gyfatebol, modd y byddo y gair *ysgrifenedig* yn cynnyrchioli neu yn portreadu y gair *llafaredig*. Iaith lafaredig oedd yn bod o flaen iaith ysgrifenedig; a hawdd ydyw canfod pa un ddylai blygu i'r llall. Os fel hyn y mae yn bod, gyda golwg ar y mater dan sylw, onid athroniaeth sillebiaeth neu lythyreniaeth yw, Bod i unrhyw arwyddluniau ysgrifenedig fod yn arddangos neu yn cynnrychioli y seiniau llafar mor agos ag y gellir; ac mai yr orgraff oreu, o ganlyniad, yw yr hwn sydd yn arddangos y cyfryw yn fwyaf cywir. Yr ydym yn hyderus yn dyweyd, am lawer o eiriau a brawddegau, y modd y maent wedi eu ysgrifenu, nad oes neb, ac ni fu neb erioed, a fedr eu cynanu neu eu seinio, heb roddi i rai llythyrenau sain gwahanol i'r eiddo y rhai a ysgrifenwyd.

[*I'w barhau.*]

## AWYDD AM ACHUB PLANT.

GALWAI Paul y Galatiaid, "Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf yn eu hesgor drachefn, hyd oni fforfier Crist ynoch;" yr hyn a ddengys ei fod mewn gwasgfa enaid gyda golwg ar eu hachubiaeth.

Hysbysir am y diweddar Dr. Griffin, ei fod am lawer o nosweithiau dilynol heb gysgu dim, mewn ymdrech meddwl am iachawdwriaeth ei ddwy ferch, y rhai oeddent yn hollol ddifeddwl am grefydd.

Ond un tro pan oedd enaid eu tad wedi bod yn y gwewyr dwysaf yn eu hachos, dyma y ddwy yn dyfod i'w ystafell yn y cyfyngder mwyaf, gyda golwg ar eu cyflwr; a gorchwyl hawdd a hyfryd i'w tad duwiol yn ngwyneb hyny oedd eu cyfeirio at Grist a'i groes; ac nid hir y buont heb allu llawenhau mewn gobaith.

Hysbysir hefyd am fab i weinidog duwiol arall, fod ei galon yn siglo rhwng pleserau y byd a dyddanwch crefydd. Daeth adfywiad grymus i'r Athrofa lle yr oedd yn aros. Yr oedd ei dad yn gwybod y byddai raid i'r fantol droi yn fuan; ac wrth ofni y buasai yn troi yn erbyn crefydd, ymroddodd i deimlo a gweddio yn yr achos. Un boreu daeth i mewn i ystafell lle yr oedd amryw o'i frodyr yn y weinidogaeth wedi cyfarfod. Yr oedd ôl gwasgfeuon ei ysbryd ar ei wedd. Erfyniodd arnynt gyd ymbil ag ef, ar ran ei fab ag oedd y pryd hyny yn cloffi rhwng dau feddwl—ei fod yn ofni i'r penderfyniad droi yn erbyn ei enaid.

Nid anghofiwyd ei wasgfa. Nid aeth ei weddi i'r llwch. Derbyniodd y fendith. Y mae ei fab yn weinidog ffyddlon i Grist, ac yn flaenor Coleg Duwinyddol.

*Marcy.* *Cyfl. gan* MORRIS D. ROBERTS.

---

## PA FODD I FOD YN ANNEDWYDD.

YR wyf wedi gweled anerchiadau at ieuenctyd, yn cynnwys cyfarwyddiadau "pa fodd i fod yn ddedwydd," mor aml fel na feddyliwn byth ysgrifenu arno. Ond yr wyf yn meddwl na welais ddim yn argraffedig erioed yn dyweyd y ffordd i fod yn annedwydd.

"Pa fodd i fod yn annedwydd! Hawyr! nid ydym am fod yn annedwydd."

Dim am fod yn annedwydd!! Pa fodd hyny? Yna, paham y cymerwch gymaint o drafferth i fod yn annedwydd? Nis gallaf ddirnad pa fodd y gall dyn ieuanc, ag sydd yn rhydd oddiwrth ofalon, a gofidiau, ac iechyd yn ei feddiant fod yn annedwydd. heb ymdrechu yn galed iawn i fod felly.. Ond gan fy mod wedi gweled dynion, y rhai a ymddangosant yn benderfynol, nid yn unig i wneuthur eu hunain yn annedwydd, ond pawb oddiamgylch iddynt hefyd, meddyliais y buasent yn ddiolchgar i mi am rhoddi ychydig gyfarwyddiadau yn nghylch y ffordd hawddaf a sicraf i gyrhaedd yr amcan.

Yn mlaenaf, bydded ynoch ddigon o hunanoldeb. Meddyliwch yn barhaus am danoch eich hun a'ch pethau. Na ofelwch am neb arall, ac na fydded i chwi deimlo dros neb, ond chwi eich hunain. Peidiwch byth a meddwl am yr hyfrydwch o weled dynion eraill yn hapus; ond yn hytrach, os gwelwch wenau ar wyneb eich cymydog, byddwch yn eiddigus rhag i arall deimlo yr hyn nid yw yn eich meddiant chwi. Cenfigenwch wrth bawb a welwch mewn gwell amgylchiadau na chwi, neu yn rhagori mewn dysg, moesau, a dylanwad; teimlwch yn angharedig tuag atynt, a llefarwch yn gul am danynt. Byddwch yn wastad ar eich gwyliadwriaeth rhag i neb dori ar draws eich iawnderau; ac os beiddia rhywun ddyfod yn rhy agos, brathwch ef fel ci drwg. Daliwch yn dyn dros eich eiddo, hyd yn nod pe na byddai yn werth hatling; canys y mae eich iawnderau mewn cymaint perygl a phe byddai yn werth can' punt. Peidiwch byth a rhoddi i fyny eich pwynt.

Cymerwch bob peth a ddywedir wrthych mewn modd chwareus, yn y dull difrifolaf. Byddwch yn eiddigus o'ch cyfeillion, rhag na fydd iddynt feddwl yn ddigon uchel am danoch; ac os rhyfygant roddi cynghor i chwi, penderfynwch eu bod am eich diraddio, a dwrdiwch hwynt yn dda: ac os ar ryw adeg yr ymddangosant heb dalu sylw digonol i chwi, rhoddwch y lliw gwaethaf ar eu hymddygiad, gan gasglu nad ydynt yn dymuno eich cyfeillach; ac felly, pan gyfarfyddoch â hwynt y tro nesaf, cofiwch edrych yn ddigofus, gan ddangos eiddigedd priodol; felly cewch fuan ryddhad oddiwrthynt,

a chewch derfyn ar gael eich aflonyddu gan gyfeillion—cewch yr hyfrydwch o fyw arnoch, ac ynoch eich hunain.

Bydded eich tymher yn geintachlyd, croes, a phigog. Na lefarwch byth mewn tymher dda, os gellwch helpio. Peidiwch a theimlo yn foddhaol wrth un peth, ond yn wastad i'r gwrthwyneb. Digiwch wrth eich cymydogion, ac yn enwedig wrth eich perthynasau agosaf; neu, os byddwch ar eich pen eich hun, digiwch wrth eich gorchwyl. Peidiwch byth a mawrygu dim ag sydd yn dlws, ac yn brydferth, mewn natur a chelfyddyd, ond cedwch eich llygad yn wastad ar yr ochr dywyll i bob peth—achwynwch ar ddiffygiadau yn y pethau goreu, ac edrychwch allan yn wastad am yr hyll, yr anmhrydferth, a'r annymunol. Os gwnewch hanner y pethau uchod, yr ydych yn sicr o deimlo yn ddigon annedwydd; ac yn dra sicr, os parhewch ynddynt, o orphen eich taith "yn y wlad annedwydd."—*O'r Cronicl.*

---

## DR. FRANKLIN A'R BEIBL.

DYWEDIR fod Dr. Franklin, yn ystod ei arosiad yn Paris, wedi ei wahodd i gwmniaeth o uchelwyr, yn yr hwn yr oedd y rhan fwyaf o wyr y Llys yn bresenol, a'i fod, trwy un o'i eofn symudiadau, wedi cynyrchu teimlad annghyffredin, ac wedi enill canmoliaeth uchel o herwydd ei athrylith.

Yn ol arfer yr oes ar wlad, ar ol myned trwy ddefodau arferol y prydnawn, y boneddigion a eisteddasant i lawr mewn ymyddyddan rhydd a chyffredin. Cristionogaeth oedd y pryd hwn. Gwawdid yr eglwys yn wastad, a thrinid y Beibl gyda llymder diarbed. Gwresogent fwy, fwy, yn eu nodiadau cellweirgnoawl. Un argiwydd mawr a archodd am fynyd sylw cyffredinol, trwy haeru gyda llais llawn, fod y Beibl, nid yn unig yn dwyll cywilyddus, eithr ei fo dhefyd yn hollol ddiffygiol o unrhyw deilyngdod llenyddol. Er fod yr holl gwmniaeth o Ffrancod wedi rhoddi cydsyniad calonog i'r frawddeg, ni roddodd Franklin un arwydd o gymeradwyaeth. Gan ei fod yn awr yn hoff ddyn y llŷs, ni ellid gwrando ar hyd yn nod ddystaw gondemniad oddiwrth un o'i bwys a'i ddylanwad ef. Apeliasant oll ato am ei farn. Atebodd Franklin yn un o'i ddulliau neillduol ei hun, mai braidd yr oedd efe yn barod i roddi iddynt ateb addas, o herwydd fod ei feddwl wedi bod yn rhedeg ar deilyngdod y llyfr newydd,

o ardderchawgrwydd anghyffredin, yr hwn y dygwyddodd iddo daro arno yn un o'r ystorfeydd llyfrau; a chan eu bod wedi gweled yn dda gyfeirio at nodweddiad llenyddol y Beibl, tybiai y gallai fod yn ddyddorawl ganddynt gydmaru teilyngdod yr hen lyfr gyda'i lyfr newydd ef. Os felly, byddai iddo ddarllen dernyn o hono iddynt. Yr oedd pawb yn awyddus iawn am i'r Doctor ddarllen rhyw gyfran o'r llyfr newydd annghyffredin. Mewn modd hynod o ddifrifol, tynodd o'i logell hen lyfr, a chyda medrusrwydd anghyffredin darllenodd iddynt ddernyn o farddoniaeth. Cafodd y farddoniaeth ei effaith. Y gwrandawyr edmygol a gyhoeddent ei fod y goreu a glywsent neu a ddarllenasant erioed. "Y mae hwnyna yn dlws," meddai un, "Addurniant yw hwnyna," meddai un arall. "Nid oes ei well yn y byd," oedd eu hunol lais. Dymunent oll gael gwybod enw y llyfr newydd, ac a oedd hwnyna yn esiampl o'i gynnwysiad. "Yn sicr, foneddigion," meddai y Doctor, gan wenu o herwydd ei fuddugoliaeth, "y mae fy llyfr yn llawn o'r fath ranau. Nid yw yn ddim amgen na'ch Beibl diwerth chwi; ac yr wyf wedi darllen i chwi weddi Habaccuc." Dysged y darllenydd ddoethineb oddiwrth y dygwyddiad hwn, a gwerthfawroged oruchel edd digyffelyb y Beibl.—*Arweinydd.*

---

## WASHINGTON WEDI TROI YN PHYSYGWR.

"FEL hyn y mae hi, fy anwyl blentyn," meddai gweddw dlawd wrth ei bachgen, gan sychu ymaith ei dagrau oedd yn treiglo yn araf ar hyd ei gruddiau nychlyd (yn wastadol), "Nid oes un adnawdd arall. Yr wyf fi yn rhy glaf i allu gweithio, ac nis gelli yr wyf yn hyderus, edrych arnaf fi a'th frawd bychan yn trengu o newyn. Gwna brawf a elli wrth ddeisyf gael ychydig sylltau, ac fe allai erbyn yr amser y delych yn ol, y byddaf finau yn well. Dos fy anwyl Harri; yr wyf yn gofidio oblegid dy anfon ar y fath neges, ond rhaid myned."

Y bachgen oedd a golwg fawrwych arno, oddeutu deng mlwydd oed, a neidiodd i fyny, ac a roddes ei ddwylaw am wddf ei fam, ac a aeth ymaith heb ddywedyd gair. Ni chlywodd yr ochenaid ingawl a roes ei fam pan oedd y drws yn cau ar ei ol; a da oedd na chlywodd, gan fod ei galon

iach ar dori eisoes. Heol gefn yn Philadelphia ydoedd, ac fel yr ydoedd yn cerdded yma a thraw ar hyd yr ystlysrodfa (*sidewalk*), edrychodd yn gyntaf ar un dyn, yna ar un arall, fel yr oeddent yn myned heibio, ond nid oedd neb yn ymddangos ei fod yn edrych yn garuaidd arno ef, a pha hwyaf y dysgwyliai, cyflymaf yr oedd ei galondid yn gwanhau, a mwy anhawdd gwneyd prawf i ymroddi i ddeisyf. Yr oedd y dagrau yn rhedeg yn gyflym ar hyd ei ruddiau, ond nid oedd neb yn gwneyd sylw o hono, os oeddent, nid oedd neb yn ymddangos ei fod yn gofalu dim yn ei gylch; er ei fod yn lân, yr oedd Harri yn edrych yn dlawd ac yn resynol, a pheth cyffredin i'r tlawd a'r truenus yw wylo a llefain.

Yr oedd pawb yn ymddangos eu bod mewn prysurdeb, a'r bachgen truan oedd mewn llwyr anobaith, pan o'r diwedd y canfu ŵr boneddig, yr hwn oedd yn ymddangos ei fod yn myned yn araf yn ei rodfa foreuol. Yr oedd wedi ei wisgo mewn dillad duon, a het drionglog am ei ben, a'i wyneb yn edrych mor fwyn a thirion ac angel. Rhywfodd holl ofnau Harri a ddiflanodd pan ei gwelodd, ac yn ddiatreg a nesaodd ato. Yr oedd ei ddagrau wedi bod yn llifo gyhyd, nes oedd ei lygaid yn hollol gochion a chwyddedig; a'i lais yn grynedig o herwydd gwendid, am nâ fwytasai ddim er ys pedair awr ar hugain. Fel yr oedd Harri â llais isel, bloesg yn deisyf ychydig o elusen, y gŵr boneddig a arosodd, a'i galon hynaws a doddodd o dostui fel yr oedd efe yn edrych ar wynebpryd hardd-deg y bachgen tlawd, a chanfod y gwylder dwfn oedd yn daenedig dros ei holl wyneb. a gwrando ar ei ostyngedig dôn wylaidd oedd yn cydfyned a'i ddeisyfiad.

"Nid wyt yn edrych yn debyg i fachgenyn a fyddai yn arferol o gardota ei fara," meddai ef yn fwynaidd, gan ddodi ei law ar ysgwydd y bachgen: "beth a'th yrodd i fyned fel hyn?"

"Yn wir," atebai y bachgen, a'i ddagrau yn dechreu llifo o'r newydd, "yn wir ni anwyd mo honof yn y cyflwr hwn. Ond anffawd (*misfortune*) fy nhad, a salwch fy mam a'm gyrodd i'r angenrheidrwydd yn awr."

"Pwy ydyw dy dad?" gofynai y boneddwr iddo, gan barhau i gyfrannogi o'i deimladau.

"Fy nhad oedd farsiandwr cyfoethog yn y ddinas hon, ond efe a rwymodd ei hun mewn ysgrifrwym i gyfaill iddo, yr

hwn yn fuan a fethodd yn ei fasnach, ac efe a ddystrywiwyd yn hollol ar unwaith. Nis gallai fyw ar ol y golled hon, ac yn mhen mis a fu farw o ofid, a'i farwolaeth a fu i ni yn fwy dychrynllyd na'r trallodau eraill. Fy mam, fy mrawd bach, a minau a suddasom i'r dyfnderau isaf o dlodi. Fy mam hyd yn awr oedd yn gallu cynnal ei hun a'm brawd bach trwy ei llafur, a minau yn ennill yr hyn a fedrwn wrth lanhau eira, a gwaith arall a allwn ei gael Ond echnos cymerwyd fy mam yn glaf iawn, ac y mae hi er hyny yn myned gymaint yn waeth, fel yr wyf yn ofni y bydd hi farw." Yr oedd ei ddagrau yn llifo yn gyflymach nag erioed. "Nis gallaf feddwl am un fford yn y byd i'w chynnorthwyo hi. Ni chefais i ddim gwaith i'w wneyd er ys wythnosau. Nid oes ynof galondid i fyned at yr un o hen gydnabyddiaeth fy mam, a dywedyd wrthynt ei bod mewn angen e u en. Meddyliais eich bod chwi yn ŵr dyeithr, Syr, a rhywbeth yn eich wyneb yn gorchfygu fy nghywilydd, ac a'm calonogodd i siarad â chwi. O, Syr, tosturiwch wrth fy mam dlawd." Dagrau a iaith ddiaddurn a chyffroawl y bachgen tlawd a gyffyrddodd â thant yn mynwes y dyeithr, yr hwn oedd arferol â mynych ymsigliad.

"Pa le y mae dy fam yn byw fy machgen?" gofynai â llais palledig; "A ydyw hi yn mhell oddiyma?"

"Y mae hi yn byw yn y tŷ diweddaf ar yr heol hon, Syr," atebai Harri. "Gellwch ei weled oddiyma, mae ar ol croesi y drydedd heol, ac ar y llaw aswy."

"A alwasoch chwi am Physygwr?"

"Naddo, Syr," meddai y bachgen, yn athrist, gan ysgwyd ei ben. "Nid oes genym ni ddim arian i dalu i physygwr nac am physygwriaeth."

"Hwda," meddai y gwr dyeithr, gan dynu darnau o arian o'i lawgell, "dyna dair dolar, cymer hwynt a rhed yn ddiaros am physygwr."

Yr oedd llygaid Harri yn tanio o ddiolchgarwch; derbyniodd yr arian, gyda llais bloesg ac anhyglyw, ond gyda golwg o'r diolchgarwch gwresocaf, ac a ddiflanodd o'r golwg.

Y gŵr dyeithr cymwynasgar yn ddiymaros a aeth i geisio tŷ y weddw glaf. Efe a aeth i mewn i ystafell fechan, yn mha un ni welodd ddim ond ychydig o beiriannau llafur benywaidd, bwrdd truenus, hen gist logellawg, a gwely bych-

an mewn un gongl, lle yr oedd y wraig glaf yn gorwedd. Yr oedd hi yn ymddangos yn wan, ac agos wedi llwyr dreulio; ac ar y gwely wrth ei thraed yr oedd bachgen bychan, yn sefyll ac yn wylo fel pe buasai ar dori ei galon. Yn cael ei gynhyrfu yn ddwfn gan yr olygfa, efe a nesaodd at y gwely, a chan gymeryd arno ei fod yn Physygwr, a ymofynodd am natur ei salwch. Yr arwyddion a amlygwyd mewn ychydig eiriau, pan ddywedodd y weddw gydag ochenaid ddofn,

"O, Syr, fy afiechyd i sydd a dyfnach achos iddo, ac un sydd uwchlaw celfyddyd physygwr ei wellâu. Yr wyf yn fam, yn fam druenus. Yr wyf yn gweled fy mhlant yn suddo beunydd yn ddyfnach, ddyfnach, mewn trueni ac eisiau, y rhai nid oes genyf un modd i'w cynnorthwyo. Afiechyd y galon yw fy afiechyd, ac angeu yn unig a all ddybenu fy nhristwch, ac y mae yn ddychrynllyd i mi, gan ei fod yn deffroi fy meddwl am y trueni i ba un y teflir fy mhlant." Yma y fath gynhyrfiad a attaliodd ei hymadrodd, a'r dagrau yn ymattaliedig a lifodd i lawr ei gruddiau. Ond y Physygwr ffuantus a lefarodd mor ddyddanus wrthi, ac a amlygodd y fath gydymdeimlad cynnes tuag at ei sefyllfa, fel yr oedd calon y wraig dlawd yn dychlamu gyda hyfrydwch anarferol.

"Nac anobeithiwch" meddai y dyeithr caredig; "meddyliwch yn unig am wellâu, a diogelu y bywyd yna ag sydd mor werthfawr i'ch plant. A allaf ysgrifenu cyfarwyddiad meddygol yma?"

Y weddw dlawd a gymerodd lyfr gweddiau o law y plentyn oedd yn eistedd gyd hi ar y gwely, ac a dorodd ddalen wen allan o hono.

"Ni feddaf" ebe hi "ddim papyr arall; ond fe allai y gwna hwn."

Y gŵr dyeithr a gymeroddd buntur (*pencil*) o'i logell, ac a ysgrifenodd ychydig linellau ar y papyr, ac a ddywedodd, "Y cyfarwyddyd hwn, chwi a'i cewch, bydd o fawr wasanaeth i chwi. Os bydd yn angenrheidiol, mi a ysgrifenaf un eto. Mae genyf obaith mawr am eich gwellâd." Efe a adawodd y papyr ar y bwrdd ac a ymadawodd. Prin yr aethai ymaith pan ddaeth y bachgen hynaf i mewn, ac a ddywedodd,

"Codwch eich meddwl i fyny, ac ymgysurwch, fy anwyl

fam." eb efe, gan fyned at ei gwely a'i chusanu yn serchog. "Gwelwch y peth a roes cymwynaswr caruaidd dyeithr i ni—gwna ni yn gyfoethog am amryw ddyddiau, cynnorthwyodd ni i gael Physygwr, ac fe fydd yma mewn mynydyn. Ymdawelwch, fy anwyl fam, a chymerwch galon."

"Tyred yn nês, fy mab," atebai y fam, gan edrych yn falch a serchog ar ei phlentyn. "Tyred yn nês, fel y'th fendithiaf. Ni âd Duw byth y diniweid a'r da. O bydded iddo yn barhaus wylio drosot yn dy holl lwybrau! Bu Physygwr yma ychydig yn ol Yr oedd ef yn ddyeithr, ond fe siaradodd â ni gyda y fath garedigrwydd a dyngarwch, ag oedd yn adferawl i mi fel balm i'm caion. Pan aeth ymaith, efe a adawodd y cyfarwyddiad yna ar y bwrdd; edrych a elli ei ddarllen ef."

Cymerodd Harri gip golwg ar y papyr, ac a roes swrth lam yn ol (*started back*). Fel yr oedd ef yn ei ddarllen drachefn, a thrachefn, methodd ymattal rhag rhoddi bloedd mewn syndod a rhyfeddod.

"Pa beth ydyw ef fy mab," crochlefodd y weddw dlawd, yn crynu mewn ofnau o'r hyn nis gwyddai pa beth oedd.

"Oh, darllenwch, fy anwyl fam! Duw a'n gwaredodd ni."

Y fam a gymerodd y papyr o law ei mab, a chan gynted ag y sefydlodd hi ei llygaid arno, hi a lefodd, "Washington ydyw!" ac a gwympodd yn wysg ei chefn ar y gobenydd mewn llesmair.

Yr ysgrifen oedd rwymedigaeth oddiwrth Washington (canys yn wir efe ydoedd), trwy yr hwn yr oedd y weddw i dderbyn y swm o gan' dolar o'i eiddo neillduol ef ei hun, i'w gwneyd yn ddau cymaint os byddai achos o angenrheidrwydd.

Yn yr enyd hono, daeth y Physygwr oeddent yn ei ddysgwyl i mewn, ac yn fuan a ddadebrodd y wraig o'i llewyg lesmeiriol. Y llawenydd aruthrol, yn nghyda maethwraig dda, pa un a ddarparodd y Physygwr iddi, a digonedd o ymborth iachus, a adferodd y wraig i gyflawn iechyd.

Dylanwad Washington, yr hwn a ymwelodd â hwy fwy nag unwaith, a ddarparodd i'r weddw gyfeillion, y rhai a'i diwallasant hi â gwaith gwastadol ac ennillfawr; a'i meibion pan gyrhaeddasant oedran cymhwys, a ddodwyd mewn sefyllfaoedd parchus, lle yr oeddent nid yn unig yn alluog i

gynnal eu hunain, ond i droi gweddill bywyd eu mam yn gysurus a dedwydd.

Bydded i'r plant ac erai i a ddarlleno yr hanes hwn, gofio pan feddyliont am Washington, y dyn da, a mawreddog, nad oedd ef uwchlaw myned i anneddau tlodi ac eisiau, a chludo llawenydd a hyfrydwch i galonau eu cyfaneddwyr. Nid chwedl ffugiol ydyw hon, ond yn unig un o fil o'i droion a ellid eu mynegu am dano, a'r hyn sydd yn ei nodi yn un o'r dynion goreu. Ddarllenydd, "Dos a gwna dithau yr un modd." Luc x. 37. W. G.

---

## CYFREITHIAU SWEDEN YN NGHYLCH MEDDWDOD.

Y MAE cyfreithiau yn erbyn meddwdod yn cael eu gweinyddu gyda llymder mawr yn Sweden. Pwy bynag a welir yn feddw, a ddirwyir am y trosedd cyntaf o dri dolar, am yr ail, o chwech; ac am y trydydd a'r pedwerydd o swm mwy fyth; a chaiff hefyd ei ddifuddio o'r rhagorfraint o bleidleisio mewn etholiadau, ac o gael ei benodi yn gynrychiolydd. Caiff hefyd heblaw hyn ei wneuthur yn hysbys i'r cyhoedd yn eglwys y plwyf y Sabboth canlynol. Os bydd i'r unrhyw berson droseddu y bummed waith, cauir ef i fyny mewn cerydd-dŷ (*house of correction*), a dedfrydir ef i chwe' mis o lafur caled; ac os ceir ef drachefn yn euog, caiff ddeuddeg mis o gosbedigaeth gyffelyb. Os cyflawnwyd y trosedd yn gyhoeddus, mewn ffair neu arwerthfa, &c., y mae y ddirwy i'w dyblu; ac os gwnaeth y troseddwr ei ymddangosiad yn yr eglwys, mae y gosb i fod yn llymach. Pwy bynag a geir yn euog o gymhell un arall i feddwi, efe a ddirwyir o dri dolar; a bydd i'r swm gael ei ddyblu os bydd y person cymhelledig dan oed. Os bydd i ŵr eglwysig syrthio i'r trosedd hwn, efe a gyll ei bersoniaeth; ac os yn wr lleyg, ac yn cadw rhyw swydd o bwys arno, attelir ei weithrediadau, a chaiff, efallai, ei ddiswyddo. Ni dderbynir meddwdod byth yn esgusawd dros unrhyw drosedd; a phwy bynag fydd marw yn feddw, efe a gleddir yn anmharchus. Y mae yn waharddedig rhoddi, ac yn fwy pendant gwerthu unrhyw wirodydd poethion i efrydwyr, gweithwyr, gweision, &c. Pwy bynag a ganfyddir yn feddw yn yr heol, neu yn cadw swn mewn tafarn, efe a fydd yn sicr o gael ei gymeryd i'r carchar, a'i gadw yno nes

iddo sobri; ond ni bydd hyn, er hyny, yn ei gadw oddiwrth ddirwyon. Y mae un haner o'r dirwyon hyn yn myned i'r person a hysbysa y peth, a'r haner arall i'r tlodion. Os na bydd gan y troseddwr arian, cedwir ef yn y carchar hyd oni thalo rhyw un drosto, neu hyd oni bydd wedi ennill ei ryddhad trwy weithio. Y mae y rheolau hyn yn cael eu darllen yn uchel o'r areithfa, ddwy waith yn y flwyddyn, gan yr offeiriaid: ac y mae pob tafarnwr yn rhwym, dan boen dirwy drom, i gadw cyfargraff (*copy*) o honynt ar y mur yn ystafelloedd penaf ei dŷ.—*Hogg's Instructor.*

---

## DETHOLION.

YR YSBEILIWR GWAETHAF.—Yr afradlon a ysbeilia ei etifeddiaeth, ond y cybydd a ysbeilia ei hunan.—*Bruyere.*

DIFRIAETH sydd dreth a delir gan ddyn am fod yn enwog. —*Mantaigne.*

DYSG.—Bod yn falch o ddysg ydyw yr anwybodaeth mwyaf.—*Taylor.*

ADDYSG I BLANT.—"*Duw, cariad yw!*" Dysgwch eich plant i garu, caru y rhosyn, caru yr adar, caru eu rhieni, caru Duw. Yn eich holl addysg deuluaidd, ymdrechwch wneyd eu serch yn wresog. Rhwymwch hwynt yn y rhwymau cedyrn hyn. Crefydd ydyw cariad, at Dduw a dyn.—*Christian Witness.*

EWYLLYS DUW.—Gwell fyddai genyf wneyd ewyllys Duw, na bod yn alluog i wneuthur gwyrthiau.—*Luther.*

ANGEU.—Nid ydyw angeu ddim ond ein hanfoniad o amser i dragywyddoldeb; y mae yn arwain i anfarwoldeb, a dylem ystyried hyny yn dàl digonol am oddef ei boenau.

---

## ARDDERCHAWGRWYDD BYWYD.

O'R BRYDDEST AR ANFARWOLDEB, GAN IORWERTH GLAN ALED.

O FYWYD ti beri i gribau'n mynyddau
Ymddangos yn brydferth mewn grug a gwylltlysiau;
A'r awel wrth basio, â hwythau yn unfryd,
Chwedleuant am danat yn dyner a hyfryd;

Tydi sy'n addurno cangenau y goedwig,
Mewn prydferth wyrddleeni ar brydiau arbenig;
Gwnei'r dail yn dafodau i'th ganmol yn hawddgar,
Cymysgant sisialon â cherddi yr adar;
Gwnei'r lili i wenu, a'r rhosyn i wrido,
A'r blodau o'u hamgylch i brydferth ymliwio;
Gwneir ŵyn ar y bryniau i brancio yn ddedwydd,
A'r mwyn anifeiliaid yn llon ar y maesydd.
Ond och! y mae terfyn yn ymyl fan acw!
Dim pellach na'r beddrod—mae'r cyfan yn marw;
Ond! beth am dy orchest o fewn y ddynoliaeth!
Fan yma y beiddi holl allu marwolaeth—
Teyrnasi yn nghanol clai natur—mewn purdeb,
A'th amrant yn oleu gan wawl ANFARWOLDEB.
Ti ddyn, yn dy feddwl, wyt ddelw o'r Duwdod,
Dy ysbryd fel yntau a bery'n ddiddarfod—
Yr un o ran ansawdd :—ac yn ei gre'digaeth
Fe'i gwnaed yn *Seccina* yn nheml dynoliaeth,
Yn arwydd tragywyddol o'r Duwdod ei hunan:
Mynega'i ogoniant mewn bwriad ac amcan.

* * * *

Yr ysbryd gyfeiria at Dad y goleuni
Fel ffrwd at y ffynnon y tarddodd o honi—
Goleuni diddechreu, diddiwedd, llawn purdeb
O dragywyddoldeb i dragywyddoldeb;
O'r hwn yr hanfododd ysbrydion filiynau
Fel haul yn hael esgor ar ddysglaer belydrau
Er cario ei wawl a'i wresogrwydd i'r bydoedd
A gweithio'i amcanion trwy anian a chylchoedd.

* * * *

Mae'n wir fod angelion, cerubiaid, seraphiaid
Uuchlaw i ti'r awrhon, tra'r cnawd am dy enaid;
Yn uwch mewn gwybodaeth a gallu ysbrydol,
A'u cylch yn ëangach o fewn y byd moesol—
Ond nid oes un cerub yn fflamio yn ngwynfa,
Na seraph yn treiddio i gynghor Jehofa,
Yn uwch na thydi o ran *ansawdd ysbrydol*—
Dy ysbryd fel hwythau a bery'n dragywyddol;
Yr egni holl nerthol a roddodd y Duwdod
Yn natur seraphiaid, i'w creu yn ddiddarfod
Yr unrhyw weithredwyd, yn gynghreddf i'th enaid
I'th gadw yn nghylchdro bodolaeth yn ddibaid—
Am hyn, estyn law at y seraph, mewn cariad,
A'r llall at dy Grewr, mwy gwylaidd addoliad;
Nid ellwch eich dau ond cydgodi eich gwyneb
Am ddefnydd bodolaeth, at *Dad anfarwoldeb.*

## RHESYMAU AM GARU CRIST.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. E. PAYSON, D. D.

ONID yw ein Cyfaill yn tra rhagori ar bob cyfaill arall, fel y mae y nefoedd yn rhagori ar y ddaear, tragywyddoldeb ar amser, a'r Creawdydd ar ei greaduriaid? Os ydych yn amheu hyn dygwch yn nghyd holl ogoniant, gwychder, a harddwch y byd; ïe, cesglwch bob peth sydd fawr ac ardderchog yn yr holl fydau a grewyd erioed: cynnullwch yr holl greaduriaid a ddygwyd i fod gan anadl yr Hollalluog, a ninau a roddwn ein Hiachawdwr a'n Cyfaill ar eu cyfer, i edrych a allant hwy ddal i'w cydmaru âg ef. Gan hyny, edrychwch yn gyntaf ar eich eilunnod, gwelwch gynnifer o honynt a gynnullasoch, yna trowch i edrych ar ein Hanwylyd. Gwelwch holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio mewn un sydd addfwyn a gostyngedig fel plentyn. Gwelwch ei wedd yn dysgleirio gan ogoniant anhydraeth, yn llawn o fawrhydi, gostyngeiddrwydd, a chariad cymmysgedig, a chlywch y gwahoddiadau peraidd a ddeilliant o'i enau pur. Gwelwch y llaw yna, yn yr hon y preswylia nerth tragywyddol, yn llywio teyrnwialen amherodraeth gyffredinol ar bob creadur, a phob byd; gwelwch ei freichiau ar led, i dderbyn a chofleidio pechaduriaid dychweledig; tra mae ei galon, yr hon sydd gefnfor diwaelod a dilàn o gymwynasgarwch, yn gorlifo gan dynerwch, tosturi a chariad. Mewn gair, gwelwch bob ardderchawgrwydd moesol a naturiol yn dysgleirio ynddo ef mor dra gogoneddus, fel nad yw dysgleirdeb yr haul ganol dydd, onid tywyllwch mewn cydmariaeth iddo. Wrth ei leferydd y deuai byd i fod o ddyddymdra eilwaith. Efe a ysgwyd ei law, a'r holl greaduriaid a gynnullasoch i fod yn wrthgeiswyr iddo ef am eich serch, a suddant ac a ddiflanant. Dyma ein Hanwylyd, a dyma ein Cyfaill, O bechadur. Gan hyny oni chofleidi di ef fel dy Gyfaill? Os gwnei hyny, ti a weli na fynegwyd yr hanner, na'r filfed ran am ei ogoniant i ti.

## NA THWYLLER CHWI.

### GAIR I DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

EGLUR yw wrth ddarllen Gair Duw fod llawer iawn yn twyllo eu hunain gyda golwg ar eu sefyllfa ysbrydol. Maent yn dywedyd wrthynt eu hunain, *heddwch, heddwch*, pan y mae Duw yn dywedyd, na bydd heddwch i bersonau yn eu sefyllfa hwy. Maent fel dyn mewn caethiwed yn breuddwydio am ryddid, ond yn deffro a chael ei hun mewn cadwynau cryfion, o fewn muriau cedyrn, meddyliant am nefoedd nes y byddo angeu yn rhoi terfyn ar eu hoes, a chael eu deffro gan gythreuliaid yn y byd tragywyddol, o fewn muriau diadlam deddf a chyfiawnder. Y fath yw twyll y galon ddynol nad oes modd bod yn rhy ofalus. Ah! fy enaid, mae cymaint o dwyll yn dy galon, gochel rhag iddi fel Judas dy fradychu â chusan.

Ond mae dynion yn twyllo eu hunain, yn

1. Trwy feddwl fod pawb ag sydd yn dwyn yr enw Cristionogion yn Gristionogion mewn gwirionedd, os byddant yn ymddwyn yn weddus. Ond, fy nghyfaill, mae hyn i'w gael mewn miloedd, na wyddant ddim am grefydd, a chyda golwg ar dragywyddoldeb, mae yr oll yn rhy fychan heb burdeb oddifewn. Nis gwn a allaf egluro hyn yn well na'th gyfeirio at hanes y gŵr ieuanc hwnw ddaeth at yr Arglwydd Iesu i ofyn pa beth da a wnelai i etifeddu bywyd tragywyddol. Yr oedd rhywbeth tra chanmoladwy yn y gŵr hwn— rhedodd ato, yr oedd y peth yn bwysig ar ei feddwl, gostyngodd iddo. Yr oedd ganddo barch i'r Iesu, dywedai "O Athraw da." Yr oedd ganddo feddwl mawr am yr Iesu. Yr oedd mor foesol fel yr oedd wedi cadw y gorchymynion oll o'i ieuenctyd. "A'r Iesu gan edrych arno a'i hoffodd, ac a ddywedodd wrtho, un peth sydd ddiffygiol i ti: dos, gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gai drysor yn y nef: a thyred, a chymer i fyny y groes, a dilyn

fi. Ac efe a bruddhâodd wrth yr ymadrodd, ac a aeth ymaith yn athrist," &c. Yr oedd yn amddifad o sylwedd crefydd, ac mae hyn wedi ei roddi i lawr i ddangos pa mor bell y gall dyn fyned mewn moesoldeb, a bod yn fyr o'r nefoedd wed'yn. Nid oedd ar y gŵr ieuanc hwn gywilydd i ofyn cyfarwyddyd gan yr hwn nad oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr, er ei fod yn gyfoethog iawn. Hefyd nid oedd ei gyfoeth wedi myned a'i holl feddwl, yr oedd yn meddwl am gael bywyd tragywyddol, ac nid ar dir esgeuluso ei ddyledswydd ychwaith. "Pa beth a wnaf?" Ië, nid ofnau gwely angeu a barodd iddo ofyn y gofyniad. Yr oedd yn iach, ac yn ieuanc, ni threuliodd ddyddiau ei ieuenctyd mewn oferedd, dysgodd y gorchymynion, a dysgodd eu cadw; ond pan roddodd Crist ef yn y glorian, yr oedd yn rhy fychan o bwysau. Yr oedd y fath un ag y carem i bob dyn ieuanc fod yr un peth ag ef; eto yr oedd y fath un ag y carem i bob dyn ieuanc fod yn wahanol iddo. Bydolddyn ydoedd wedi y cwbl. Gellir dywedyd gyda y prydydd,

"Beth dal byw yn ngwlad efengyl,
Beth dal crefydd oddi fas?
Nid yw moesau ddim yn ddigon,
Heb gael cadwedigol ras;
Beth dal cyrhaedd doniau helaeth,
Dysgu'r 'Sgrythyr Lân bob darn,
A bod 'n ol yn ngwyneb Iesu,
'N casglu pardda yn y farn."

*Sardis. O.* R. H. EVANS.

[*I'w barhau.*]

---

## BECHGYN DRWG Y DREF.

YMAE un dosbarth yn ein gwlad, a hwnw yn ddosbarth lluosog a chynnyddol, yn galw am sylw difrifol ac uniongyrchol athrawon yr Ysgol Sabbothol. Yr wyf yn cyfeirio at fechgyn sydd rhwng deuddeg a deunaw mlwydd oed. Nid wyf yn sicr pa le maent yn byw. Ond dywedaf

... pa le y gelwch eu cael ar y Sabboth: yn yr heolydd, yn ymyl y gwestdai, ar y bont yn y fynedfa i'r dref, ac yn y caeau cyfagos. Nis gallaf ddywedyd *pa fodd* y maent yn byw, ond gallaf ddyweyd wrthych pa fodd y maent yn treulio eu hamser. Mewn rhodio oddiamgylch, tyngu a rhegu, siarad a chanu maswedd, chwareu am arian, chwilio am adar ac am bysgod, ymladd, mân-ladrata, ac yfed yn y tafarndai iselaf, os gallant gael arian i hyny. Nis gallaf ddarlunio yr holl addysg a dderbyniant. Ond dywedaf i chwi pa addysg nad ydynt yn ei fwynhau. Y pregethwr yn ei bwlpud ni chlywir ganddynt. Addysg yr Ysgol Sabbothol nid yw yn eu cyrhaedd. Mae gan rai o honynt, ysywaeth, dadau a mamau crefyddol, ond nid yw eu rhybuddion mwyach yn cyffwrdd â'u calonau. Nis gallaf ddyweyd yn bendant beth fydd diwedd eu gyrfa bresenol; ond yr wyf yn gorfod casglu nad yw yn mhell iawn, ac na bydd yn hyfryd i edrych arno. Athrawon! cyn i ddiwedd truenus eu goddiwes, gwnewch gais o ddifrif am eu cael i dŷ Dduw, ac o dan eich hyfforddiadau. Ewch ar eu holau. Siaradwch â hwy yn dirion. Dangoswch iddynt eich bod yn caru eu heneidiau. Gweddiwch fwy na mwy yn eu hachos. A gwybydded "y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddiwrth gyfeiliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angeu, a chuddio lluaws o bechodau."

GOHEBYDD.

---

## GRAMADEG.

### RHIF VI.

#### BLAENDDODIAID CYFNEWIDIOL.

[*Parhad o du dal.* 189.]

MEWN geiriau cyfansawdd, yn gyffredin, cyfnewidir y gydsain olaf yn y Blaenddawd a'r gyntaf yn yr Enw, yr Ansoddair, neu y Ferf. Yr egwyddor sydd yn llywodraethu

y cyfnewidiadau hyn ydyw hyseinedd neu wiwseinedd (*euphony*)—bod i'r gair fod yn hawdd ei seinio, a'r seiniad yn beraidd; y naill yn dwyn perthynas â pheiriannau llafar y siaradwr, a'r llall â chlust y gwrandawr. Mae yr egwyddor hon yn meddu llywodraeth helaeth, a dylanwad mawr yn nghyfansoddiad a sillebiad geiriau, ac y mae egwyddorion eraill sydd a chryn bwys yn perthyn iddynt yn ymostwng ac yn rhoddi y flaenoriaeth iddi. Y mae cyfatebiaeth (*analogy*) yn meddu awdurdod mawr yn myd y llythyrenau; ond y mae yn rhoi y flaenoriaeth i'r egwyddor dan sylw mewn lluaws o amgylchiadau, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen. Mae llawer iawn o achwyn o berthynas i Lythyraeth yr iaith Gymraeg, nad oes fawr o gysondeb ac unffurfiaeth yn arferiad ysgrifenwyr dysgedig; ond yr achos o'r annhrefn yma, fel pob un arall, yw, fod pob un yn gwneyd y peth sydd dda yn ei olwg, yn lle ymostwng i'r deddfau neu yr egwyddorion sydd yn llywodraethu. Ei chwaeth ei hun y mae pawb yn ei ddilyn, yn lle chwilio am egwyddorion cyntefig a chyduno i ymostwng i'r unrhyw. Un yn dweyd mai fel hyn y *dylai* fod; un arall, fel hyn y *rhaid* iddi fod; a'r trydydd, fel hyn y mae *goreu* iddi fod; nes y mae yr ymgeisydd am ddysgeidiaeth a gwirionedd yn cael ei ddwyn i gyfyng-gyngor, fel nas gŵyr yn ei fyw pa fodd y mae i fod, nac, yn mhlith cynnifer o ddysgawdwyr, ar lais pwy y dylai wrando. Yr ydym wedi nodi tair o'r egwyddorion hyn yn yr ysgrif hon, ac er mwyn cyfarwyddo y sawl sydd a'i fryd ar ddilyn yr iawn, lle bynag y caffo afael arno, byddai yn well ychwanegu ychydig nodion mewn ffordd o eglurhad. Yr egwyddorion, dan eu henwau, ydynt, Cyfatebiaeth, Hyseiniaeth a Gwiwseiniaeth.

### 1. CYFATEBIAETH.

Wrth y gair Cyfatebiaeth y golygir y cyffelybrwydd rhwng y naill beth a'r llall, o dan amgylchiadau pennodol.

Er engraifft, tybiwn mai fel y canlyn y dylid ysgrifenu yr arddodiad cyfansawdd o *yn* a *plith—ymhlith;* yna, yn ol yr egwyddor o gyfatebiaeth, dylai y lleill, o dan y cyffelyb amgylchiadau, gael eu llythyrenu yr un modd; megys y rhai canlynol, *ynghylch*, *ymysg*, *ymlaen*, *ymhlaid*, *&c.*, ac nid *yn nghylch*, *yn mlaen*, *yn mhlaid.* Yr egwyddor yma sydd yn ein cyfarwyddo wrth gyfansoddi geiriau newyddion; a dyna yr unig hawl sydd genym i ddysgwyl y cymeradwyir y cyfryw eiriau yn yr ystyr a roddwn iddynt. Nid oes diolch i neb am gysylltu y meddylrith cyffredin â hen air—mae y ddeddf annewidiol a thragywyddol, sef ARFER GWLAD yn ei rwymo; a byddai yr un peth i ddyn feddwl y gall gyfnewid unrhyw o ddeddfau anian, a thybied y gall newid ystyr gair: ond, gyda golwg ar air nad arferid o'r blaen mewn un ystyr, yr unig reswm a all fod gan un dros gysylltu rhyw synied neillduol âg ef, yw y gwneir hyny â geiriau eraill dan yr un neu gyffelyb amgylchiadau. Dyma y gair cyfansawdd *cyfunryw*—mae yn gyfansoddedig o *cyd un*, a *rhyw*, a'i ystyr yw *peth o rywogaeth cyffelyb*, neu o'r *un rhywogaeth.* Am y rheswm yma, pe na fuasai y fath eiriau wedi cael eu harfer o'r blaen, gallai y neb a fyno, gyfansoddi eraill yn ol yr un reol; megys *cyfunwedd*—o'r un neu gyffelyb ymddagnosiad; *cyfunfaint*—o'r un maintioli; *cyfunradd*—o'r un gradd; *cyfunwerth*—o'r un gwerth, &c.; ac y mae yr egwyddor o gyfatebiaeth yn ein rhwymo i'w derbyn yn yr ystyron crybwylledig. Clywsom unwaith ddyn yn haeru, gyda yr hyder mwyaf yn uniondeb ei farn, mai ystyr priodol y gair *dirwest* yw "gwledd fawr," mai dyna oedd raid bod ei ystyr; "oblegid mae yn deilliaw o'r blaenddawd *dir*, yr hwn sydd yn mwyhau yr ystyr, a *gwest*—gwledd; mae *dirfawr* yn arwyddo *mawr iawn; dirboen*—poen mawr; *dirwasgu*—gwasgu yn dŷn: felly *dirwest* yw *gwledd* fawr neu helaeth." Rhaid caniatâu mai felly y mae yn ol cyfatebiaeth; ond, ar rai achlysuron, mae hon yn rhoi lle i egwyddorion neu ddeddf-

au eraill. Nid hi yw y Bennadures—pan fo hòno yn llefaru, rhaid iddi hi fod yn ddystaw; ac yn y gair *dirwest* y mae yn ymostwng i'r egwyddor o Wiwseiniaeth; *di* a *gwest* yw gwreiddiau y gair, ac y mae yr *r* yn llythyren ormodol (*redundant*), wedi ei dodi i fewn er mwyn bod i'r gair feddu sain cryfach; ond nid oes iddi arwyddocâd. Yr un modd hefyd y mae yn bod gyda golwg ar y gair *dirmyg*, yr hwn, yn ol yr egwyddor o gyfatebiaeth sydd yn arwyddocâu *parch* neu *anrhydedd mawr;* ond gwyr pawb mai y gwrthwyneb yw ei ystyr; ac o herwydd paham, nid *dir* a *myg*—parch, anrhydedd—yw ei wreiddiau, eithr *di* a *myg*, a'r *r* yn ormodol er mwyn grymuso y sain. A welwch chwi, ddarllenwyr caredig, y fath awdurdod y mae Brenin Llythyraeth ac Iaith yn ei arferyd ar ei ddeiliaid; ac nad yw Cyfatebiaeth, Hyseiniaeth, a Gwiwseiniaeth, ond "tywysogion y taleithau," o dan y Pennadur ARFER GWLAD, neu *usus loquendi*, dan ei enw Lladinaidd.

---

## Y WRAIG O GANAAN.

GWEDI sylwi yn mherthynas i'w chystudd, a'i dyfodiad at yr Arglwydd Iesu am ymwared, cyfeiriai Mr. Ryland at ei phrawf a'i llwyddiant. Gan ddarllen y geiriau, "Eithr nid atebodd efe iddi un gair," efe a ddywedai, "Ai hwn ydyw y cymwynaswr y clywais gymaint am dano cyn fy nyfod ato? Ymddengys fel wedi ei feddiannu â'r parlys mud."—"A daeth ei ddysgyblion ato, ac a attolygasant iddo gan ddywedyd, Gollwng hi ymaith; canys y mae hi yn llefain ar ein hol." "Paham y mae yn rhaid i ni ymdrafferthu gyda dynes ddyeithr? Nis gwyddom o ba le y mae; ac y mae hi yn penderfynu glynu wrthym nes y caiff ei gwrando."

"Ac efe a ddywedodd, N'im danfonwyd i ond at ddefaid colledig tŷ Israel." "A thi a wyddost nad wyt *ti* yn un o honynt; a pha hawl sydd genyt *ti* i derfysgu cymaint?"

"Ond hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd cymhorth fi."

Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, "Nid da cymeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cwn."

Hithau a ddywedodd, "Gwir yw, Arglwydd; canys y mae y cŵn yn bwyta o'r briwsion sydd yn syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi." "Nid yw yr hyn sydd arnaf fi ei eisiau ond megys briwsionyn i ti, wrth ei gydmaru âg arlwyon erfawr dy fwrdd di; ac nid wyf fi yn dyfod ond am friwsionyn, a briwsionyn sydd raid i mi gael; ac os gwrthodi eisteddle i mi wrth dy fwrdd gyda'th deulu, a wrthodi i mi orweddle ynghyda briwysionyn o dan y bwrdd? Ni chyll y teulu ddim yn fy ngwaith yn cael y cwbl sydd arnaf ei eisieu."

Nis gall Hollalluogrwydd wrthsefyll y fath ymresymiad ddim yn hwy; ond gildia yr oruchafiaeth—nid i'w gostyngeiddrwydd, ei thaerineb, a'i dyfal-barhâd—ond i'w *ffydd*, yr hon a gynnyrchodd ac a ddefnyddiodd hyn oll, canys "pob peth sydd bos bl i'r neb a gredo."—"Ha wraig, mawr yw dy ffydd; bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio."

"Arglwydd, pa beth oedd hyna a ddywedaist?"

"Wel, bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio."

"Wel, weithian, mi fynaf i fy ngeneth druan feddyginiaeth ar unwaith."

"Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio."

"Wel, gan hyny, yr wyf yn ewyllysio cael cadw fy enaid tlawd."

"Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio."

"Wel, am hyny mi fynwn i fy mhechodau oll gael eu maddeu a'u dystrywio."

"Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio."

"Wel, weithian, rhaid i mi gael cyflawni fy holl raid o'th oludoedd mewn gogoniant."

"Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio." "Dyma, cymer yr allwedd, a dos ymaith, ac nac ofna ddyhysbyddu fy holl drysorau.—*O'r Drysorfa.*

## SWYDDOG MILWRAIDD.

AMRYW flynyddoedd yn ol, swyddog crefyddol yn y fyddin a gaffai orchymyn i fyned tros y môr efo y gatrawd y perthynai iddi. Cychwynai ar y llong gyda'r wraig a'i blant. Yn mhen ychydig ddyddiau aeth yn dymhestl arnynt, ac yr oedd eu bywydau mewn enbydrwydd. Yr oedd braw ac ing wedi dal y mynedolion oll, ac yn eu plith wraig y swyddog. Ond yr oedd efe, er y cwbl, yn dawel a digyffro.

Ei wraig wrth ganfod hyn, a ddannodai iddo ei ddiffyg o serch tuag ati hi a'r plant, gan sylwi os nad oedd arno ofal am ei ddïogelwch ei hun, y dylasai fod arno tros yr eiddynt hwy. Heb roddi unrhyw ateb iddi, elai allan o'r caban, ond dychwelai yn fuan â chleddyf noeth yn ei law, gan ei gyfeirio at ei dwyfron, ac yn edrych yn wgus. Hithau a wênai arno, heb ymddangos ei bod yn ei arswydo ddim. "Pa beth," eb efe, "ai nid ydych yn ofni pan yw y cleddyf noeth yn estynedig at eich dwyfron?" "Nac wyf," atebai hithau, "a minnau yn gwybod ei fod yn llaw yr hwn sydd yn fy ngharu i." "Ac a fynech chwi," dywedai yntau, "i mi ofni yr ystorm a'r dymhestl yma, a minau yn gwybod ei bod yn llaw fy Nhad nefol yr hwn sydd yn fy ngharu i."

## CYNNEDDFAU GWRAIG DDA.

Y MAE ei hysbryd yn dangnefeddus,
Ei phen yn ddeallus,
Ei gwedd yn roesawus,
Ei llygad yn graffus,
Ei chlust yn wrandawus,
Ei hymddyddan yn serchus,
Ei dwylaw yn llafurus,
Ei chalon yn haelionus,
Ei gwaith yn gampus,
Ei saig yn flasus,
Ei thŷ yn drefnus,
Ei theulu yn hyfforddus,
Ei gwisg yn weddus,
Ei hymddygiad yn hoffus,
A'i chymeriad yn barchus.

UN SYDD HEBDDI.

## Y SNUFF A'R TYBACO YN TRIN EU GILYDD.

MEWN cyfarfod llenyddol a gynnaliwyd yn Neuadd Llanerchyllwch, Ebrill 1, 1858, Bara yn y gadair, cymerodd yr ymrysonfa ganlynol le.

*Cadeirydd.* Gyfeillion—Y mae Snuff a'r Tybaco wedi arfer gwawdio eu gilydd, a byddant weithiau yn bwrw budreddi y naill am ben y llall; ond er's pythefnos yn ol, bu geiriau

uchel a chaledion iawn cydrhyngddynt, pryd y penderfynasant gyfarfod yma heno i'w hymladd hi allan, yn mhresenoldeb pwy bynag a ddewisai ddyfod i edrych a gwrando. Ac, a dyweyd y gwir, nid oedd yn ddrwg genyf glywed eu bod am ddynoethi eu gilydd. Ni chymerant eu trin gan neb arall; canys pan siaredir yn ddirmygus am danynt, y maent yn gwawdio. A phan ymddiddenir yn ddifrifol â hwynt, y maent yn mingamu. Dywedir nad oes neb gwell na lleidr i ddal lleidr, a chredwyf nad oes neb gwell i drin ffieidd-dra na ffieidd-dra arall. Ond gwn fod yn rhywyr gan y ddau i mi dewi. Gwelaf yn eu hwynebau fod eu gwaed yn berwi. Y mae genyf yr hyfrydwch o'u galw yn mlaen.

*Snuff.* Bratha fi â geiriau, os meiddi di.

*Tybaco.* Bratha di fi i ddechreu, ac yna mi ro'i ti lab.

*S.* Beth wyt ti yn ymofyn yn ein gwlad ni, yr hen estron budr? Nid oes fawr er pan anwyd di yn Tybago, ynys fach fach, ie, un o ynysoedd lleiaf yr India Orllewinol. Buost am gryn amser yn grwydryn main a siagiog yn anialdiroedd America. Ac yr oedd yn gywilydd i galon Syr Walter Raleigh dy ddanfon yma. Buasai yn well i'n hynys fach ni na miliynau ar filiynau o bunnau pe heb dy weled erioed. Yn wir, ni wn i ddim pa fodd yr wyt yn dangos dy wyneb yma.

*T.* Yn araf, frawd. Yr wyf yn dri chant oed o fewn dwy flynedd. Yr wyf yn hŷn na thi, pe byddai hyny yn rhywbeth. Ac onid *estron* wyt tithau hefyd? Dywedir i mi ein bod yn perthyn yn agos i'n gilydd, yn tarddu oddiar yr un gwreiddyn, ac mai dail Tybaco wedi eu gwneyd yn llwch yw Snuff.

*S.* Myfi yn perthyn i ti! Ni buasai waeth genyf i ti ddyweyd fy mod yn perthyn i dduw Ecron. Taw, yr hen Indiad paganaidd, a dyweyd fy mod i yn perthyn i ti. Pa ddirmyg mwy allasit roddi arnaf! *Cymro* wyf fi o waed coch cyfan, wedi ei eni a'i fagu yn Llanerchymedd.

*Cad.* Hyawdl ddadleuwyr, yr wyf yn dymuno arnoch gadw at egwyddorion, a pheidio gwneyd ymosodiadau personol.

*S.* Yr wyt tithau, mi welaf, Mr. Cadeirydd, wedi dysgu yr hen frawddegau yn nghylch *egwyddorion.* A wyddost ti ddim mai ymrysonfa *bersonol* sydd rhyngom? â phersonau

ein gilydd y mae a wnelom, ac nid â dim arall. Cadeirydd braf wyt ti, os heb ddeall hyn! Eistedd i lawr.

*T.* Gad lonydd i'r Cadeirydd, rhag cywilydd, y dwl. Yr wyf fi yn ddigon i ti heno. Y mae yn amlwg nad oes gan y rhai sydd wedi eu hudo genyt ddim gwir barch i ti, onidê ni roddent di yn eu *trwynau.* A wyt ti yn cofio am rywbeth arall yn cael y fath anmharch a hyn? Meddyliwn dy fod dy hunan yn teimlo y gwarth hwn; canys byddaf yn aml yn dy weled yn llithro yn ol yr un ffordd ag yr aethost, yn ddwy afon felen fudr. Yn wir y mae yr olwg arnat yn ddigon i droi byddin o rai newynog yn ol pan yn ymyl eu ciniaw. Do, bum fy hunan lawer gwaith yn gorfod defnyddio fy nghadach llogell yn gorcyn yn fy ngenau, i attal i gynnwysiad fy nghylla neidio i'th gyfarfod!

*S.* Wel, yn wir, y mae yn well genyf fi weled un yn rhoddi baw yn ei drwyn nag yn ei geg!

*Cad.* Chwaeth! chwaeth! Peidiwch defnyddio iaith isel fudr.

*S.* Budr yn wir! y mae ymddygiadau Tybaco yn fudr, ac am hyny nid oes ond iaith fudr a'i gesyd allan. Y mae yn rhaid i'r llygad edrych ar fudrwch ac am hyny y mae yn iawn i'r glust wrando am dano. Y mae Mr. Cadeirydd yn peri i mi feddwl am lawer pechadur sydd yn rhy goethedig i glywed darlunio ambell anwiredd, ond nid yn ormod felly i'w gyflawni. Y maent yn rhy lednais i wrando darluniad o uffern, ond nid yn ormod felly i fyned yno. Eithr ni buasai raid i Tybaco ddannod i mi fy mod weithiau yn troi yn ol o'r ffroenau. Nid yw yn debyg y gwnaethwn hyny pe buasai drysau y trwyn naill ai yn ei ben uwchaf, neu yn ei ochr, yn lle bod oddidano. Ond nid yw yntau yn cael ei lyncu. Daw yn ol naill ai yn fwg, neu yn beth arall ffieiddiach na hyny. A wyddost ti, Dybaco, am rhywbeth heblaw dy hunan yn cael ei roddi yn y safn, a phob amser ei fwrw yn ol? Do, gwelais di yn rhedeg allan yn afonydd melynion ar hyd y cilfochau, yn debyg fel y buost yn dannod i mi fy mod yn dyfod allan o'r ffroenau.

*T.* Wel, gad iddo. Y mae fy afonydd i yn rhedeg i'r ddaear, heb gyffwrdd â dim ond y gwisgoedd, tra y mae dy ffrydiau budron di mewn perygl o ddisgyn i'r ystafell sydd o dan y trwyn.

*Cad.* Byddai yn dda genyf pe gallech fod yn fwy bonedd-igaidd.

*T*. Yr wyf finau wedi diflasu ar dy rodres, Mr. Cadeirydd, gyda'th *foneddigeiddrwydd*. Peth hawdd yw siarad cyn dyfod i brofiad. Clywais eraill yn dannod anfoneddigeidd-rwydd dadleuwyr, a gwelais hwy drachefn mewn dadleuon wedi colli pob llywodraeth ar eu nwydau. Ac heblaw hyny, yr wyf yn gweled y duwinyddion sydd yn dadleu ar fedydd a phynciau crefyddol yn rhoddi ffrwyn i'w tafodau, ac nid oes bosibl na oddefir hyny i ddau greadur diffydd fel y Snuff a minau. Ac yn mhellach, yr wyf am i'r crefyddwyr cecrus gael golwg arnynt eu hunain ynom ni.

*S*. Ië, Tybaco bach, ni fynwn ni borthi ein nwydau gystal ag eraill, drwy ddannod beiau a budreddi ein gilydd. Ond byddaf fi yn ceisio cadw yr aflendid yn fy nhrwyn a'i gymydogaeth, neu byddaf yn ei rwymo yn fy nghadach, ac yn ei roddi yn fy mhoced; ond nid felly y byddi di. Gwelais lawer gwraig lednais a'i hwyneb yn glasu wrth dy weled yn dynesu at y tân. Gorchymynai i'r forwyn redeg ac estyn priddyn pwrpasol i dderbyn dy lafoer, a'i guddio o olwg pob llygaid. Yn ddiau, dyma yw "llestr i anmharch." Mewn gwirionedd, y mae dyfod ar dòriad y dydd at ddrws ystafell lle buost yn mygu ac yn glafoeri y nos o'r blaen, yn ddigon i gwympo ceffyl. Gwelais cyn hyn amgylchiadau yn dy symyd o'r man yr eisteddit yn yr oedfa, a minnau yn cael fy ngwthio i dy le: nid oedd modd i mi fyned ar fy ngliniau, a gwyddost paham. Os edrychwn i lawr, ni welwn ddim ond pydew erchyll.

*T*. Ni waeth i ti dewi, yr wyf yn fwy poblogaidd nag un llysieuyn yn y byd, ond Tê; ac y maent yn gwneyd rhyw fath o bryd o fwyd o hwnw; ond ni chymerais i arnaf wneyd pryd, na rhan o bryd, i neb erioed, ac eto yr wyf yn boblogaidd. Derbynia y llywodraeth saith miliwn o bunnau oddiwrthyf, ac y mae goreuon y deyrnas yn gyfeillion i mi. Pa wir *swell* a geir heb ddefnyddio ei *cigar*? Y ffrindiau penaf a feddaf yw pregethwyr gwahanol enwadau, a doctoriaid mewn duwinyddiaeth. Ni byddai yn bosibl cynnal cymanfa hebwyf, a gelwir fi weithiau "Tybaco yr achos." Ond am danat ti, ni byddaf yn gweled neb ond "Nansi'r Potiau" a'i chwiorydd yn ddigon anmharchus o'u trwynau i dy goluro ynddynt.

*S*. Oes, oes, y mae ambell bendefig, ambell anianydd, ambell dduwinydd, ac ambell hanesydd, yn gwirioni arnaf finau.

Addefaf dy fod yn gyfaill mawr i dduwinyddion; yr wyt yn gyfaill i ysgymun-bethau y ddaear hefyd. Pa fodd mae y ddwy blaid yn dy garu sydd yn fy nyrysu i! Dyna weinidog yn myned ar hyd yr heol ag arogl Tybaco ar ei wisgoedd: dyna hogyn carpiog a thyngedig yn ei gyfarfod, ac y mae yntau a'i bib yn ei geg; a dacw hen ddewines felen yn nrws ei bwthyn yn dynwared y ddau. Gwn fod y llywodraeth yn derbyn saith miliwn oddiwrthyt yn flynyddol; buasai hyny yn ddigon i wneyd saith o gapeli, gwerth pump cant o bunau yr un, yn mhob plwyf yn Nghymru a Lloegr! Cofia nad yw yr hyn a roddi di i'r llywodraeth yn elw iddi; canys y mae dy wastraff yn dwyn oddiarni fwy na chymaint drachefn mewn dull arall. Beth, mewn difrif, pe rhoddasid dy gyflog di i Mr. Cadeirydd! Gwir na chymeraist arnat wneyd pryd o fwyd, na rhan o bryd, i neb erioed; ac nis medri. Peth braf i helpu llyncu tamaid fuasai dwfr oddiar Dybaco. Na, nid allaswn ddymuno dim gwaeth na thaflu bowlenaid o hwn i safn Asmodeus, yr hen lwfrgi uffernol welodd y bardd o dan y ford yn y fagddu fawr.

*T.* Taw, rhag cywilydd a danod fy nghyfeillion i mi. Y mae y gwr drwg ei hunan yn cymeryd Snuff; canys gwelodd y bardd ef yn gwylio Job oddiar gorn y lleuad, ac yr oedd yn *tisian* yn ofnadwy.

*Gwrandawr.* Mr. Cadeirydd, a fyddai ddim yn well attal y ddau gecryn? Y mae yn warth eu gwrando, ac edrych arnynt yn archolli eu gilydd, ac yn ceisio llofruddio y naill y llall.

*Cad.* Na, gadawer iddynt; y maent yn fwy cymhwys i drin eu gilydd nag yw neb arall i'w trin. Bu gwragedd a mamau yn wylo o herwydd eu gwastraff; do, bu y rhai mwyaf llednais feddai y deyrnas yn ceisio ymresymu â hwy am eu drygioni, ac yr oedd un o honynt yn pwffio i'w llygaid, a'r llall yn codi ei ffroen arnynt. Gadawer iddynt ladd eu gilydd, ni bydd dim colled ar eu holau. Gwnaeth y byd hebddynt am bum' mil a hanner o flynyddau, a medr wneyd hebddynt eto; ïe, gwneir yn ddeng mil gwell hebddynt. Ceir mwy na mwy o fara, ymenyn, a gwisgoedd, am eu cyflogau hwy. Pe clywid fod y ddau wedi tagu eu gilydd ar yr esgynlawr yma, ceir digon o famau, gwragedd, a phlant, i ganu pob cloch fedd y ddaear wrth glywed y newydd.

*S.* Ni chredaf fod y gwr sydd ar gorn y lleuad yn cymeryd Snuff; canys ni dda gan Satan mo'nwyf fi, ac nid o'i fodd y

daw yn agos ataf. Clywais fod llengau o ysbrydion aflan yn dyfod at Nain bob amser pan âf i ffordd. Gwnant iddi dyngu, rhegu, a dwrdio y cadeiriau, os na bydd neb arall gerllaw; ond pan ddeuaf fi yn ol, ffoant.

*T.* Yn wir, gallaf ddywedyd yr un peth a thithau am hyn. Clywais ferch yn adrodd heddyw, y byddai hi pan yn 12 oed yn gyru y wêdd i'w thad; a dywedai na byddai dyn tirionach yn y byd tra byddwn i gydag ef; ond y foment yr ymadawn, byddai lleng o rai aflan yn dyfod iddo. Pwniai hi â'i droed, neu y carthbren, neu y peth agosaf i'w law. Bu yn gwerthu ei bara a'i dillad er fy nghael i i gadw ei thad yn ddiddig. Ond, i ddangos fy mod yn onestach na thi, addefaf mai ni ein dau a fagodd yr ysbrydion hyn. Ni buasai dy Nain a'r hen aradrwr yn gwybod dim am y fath gynhyrfiadau oni buasai ni. Y mae y ddiod feddwol yn gwneyd syched er mwyn iddi hi gymeryd arni ei dòri. Ac mae syched a wna yn fwy na'r syched a dòra. Ninau ddygodd i fewn i'r hen bobl yr ysbrydion drwg y cymerwn arnom eu gyru allan. Ac y mae y cythreuliaid a gyfodir genym yn dyfod yn gryfach na'r rhai a roddir i lawr.

*S.* Wel, a ydwyf fi dda i ddim?

*T.* Nac wyt. Yr wyf yn methu cofio i beth. A ddywedi di nad wyf fi dda i ddim?

*S.* Na wnaf. O, ydwyt.

*T.* I ba beth?

*S.* Gwell genyf beidio dyweyd.

*T.* O, na dywed. Y mae yn annheg celu rhinweddau wedi bod yn dannod beiau.

*S.* Wel. y mae y doctoriaid yn dyweyd dy fod yn dda i— i—. Yn wir, nid allaf fi ddim dyweyd; y mae arnaf gywilydd.—*Cronicl.*

---

## GEMAU GWERTH EU MEDDU.

Gwirionedd, heb gywilyddio.
Gwybodaeth, heb falchder.
Doethineb, heb ddichell.
Gyfiawnder, heb ofn.
Trugaredd, heb wendid.—*Ira Sayles, A. M.*

*Cyfl. gan* J. G. Morgan.

## TRIOEDD MARTIN LUTHER.

Tri pheth a wnânt dduwinydd da:—myfyrdod, gwedd, a themtasiwn.

Tri pheth i'w cofio gan bregethwr:—chwilio y Beibl drosodd a throsodd, gweddio yn daer, a pheidio bod byth uwchlaw derbyn addysg.

Tri o gwn cyfrwys y dylai pregethwyr ymogelu rhagddynt:—balchder, cybydd-dod, a chenfigen.

---

### PORTH MARWOLAETH.

Mewn dwys fyfyrdod teithiais,
Ryw ddydd i'r dywell fro,
Yn syn wrth Borth Marwolaeth,
Sefais, edrychais dro;
Ni chefais ef am fynyd
Yn nghauad ar y pryd,
Gan fel yr oedd tyrfaoedd
Yn myned trwyddo o hyd.

A llawer oedd yn sefyll
Yn llwythog, wrth y drws,
O nwyddau a gyfrifent
Yn werthfawr neu yn dlws;
Ond angeu ddygai ymaith
Eu bydol bethau i gyd,
Ac a'u hanfonai yn noethion,
Draw i'r ysbrydol fyd.

Daeth at y porth yn ëon
Ryw ŵr goludog iawn,
A chydag ef gist haiarn,
O dir-arwystlau'n llawn:
Ond angeu yn ddiystyr
A daflai'r gist i lawr,
"Yr aur a'r tiroedd," meddai,
"Nid eiddot ti yn awr."

Daeth yna frenin rhwysgfawr,
Wr mwyaf is y nen,
Mewn gwisg o aur a phorphor,
A choron ar ei ben;

Yr angeu a'i gwatworai,
  "Ha! nid wyt ti frenin mwy;
Ymaith a'th wisg a'th goron;
  Trwy'r porth ni ddeuant hwy."

A deuai carwr pleser,
  Oedd ŵr o ddifyr ddawn;
Cludasai ef ddefnyddiau
  Digrifwch lawer iawn;
Ac angeu oedd yn mathru
  Ei bethau gyda gwawd,
"Ddyn gwag, am byth ffarwelia
  A holl bleserau'r cnawd."

Yn mlaen daeth mab athrylith,
  A chyfrol yn ei law,
Yr hon a fawr glodforid
  Oddiyma i wledydd draw;
Ond angeu'n hyf ddywedai,
  "Dy lyfr gad ar dy ol;
Ni pharchaf fi weithredoedd
  Y doethwr mwy na'r ffol."

Ac yna deuai gwyryf
  Deg wedd, ac ysgafn fron,
A'i llygaid yn pelydru
  Mewn llewyrchiadau llon:
Ond angeu, heb dynerwch,
  Ddiffoddai eu goleu glwys,
"Mi ro'f" medd ef, "dy degwch
  I bryfed dan y gwys."

Duwinydd mawr dadleugar,
  A ddaeth i fyned trwy,
A chyda llwn erthyglau,
  A phynciau fwy na mwy:
Ac ebe angeu yn sarug,
  "Y porth rhy gyfyng yw,
I ddwyn dy lwyth dadleuon,
  Gad hwy i dir y byw."

Hen wraig di-ddawn a ddeuai,
  Heb un peth wrthi ynglyn,
Ond cariad lon'd ei henaid
  At Iesu, Ceidwad dyn:
Ac angeu ar hon a wenai,
  "Rhaid ydyw," meddai ef,
"I'th gariad gael myn'd trwodd,
  Can's dyna nwydd y nef."

*Cyf. gan* ———.

## NA THWYLLER CHWI.

### GAIR I DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

[*Parhad o du dal.* 203.]

MAE rhai yn twyllo eu hunain trwy feddwl fod cael gwybodaeth o'r hyn a elwir yn athrawiaeth iachus yn ddigon. Maent yn pwyso ar gywirdeb eu penau, yn hytrach nag ar gywirdeb eu calonau, yn cymeryd ffurf crefydd yn lle crefydd ei hun. Meddylia un am ei fod yn Galfin, ei fod yn Gristion, a'r llall am ei fod yn Fedyddiwr ei fod yn sicr o'r nefoedd. Meddylia rhai os gallant roi desgrifiad o bethau crefydd fod hyny yn ddigon, heb wybod dim am ddylanwad a gallu crefydd. I glywed rhai dynion yn siarad, gellid meddwl mai crefyddwyr ydynt; i'w gweled yn gweithredu gellid meddwl mai paganiaid ydynt. Dywed Paul, pe byddai yn gwybod y dirgelion oll, a phob gwybodaeth, heb gariad, nid yw ddim. Mae yn debyg fod y cythreuliaid yn gwybod llawer mwy o rai pethau na'r Cristion yn y byd hwn, eto cythreuliaid ydynt er y cwbl.

2. Mae llawer yn twyllo eu hunain trwy bwyso ar gyflawniadau allanol. Yr wyt yn byw mewn gwlad Gristionogol, eto nid yw hyny yn dy wneyd yn Gristion; er i ti allu dywedyd, "Y rhai hyn oll a gedwais o'm hieuengctyd," nid ydynt yn ddigon o sylfaen i ti roi pwys dy enaid arnynt. O dragywyddoldeb, dragywyddoldeb! pwy all fod yn ddigon gofalus am gael man i bwyso i dragywyddoldeb. Efallai dy fod wedi gwneyd arferiad o fyned i dŷ Dduw er yn un bychan, efallai na welwyd dy le yn wâg yn yr Ysgol Sabbothol, efallai fod i ti barch mawr yn y gymydogaeth yr wyt yn byw ynddi, efallai dy fod yn gwneyd arferiad o weddio bob dydd, efallai na all neb dy gyhuddo o fai, eto nad yw dy galon di yn uniawn ger bron Duw, rhaid i ti gael *calon newydd.* Nid gweithredoedd da sydd yn cynnyrchu crefydd, ond crefydd

sydd yn cynnyrchu gweithredoedd da. Mae Duw yn cael dy eiriau, ond pwy sydd yn gael dy feddyliau? Pwy sydd yn gael dy galon? A yw y rhai hyn ddim ar bethau eraill weithiau, pan ar dy liniau yn proffesu ymostyngiad ger bron Duw? Faint o fywyd a theimlad sydd yn dy gyflawniadau? meddwl pa sawl gwaith yr ymostynaist ar dy liniau a chyfodi drachefn heb feddwl teilwng am Dduw. A ellir dim dywedyd i ti dreulio misoedd a blynyddoedd heb weddio mewn *gwirionedd*. Nis gelli feddwl i Dduw gymeradwyo gweithredoedd anmherffaith, o herwydd byddai hyny yn gwneyd Duw yn anmherffaith ei hun. Pe buasai dy weithredoedd yn fil gwell nag ydynt, buasai yn rhyfyg i ti ymddiried ynddynt. Iesu Grist yw yr *unig* sylfaen.

Yn awr sylwà, os dy weithredoedd da *di* yw y sylfaen i ti bwyso arno, yna ti yw awdwr y sylfaen hono; felly yr wyt yn pwyso arnat dy hun. Ac os gwir hyn, mae dy gadwedigaeth di yn annibynol ar Dduw a'i drefn, "Yna fe fu Crist farw yn ofer." Aeth y peth penaf a wnaeth Duw erioed yn ofer.

*Sardis. O.* R. H. EVANS.

[*I'w barhau.*]

---

## LLOFFION TEULUAIDD.

GAN ei bod yn ddyddiau y cynhauaf, mi gyfodais yn foreu ac aethym drachefn i faes fy ngharenydd, pryd yr oedd y medelwyr yn dra phrysur yn gweithio, gan adael llawer o dywysenau breision ar eu hol. Gofynais i'm carenydd, A welai yn dda i mi gael eto heddyw loffa ar ei faes? Dywedodd yntau, "Dos fy nghyfaill, ac na ddos i faes arall. Gwna dy oreu, a thebyg na chei gystal mantais ar ol heddyw." Aethym yn mlaen yn lled agos at y medelwyr, a chefais y fraint o glywed eu hymddyddanion, a'r mater oedd ganddynt heddyw ydoedd, ar y ffordd y mae llawer o rieni yn

cyfodi eu plant mor ddilywodraeth. Atebai y llail mai yr achos o hyny oedd, am nad oeddent yn peri iddynt ufuddhau i'r hyn a ofynent ganddynt i'w wneyd ar y pryd. Gadael iddynt ddyweyd, Na wnaf, &c., wrth eu rhieni yn aml ac heb eu ceryddu; ond pan doront ryw beth o'u hanfodd, ceryddent hwynt â'r peth gyntaf a ddelai i'w llaw: pryd y dylasent beidio ceryddu felly, yr hwn a dorai unrhyw beth o'i anfodd, a cheryddu yn llym am anufuddhau. Gwyddoch, meddai un arall, fod genyf fi lawer o blant: nid rhaid i mi ond dyweyd wrthynt am wneyd unrhyw beth, hwy a'u gwnant ef yn y fan; ac os dygwydd i un o honynt ar ddamwain esgeuluso, ni bydd raid i mi ond edrych yn llym arno, dyna efe yn myned at ei orchwyl yn union. Da fyddai i rieni plant sydd yn gadael iddynt wneyd a fynont heb eu ceryddu, efelychu yr olaf hwn. Dychwelais adref tua yr hwyr a baich trwm o dywysenau, a chynghorion da gan dreio eu harferyd.

*Ohio.* LLOFFWR.

## YR IAITH GYMRAEG.

UN or prif destynau i fod dan sylw ein papyrau Cymreig, yw ein hiaith; ac ni all y Cymro ddiraddio mwy arno ei hun na bod yn dirmygu iaith ei dadau; a pha le bynag y gwelir Cymro yn gwneyd hyn, ystyrir ef gan y lluaws yn fyr o synwyr cyffredin. Nid wyf yn meddwl fod rhyw ragoriaethau yn y naill iaith mwy na'r llall, fel ag y dylid ysgrifenu gyfrolau i ddadleu y rhagoriaeth; ond ei phrif ragoriaeth yw ei rhwyddineb, a'i neith i osod allan y meddwl yn oleu, rhwydd a dealladwy. Gan i'r Llywydd mawr weled yn dda i gymysgu a lluosogi yr ieithoedd i ryw ddybenion, a chan fod dyn y fath ymdeithydd, oni byddai yn ddaa manteisiol iddo allu traethu ei neges, ei angen, ei gwyn a'i gyfrinach i'w frodyr o unrhyw lwyth ac iaith. Ac onid yw y dyn a wrthodai (mewn dirmyg) gadw ei iaith sydd mor rhwydd a rhad,

na'i harfer, ac efallai a wariai lawer o arian ac amser i ddysgu iaith farw nad oes un genedl yn ei harfer, ond mewn llysieuiaeth a physygwriaeth, yn un ffol difenydd wedi ei syfyrdanu gan falchder. Cofiwch fy nghydgenedl eich bod wrth ddiystyru y Gymraeg yn gwneyd hyny ag un o'r ieithoedd hynaf a chryfaf sydd yn bodoli; wedi cymysgu y gyntaf nid oes yr un yn fwy gwreiddiol na'i gilydd. Breuddwyd ffol yw dyweyd fod Hebraeg na Chymraeg mor hen ag Adda, gan na all un fod yn gynt na thwr Babel; ond yr un a ddrylliwyd trwy ei chymysgu.

Hawdd yw profi mai Cymraeg oedd prif iaith Ewrop am amser maith, a bu yn brif iaith llys Prydain, ac y mae yr iaith Gymraeg yn sylfaen bron yr oll o ieithoedd Ewrop. Cyn cred ni arferid ond y Geltaeg a'r Gymraeg yn Ewrop, gan neb ond y Gothiaid. Mae gwreiddiau holl ieithoedd y Dwyrain yn y ddwy hyn. Gall y Cymro ddysgu ieithoedd y byd yn rhwyddach na braidd un dyn arall, am fod gwreiddiau cynnifer o allweddau iaith yn gydiol ynddi, ac yn cario eu tebygoliaeth trwy luaws mawr o gangen ieithoedd arferedig. Mae llawer o ymdrech yn y wlad hon i ddysgu Ffrancaeg, ac y mae hono fel eraill o'r cangen ieithoedd yn ei phrif eiriau (medd y dysgedigion) yn gydseiniol â'r iaith Gymraeg. Dywed y rhai dysgedig, ei bod yn well i farddoni a phregethu, &c, nag unrhyw iaith adnabyddus. Dywed y dysgedig Goronwy Owen, ei bod yn tra rhagori ar bob iaith i'r dybenion hyn. Dywed un o'r dysgedigion, ei bod yn syml, heb fod yn isel—yn hyf, heb fod yn ddigywilydd—yn addurnwch, heb gymendod—yn gydseiniol, heb fod yn orwag—yn ardderchog, heb chwyddiant—tyner, heb fursendod—a chryf, heb erwinder.

Llawer ellid ychwanegu am rhagoriaethau ein hanwyl iaith, am hyny na ddirmygwn hi cyn iddi ein drygu; nag esgeuluswn hi tra caffom rhyw les o honi. Gofynaf i'r coegddyn nad yw yn arddel ei iaith, A gefaist dy drethu am dy fod yn Gymro

pan yn ymfudo? a gostiodd i ti lawer am gario dy iaith gyda thi? a ddygwyd di i wrido am dy fod yn Gymro neu Gymraes, os na byddit yn dilyn cwmni drwg? neu a ydyw dy fod yn medru Cymraeg yn dy osod dan un anfantais dymhorol neu dragywyddol? Gwir dy fod (os na fedri un arall) yn fyr o gyrhaedd llawer o fanteision. Nid yw dal yr hyn sydd genyt yn rhwystr (ond help) i gael ychwaneg. Am hyny, Gymry mwynion, perchwch eich iaith. Tybiwyf fod y merched yn dibrysio iaith eu mamau yn fwy na'r meibion, ac felly y mae llawer Dic Sion Dafydd yn ein tir. Y fam a'i Saesonaeg a'i Chymraeg bob yn ail, a'r plant yn gwrando yn Gymraeg, ac yn ateb yn Saesoneg; fel na wyr y dyeithr beth yw y trafodiaeth sydd ganddynt; ac am addysg grefyddol, mae y fam druan yn hollol analluog i'w weinyddu, am na all hi ddigon o Saesoneg. O fam! pe buasit yn fudan buasit ddieagus yn y farn, ond dy blentyn ydyw. Ar bwy y mae y bai os nad yw ef yn dy ddeall?

*Rome.* T. W.

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 207.]

### 2. HYSEINIAETH.

YR oedd yr hen athronwyr, y Stoiciaid a'r Peripateticiaid, neu ddysgyblion Zeno ac Aristotle, yn arfer dosbarthu pob peth i Ddefnydd a Ffurf (*Matter and Form*). Mae rhyw beth cyffredinol a neillduol yn perthyn i bob gwrthddrych. Yr hyn sydd gyffredinol yw y peth sydd yn perthyn i ddosbarth, yn cynnwys amryw unigolion, a'r peth neillduol yw y sawl sydd yn perthyn i ddim ond un, yn ei wahaniaethu oddiwrth eraill, ac yn ei wneuthur y peth hwnw ei hun. Y cyffredinol yw y Defnydd—y neillduol yw y Ffurf. Gyda golwg ar iaith, SAIN yw y Defnydd; ac y mae yn gyffredin i amryw bethau. Os ystyrir ef megys y rhyw (*genus*), y mae

iddo amryw *rithiau* (*species*); ond y rhai penaf yw sain *bywydol* a sain *difywyd*; neu, mewn geiriau eraill, y sain perthynol i anifeiliaid a phethau difywyd. Y mae y sain hwnw sydd yn cyfansoddi Defnydd iaith yn cynnwys rhith o sain anifeiliaidd, nid amgen y LLAIS DYNOL; a'r cyfryw sain pan fyddo yn arwyddlun rhyw syniad yn y meddwl, yw y peth a elwir GAIR; a dyna yw Ffurf iaith, yn ol yr hen athroniaeth;—*sain* yw y defnydd, a *sain arwyddocaol* yw y ffurf.

Gan mai seiniau llafar neu arwyddocâol sydd yn cyfansoddi iaith, y mae perthynas rhwng y seiniau hyny a'r llafar beiriannau, y rhai sydd wedi eu cyfaddasu at ffurfio rhyw rifedi pennodol o'r cyfryw seiniau *syml* yn gystal a *chyfansawdd*. Gwyddom nas gall ein galluoedd llafariadol gynnyrchu ond rhyw nifer pennodol o seiniau syml, y rhai a elwir *llythyrenau*; a'r llythyrenau hyny wedi eu cysylltu yn nghyd mewn rhyw sefyllfaoedd, nis gallant eu seinio o gwbl; megys, *hllpsch*, *rptch*, *gtm*, *bmchs*. Oddiwrth y nodiadau hyn ni a ganfyddwn, er fod geiriau yn gynnwysedig o lythyrenau neu seiniau syml wedi eu gosod at eu gilydd, eto y maent yn ddarostyngedig i ryw ddeddfau yn ein natur; ac onis dilynir y cyfryw, ni fyddwn ddim haws a chysylltu llythyrenau wrth eu gilydd, o herwydd nis gallwn eu seinio. Mae geiriau, gan hyny, yn gynnwysedig, nid yn unig o lythyrenau wedi eu cysylltu â'u gilydd; ond, hefyd wedi eu cysylltu yn y fath fodd yn eu perthynas â'r galluoedd llafariadol, ag y gellir eu seinio. Mewn amgylchiadau eraill, dichon i sefyllfaoedd perthynasol rhai seiniau syml fod y fath, nas gellir eu cynanu heb *anhawsder*, ac heb gymeryd mwy o amser nag a ganiatâ *dyben* iaith, neu o'r hyn lleiaf, *un* o ddybenion iaith, sef yw hyny trosglwyddo ein syniadau gyda buandra rhesymol, fel na byddo i'r gwrandawr anghofio dechreu y frawddeg cyn i'r llefarydd allu ei gorphen. Yma, ni a ganfyddwn egwyddor arall, nid amgen, bod iaith yn gynnwysedig o seiniau wedi eu cysylltu yn nghyd yn y fath fodd gyda golwg ar ein llafar-

beiriannau, ag y gallont eu cynanu yn rhwydd ac yn gyflym. Yn seiliedig ar yr egwyddorion hyn, y mae rheolau Orgraffol yn banfodi yn *natur*, os nid mewn Gramadegau. Mewn ieithoedd ereill, mae llawer o sylw wedi cael ei dalu i hyn, a phaham na ddylai fod yr un modd gyda golwg ar y Gymraeg? Mae Orgraffiedyddion Cymreig fel pe bai arnynt ofn i hyn guddio gweiddiau geiriau yn ormodol. Cuddiant hwy neu beidio, mae NATUR yn dywedyd mai felly y dylai fod: ac ni waeth i neb beidio sillebu yn y fath fodd gwrthodadwy gan ein llafaralluoedd, nes y maent yn troi eddi wrthynt mewn tramgwydd, ac yn dyweyd, yn eu hiaith, na wnant byth eu seinio. Y cyfryw ydynt y geiriau *bywaau*, *cyfiawnaau*, *gan fy ysbysu*; ac nid anhebyg iddynt yw *cyfhwrdd*, *yn mhob man*, *yn Nghrist*, *yn nghorph*, a'r cyffelyb. Caniatâwn yn rhwydd mai fel yna yr arferir sillebu y geiriau yna, y rhan fwyaf o honynt, gan agos i bawb; ond ein dadl yw y *dylai iaith ysgrifenedig fod yn arddangosiad o iaith lafaredig;* ac nas gall y llafaralluoedd sydd genym yn awr seinio geiriau neu eirweddion cyfunwedd a'r rhai a nodwyd, heb son mai dyna y drefn a fabwysiedir ac a gymeradwyir gan yr ysgolheigion Cymreig a chyffredinol goreu.

---

## YMDDYGIAD CANMOLADWY INDIAD AMERICA.

YCHYDIG cyn dechreuad y rhyfel a fu rhwng y Saeson a'r Indiaid yn Mhennsylfania, fel yr oedd boneddwr Saesonig, oedd yn trigianu ar gyffiniau y Dalaeth, yn sefyll wrth ddrws ei dŷ ryw brydnawn, daeth Indiad heibio gan atolygu am damaid o fwyd; ond efe a'i hatebodd nad oedd ganddo ddim iddo. Yna efe a ofynodd am ychydig o gwrw, ac a gafodd yr unrhyw ateb. Heb ddigaloni er y cwbl, yr Indiad a grefai am lymaid o ddwfr; ond yr ateb a gafai gan y boneddwr Saesonig oedd, "Ewch ymaith y ci Indiaidd." Craffodd yr Indiad arno dros ychydig, ac yna aeth ymaith.

Yn mhen rhyw gymaint o amser wedi hyn, dygwyddai i'r boneddwr Saesonig yma, yr hwn oedd yn dra hoff o saethu,

ddilyn ei ysglyfaeth, nes ei golli ei hun yn y coed. Wedi crwydro felly dros amser, heb wybod pa le yr ydoedd, nac i ba le yr oedd yn myned, efe a welai fwthyn Indiaidd, at yr hwn y tynai i ymofyn am y ffordd tua rhyw blanfa. Yr Indiad a atebodd, "Y mae yn mhell iawn, ac y mae yr haul bron a machludo, nis gellwch gyrhaedd yno heno, ac os aroswch yn y coed, y bleiddiaid a'ch llarpiant; ond os dewiswch lettya gyd a mi, chwi a ellwch." Y boneddwr a gymeradwyodd y gwahoddiad yn llawen, ac a aeth i mewn. Yr Indiad a ferwodd ychydig o gig carw iddo, ac wedi arlwyo swper goreu a allai, i'r teithydd crwydredig, efe a daenai grwyn ceirw yn orweddfa iddo; ac yntau gydag Indiad arall a orweddasant i hunaw yn y cwr arall i'r bwthyn.

Yn y boreu, galwai yr Indiad ar y gŵr boneddig, gan ddywedyd fod yr haul wedi cyfodi, a bod ganddo ffordd fawr i'r blanfa; ond y deuai efe i ddangos y ffordd iddo ef. Wedi cymeryd eu drylliau aeth y ddau Indiaid o'r blaen, ac yntau a'u dilynai. Wedi iddynt fyned lawer o filldiroedd, yr Indiad a ddywedai wrtho ei fod o fewn dwy filldir i'r blanfa a ddymunai ei chyrhaeddyd. Yna efe a safai o'i flaen ac a ofynai iddo, gan ddywedyd, "A ydych chwi yn fy adnabod I?" Y Sais mewn cryn derfysg a ddywedai, "Mi a'ch gwelais chwi." "Do," medd yr Indiad, "chwi a'm gwelsoch wrth eich drws chwi eich hunan; ac yma mi a roddaf i chwi dipyn o gyngor buddiol; os daw Indiad tlawd eto, yn newynog, sychedig a lluddedig, gan ofyn am ychydig o fwyd a diod, na throwch ef i ffordd yn surllyd, gan ei alw yn "*gi Indiaidd.*" Felly efe a drodd ac a aeth ymaith. Ymddygiad pa un o'r ddau hyn oedd yn fwyaf canmoladwy, a mwyaf cyson â rheol euraid Crist ei hunan? Mat. vii. 22.—*O'r Dyddanion.*

---

## CYNNADLEDD RHWNG MEDDWYN AR EI WELY ANGEU A GWERTHWR GWIROD.

MR. GWERTHWR.—Boreu da, gyfaill D. Y mae yn ddrwg genyf eich gweled mor isel; yr ydych yn ymddangos yn agos i'ch diwedd.

D. Ydwyf, yr ydwyf yn bur isel; ac yr ydwyf yn meddwl nas gallaf fyw lawer yn hwy. Yr ydwyf wedi bod yn bur ffol, ac yr wyf yn awr yn gweled hyny; wrth yfed mor galed, yr ydwyf yn myned i'r bedd yn anamserol.

Mr. G. O gyfaill D., marwolaeth, chwi a wyddoch, yw tynghedfen gyffredin pob dyn: a bydd rhai yn marw yn ieuangach na'u gilydd; nyni a ddylem ymostwng i ewyllys y Nef.

D. Myfi a chwi a fuom yn gymydogion am lawer o flynyddoedd; yr wyf yn meddwl y byddem bob amser yn byw yn gyfeillgar.

Mr. G. Do, ni a fuom, ac fe ddarfu i ni warlo llawer awr ddifyr a dyddan gyda'n gilydd; chwi a fuoch yn gyfaill pur garedig.

D. Mi a fûm, Mr. G., bob amser yn fasnachwr da yn eich trwythdŷ meddwol, oni fûm?

Mr. G. Do, yr wyf yn wybyddus eich bod.

D. Mi a wariais lawer iawn o arian am ddiodydd alcoholaidd yn eich tŷ chwi.

Mr. G. Do, yr wyf yn bur rwymedig i chwi am eich arferiad.

D. A ydych chwi yn tybied, Mr. G., fod yr holl ddiodydd meddwol o bob math a yfais erioed yn eich tŷ wedi gwneuthur i mi un daioni? A ddarfu iddynt erioed gynnyddu fy eiddo, derchafu fy nghymeriad, dyddanu fy nheulu, ac uwchlaw y cwbl, ddarparu i mi ddyddanwch erbyn fy ngwely angeu hwn?

Mr. G. Ni allaf ddywedyd iddynt wneyd. Fe fuasai yn well i chwi beidio yfed cymaint.

D. Pa fodd, ynte, Mr. G., y gallech chwi barhau i werthu *rum* a diodydd meddwol ereill i mi, pan yr oeddech yn gwybod nad oeddent yn gwneyd i mi un daioni?—Y mae yn bresenol yn awr yn bwysig gyda mi, Mr. G. Yr ydwyf yn awr yn gallu canfod yn eglur fy ynfydrwydd i, a'ch euogrwydd chwithau. Yr wyf yn ddyn marwol, yn feddwyn marwol! o'ch llaw chwi y derbyniais y cwpan angeuol! yn eich llogell chwi y mae gwerth fy iechyd—fy mywyd—ac och! O Dduw! fy ysbryd anfarwol. Fel dyn marwol yr wyf yn atolygu arnoch, yn eich rhybuddio, i beidio gwerthu rhagor o'r drwyth feddwol uffernol. O! fy—— (yna efe a fu farw mewn *convulsions.*)—*Athraw.*

---

## Y FFORDD I LWYDDO.

AMRYW flynyddau yn ol, pan oeddwn yn wr ieuanc, oddeutu ugain mlwydd oed, arferwn dreulio y Sabboth yn

fynych gyda'm mam yr hon a gyfaneddai yn Versailles; yr hwn oedd yr unig ddiwrnod ar ba un y gallwn adael Paris. Y rhan fynychaf, arferwn gerdded mor bell a'r Barrier, ac yno cymerwn eisteddle yn un o'r cerbydau i dŷ fy mam. Pan y dygwyddwn fod yn rhy foreu, arferwn aros ac ymddyddan gyda chardotyn o'r enw Anthony, yr hwn yn wastad a gymerai ei safle yn y Barrier de Passy, lle yr atolygai gyda llais uchel, a gradd o lewder anarferol, am elusen gan bawb a elai heibio. Arferwn yn gyffredin roddi ychydig iddo, heb ymofyn pa un a oedd yn teilyngu ai peidio, mewn rhan am fy mod wedi arfer rhoddi, ac mewn rhan er cael ymadael â'i swn.

Un diwrnod yn yr haf, fel yr oeddwn yn aros am y cerbydau, gwelwn Anthony yn sefyll yn ei le arferol, ac yn myned dros ei erfyniad arferol, "Er mwyn cariad y nefoedd, rhoddwch ychydig o elusen i ddyn tlawd. Meistri a meistresi, fe dderbynir y swm lleiaf yn ddiolchar." Tra yr oedd Anthony fel hyn yn tywallt ei grochlefau i glustiau pawb a ddeuent i'w gyrhaedd, dyn canol oed, o ymddangosiad parchus, a ymunodd â ni. Yr oedd o edrychiad siriol, yn gwisgo yn dda, ac ar gip olwg gellid canfod ei fod mewn amgylchiadau cysurus—yr oedd gan hyny yn wrthddrych cymhwys i'r cardotyn, yr hwn a ddadganodd ei dlodi gyda llais uchel, gan erfyn am gynnorthwy.

"Ni raid i chwi fod yn cardotyn pe ewyllysiech," atebai y boneddwr, "pryd y gallech gael bywioliaeth o 10,000 o goronau."

"Yr ydych yn gweled yn dda gellwair, syr," ebe Anthony.

"Nac ydwyf er dim," meddai y boneddwr, "ni bum yn fwy difrifol yn fy oes. Gwrandewch arnaf, fy nghyfaill. Chwi a welwch fy mod i wedi fy nilladu yn dda, a dywedaf wrthych fod genyf bob peth y gall dyn rhesymol ei ddymuno."

"Ah, Syr, yr ydych chwi yn ddyn ffortunus!"

"Wel, fy nghyfaill, ni buaswn felly, pe'r eisteddaswn i lawr i gardota, fel yr ydych chwi."

"Nid oes genyf un ffordd arall i ennill cynnaliaeth."

"A ydych chwi yn gloff?"

"Nac ydwyf, syr,"

"Nid ydych ychwaith na dall na byddar, ac y mae yn sicr nad ydych yn fud, fel y gall pawb ag sydd yn pasio y ffordd

yma dystiolaethu, Gwrandewch! mi a draethaf i chwi fy hanes mewn ychydig eiriau. Pymtheg neu ugain mlynedd yn ol, yr oeddwn yn gardotyn fel chwithau; o'r diwedd, daethum i weled fod yn gywilydd i mi fyw ar haelioni eraill, a phenderfynais ymwrthod â'r ffordd warthus hon o fyw, mor fuan ag y gallwn. Ymadewais â Paris, ac aethum i'r Taleithau, gan ymofyn am hen garpiau. Ymddygodd y bobl yn dra charedig tuag ataf; yn fuan, dychwelais i Paris, gyda sypyn gweddol o garpiau o bob math. Aethum â hwy at bapyrydd, a gwerthais hwy am bris teg. Aethum ymlaen i gasglu nes (i fy mawr lawenydd) y daethum yn alluog i *brynu* carpiau, fel nad oeddwn mwyach o dan yr angbenrheidrwydd o'u cardota.

"O'r diwedd, trwy ddyfalwch a diwydrwydd, daethum yn ddigon cyfoethog i brynu asyn, ynghyd â dau gefn-gawell (*panniers*), y rhai a achubasant i mi lawer o amser a llafur—fy masnach a gynyddodd—y papyrwyr a ganfuasant fy mod yn marchnata yn onest gyda hwy, ac na byddwn yn rhoddi carpiau gwael, gan haeru eu bod yn dda—mi a lwyddais ; a gwelwch y canlyniad. Yn lle bod yn gardotyn tlawd a dirmygedig, yr wyf yn werth deng mil o goronau yn y flwyddyn, ynghyd â dau dŷ yn un o'r heolydd goreu yn Paris. Oni ellwch wneuthur yn well, fy nghyfaill, dechreuwch fel masnachwr carpiau ;" ac ychwanegaf, "Dyma i chwi *goron* i ddechreu ar eich gorchwyl newydd, mae yn rhagor nag oedd genyf fi; ac yn ychwanegol, byddwch cystal a chymeryd rhybudd, os canfyddaf chwi yma am Sul yn ychwaneg, yr hysbysaf am danoch i'r heddgeidwaid."

Wedi dywedyd hyn, aeth y boneddwr ymaith, gan adael Anthony a minau mewn syndod. Yn wir, yr oedd y cardotyn wedi ei ddifyru gymaint, fel y safai mewn syndod, gyda genau a llygaid agored, ac yr esgeulusai ymofyn elusen gan ddwy foneddiges hardd a aethai heibio ar y pryd.

Nis gallwn lai na rhyfeddu yr hanes,ond ni chefais hamdden i wneuthur un sylw arno. am fod y cerbyd wedi dyfod, yn mha un y cymerais fy eisteddle, ac a aethum i'm ffordd. O hyny allan, collais y cardotyn—pa un ai ofn yr heddgeidwaid ai gobaith ennill deng mil o goronau yn y flwyddyn a effeithiodd y cyfnewidiad hwn, nis gwn ; mae yn ddigon dywedyd, na welwyd mohono o'r dydd hwnw allan yn y Barrier.

Amryw flynyddau wedi hyn, dygwyddodd fod masnach yn

galw arnaf i fyned i Tours. Wrth ymdaith trwy yr heolydd, mi a droais i fasnachdŷ llyfrau, gyda'r dyben o brynu rhyw lyfr newydd ag yr oedd cryn sŵn yn ei gylch. Yr oedd yno bedwar o ddynion ieuainc yn brysur gyda'u gorchwylion, a dyn heinyf a hardd yr olwg yn rhoddi *orders* iddynt, tra yn rhodio i fyny ac i lawr ar hyd y masnachdŷ. Meddyliais i mi weled wyneb y llyfrwerthwr o'r blaen, ond yn mha le nis gallwn ar y foment benderfynu, nes iddo siarad, pryd y deallais mai efe oedd fy hen gyfaill Anthony. Ni a adwaenasom ein gilydd, ac efe a dŷnwasgodd fy llaw, ac a'm harweiniai trwy ei fasnachdŷ i barlwr wedi ei ddodrefnu yn hardd. Efe a wastraffodd bob caredigrwydd arnaf, ac a adroddodd ei hanes o'r pryd yr ymadawsom yn y Barrier. Dechreuodd gyda choron y dyeithr—dywedodd fel y cynghorasai ef i gasglu carpiau, &c.

Efe a wnaeth felly, ac a ennillodd arian, ac a aeth yn rhanog â gwneuthurwr papyr, ac a briododd ei ferch; yn fyr, yr oedd ei ddymuniad wedi ei ddigoni, a'i uchelgais wedi ei foddio, a gallai yn awr gyfrif ei fywioliaeth yn ddeng mil o goronau. Gweddiais yn feunyddiol am fendith ar ei gymwynaswr, yr hwn a fuasai yn foddion i'w dderchafu o sefyllfa isel cardotyn. Mae Anthony wedi ei argyhoeddi o'r drwg a'r pechod o ddiogi, ac o fyw ar elusen rhai eraill, i'r fath raddau, fel, tra y mae yn haelionus a thirion wrth y rhai sydd yn ewyllysgar i weithio, na lwyddodd un erfyniad na deisyfiad erioed i gael ganddo gyfrannu ceiniog i'r rhai na chynorthwyent eu hunain.

---

## MILWR HEB FYDDINWISG.

MILWR o'r 42 Catrawd wrth ymdaith yn ei fyddinwisg, a oddiweddai ddyn ieuanc, o ymddangosiad difrifol, yn darllen traethodyn (*tract*); a chymerodd yr ymddyddan canlynol le rhyngddynt.

*Milwr.* Mae yn lled dwymn i gerdded heddyw; ond yr ydych chwi yn ymroi iddi fel pe baech gynnefin a'r gwaith.

*Dyn Ieuanc.* Pa'm lai, waith os bydd gan ddyn daith o'i flaen, ni ddylai adael i'r glaswellt dyfu dan ei draed.

*M.* Gwir, gyfaill; yr ydych chwi yn ymddangos yn ddyn ieuanc calonog, a thipyn o fywyd ynoch; chwi a atebech

yn hynod i wasanaeth ei Fawrhydi. Beth feddyliech chwi, a wnewch chwi ymrestru (*list*) yn filwr?

*D. I.* Na wnaf; ni byddai hyny ond ffolineb, gan fy mod yn filwr eisoes.

*M.* Yn wir! ond ymddengys i mi yn beth rhyfedd eich bod yn trafaelio heb eich byddinwisg.

*D. I.* O bosibl; ond mae y gatrawd (*regiment*) i'r hon yr wyf fi yn perthynu, at ei rhyddid i wisgo y dillad a fyno, ond i bob milwr fod mewn llawn arfogaeth, cadw ei hun yn lân a gweddaidd, a pheidio gwarthruddo ei alwedigaeth.

*M.* Aiê! Ni chlywais i erioed o'r blaen, fod un fyddin yn ngwasanaeth ei Fawrhydi, yn cael caniatâd i wisgo dim ond y fyddinwisg. Yr wyf yn ofni mai cellwair yr ydych; ar yr un pryd, yr ydych yn ymddangos yn eithaf difrifol. Beth all fod eich oedran? Yr wyf yn eich cymeryd i fod tua deg ar hugain.

*D. I.* Nid ydych yn mhell oddi wrth y marc; ond yr wyf fi yn fy ngalw fy hun yn hen filwr, er hyny.

*M.* Goddefwch i mi ofyn i chwi, "a fuoch chwi erioed o flaen tân?" a fuoch erioed mewn brwydr?

*D. I.* O do! mewn llawer iawn, a chefais fy nghlwyfo yn dost mewn rhai o honynt hefyd; ond dyma lle'm gwelir, diolch i Dduw, ac yr wyf yn foddlawn i ymladd tra byddo genyf goes i sefyll arni.

*M.* Da chwareu, gyfaill, mae hyny yn ganmoladwy iawn; ymddengys bod cryn galon ynoch hefyd, fel y dylai fod yn mhob milwr. Chwi ellwch ddarllen mae yn debyg, pe amgen ni buasech yn dal y traethodyn yna yn eich llaw; ac os gellwch ysgrifenu ychydig hefyd, ni ryfeddwn i ddim na chaech eich derchafu, a'ch gwneyd yn ddengwriad (*corporal*).

*D. I.* Nid wyf fi yn awyddu cymaint am dderchafiad, canys y mae ein rheolau ni yn groes i hyny—dyledswydd milwr ydyw gwasanaethu ei Frenin yn ewyllysgar, yn hytrach na cheisio codi ei ben uwchlaw ei gyd-filwyr.

*M.* Digon gwir, ond er hyny, nid oes ynof fi ddim rhyw awydd mawr i barhau yn filwr cyffredin, ar hyd fy oes. Deuwch yn awr, byddwch onest gyda mi, oblegid mae yn taro i fy mhen, mai twyll yw y cyfan yn nghylch "eich byddin chwi at ei rhyddid i wisgo y dillad a fyno," &c. Yr wyf yn ofni mai enciliwr (*deserter*) ydych.

*D. I.* Nage mewn un modd. Llawer o bethau a wnaethym

yn ty amser na ddylasai milwr ffyddlon eu gwneyd, ond am enciliio o'r fyddin, cynt y collwn fy mywyd.

*M.* Wel nid myfi yw y dyn i fradychu brawd o filwr, pe cawn gyfleustra; ond mae yn dda genyf nad ydych yn enciliwr. Dyma Dafarndŷ, mi welat; beth a ddywedech chwi am wydraid o frandi a dwfr, neu efallai eich bod chwi yn dewis brandi wrtho ei hun.

*D. I.* Nid oes angen y naill na'r llall arnaf fi; yn y lle cyntaf, ni allaf fi fforddio yfed brandi, ac yn y lle nesaf, rhoddir gorchymyn yn y prif luest-dy (*head-quarters*) i'n cwmni ni fod yn dra chymedrol yn y cyfryw bethau.

*M.* Os na allwch fforddio, cewch wydraid ar fy nhraul i, a chroeso. Mae cymedrolddeb yn burion; ond pan na byddo milwr ar ddyledswydd, gall gymeryd defnyn yn awr ac eilwaith.

*D. I.* Ond gorchymynir i ni fod bob amser ar ddyledswydd, ddydd â nos, gwlyb neu sych, i mewn neu allan. Gorchymynir i ni gadw gwyliadwriaeth bob amser, a bod bob amser yn barod i gychwyn i'r frwydr.

*M.* Beth! bob amser ar ddyledswydd. Mae hyny yn ddigon i dori calon unrhyw filwr. Yr wyf yn caniatau ei bod yn weithio brwd gyda ni yn amser rhyfel, ac nad oes y pryd hyny ddim amser i gyfedda; ond pan yr ydym mewn heddwch, ac adref, bod bob amser ar ddyledswydd sydd hollol afresymol—Ond ow! siaralasom nes pasio y tafarndŷ. Ond rho'wch glywed ai i'r peiriandu (*artillery*) yr ydych yn perthynu, ai i'r picellwyr (*lancers*) ynte i'r gwŷr traed (*foot guards*)?—Yr ydych yn ddigon tàl i fod yn osgorddwr (*life guardsman.*

*D. I.* Nid wyf fi yn perthyn i un o'r rhai a enwasoch.

*M.* Pa'm na ddywedwch wrthyf yntê beth ydych? A oes arnoch gywilydd o'ch banerau, neu o'ch Cadben?

*D. I.* Bendigedig fyddo Duw, nid y naill na'r llall. Nagê, nagê; os oes gan unrhyw filwr, achos i ddyweyd yn dda am bob un o'r ddau, myfi ydyw.

*M.* Yr ydych yn fath ryfedd o filwr; nid ydych yn gwisgo byddinwisg, ac nid yfwch frandi—deng mynyd yn ol, dywedasoch fod eich cwmni chwi oll i fod bob amser yn eu cyflawn arfogaeth, a thyma chwi heb gymaint a bidog (*bayonet*) i'ch canlyn! Os ydych mor fanol gydag un rau o'ch dyledswydd, pa fodd yr ydych mor ddiofal yn nghylch y rhan arall? Ni

allaf fi weled pa fodd y gall dyn fod gwedi ei arfogi yn dda, pan y mae yn myned o amgylch mewn dillad cyffredin, ac heb fod yn dwyn gandddo lawddryll, cleddyf, na bidogen!

*D. I.* Yr arfau a orchymynir i ni eu dwyn ydynt wahanol i'r eiddoch chwi.

*M.* Gwahanol neu beidio, rhowch eu gweled.

*D. I.* Mae ein harfau ni o dan ein dillad, dyna fel y gorchymynir i ni eu gwisgo. Yr ydys gwedi cael allan mai yr arfogaeth dumewnol sydd yn ateb oreu.

*M.* Aiê? A pha faint o amser sydd er pan gafwyd hyny allan? Mae Gosgordd-wyr y Brenin yn gwisgo dwyfroneg, neu lurig, fel ei gelwir yn awr—A ydych chwi yn meddwl dywedyd bod arfau dan eich dillad yn awr?

*D. I.* Os caniatewch, cyn ateb eich holiad, darllenaf i chwi y traethodyn yn fy llaw, oblegid mae yn cynnwys eglurhad ar amrywiol ranau ein harfogaeth ni, yn nghyda natur ein milwriaeth; a chewch well desgrifiad o bethau nag allaf fi roddi—mae y llyfryn hwn yn traethu ar nodweddiad gweithrediadau y fyddin i'r hon yr wyf fi yn perthynu.

*M.* Wel, rhoddwch glywed.

*D. I.* Chwi gewch, yn awr sylwch. Mae yr eglurhad yn rhedeg fel hyn:—

"Mae pob gwir Gristion yn filwr: Crist yw Cadben ei Iachawdwriaeth—Mae Duw, yr hwn sydd yn meddu awdurdod ar holl luoedd y nef a thrygolion y ddaear, gwedi ei osod et i fod yn flaenor, ac yn athraw i'r bobloedd." Efe a ddywedodd, "ti wyt forthwyl i mi, ac arfau rhyfel: canys trwot ti y drylliaf y cenedloedd, a thrwot ti y dinystriaf deyrnasoedd"—"Mae pob gwir a ffyddlon filwr i Grist, yn rhwym o ufuddhau ei orchymynion yn mhob peth; ac mewn trefn iddo wybod pa rai ydynt, maent wedi eu hysgrifenu oll mewn llyfr, ac mae y llyfr hwnw yn cynnwys darluniad llawn a manwl, o'i holl arfogaeth, yn nghyda chyfarwyddyd dealladwy pa fodd i'w ddefnyddio: cynnwysa hefyd ei holl ddyledswyddau, fel nad oes le i neb ymesgusodi ar gyfrif anwybodaeth. Cynnwysa y llyfr soniedig hefyd, reolau a threfn y rhyfel, y gelynion â pha rai y mae iddo ymladd, y ffordd iddo ddechreu gwneyd ymosodiad, a'r modd y mae iddo sicrhau y fuddugoliaeth."

[*I'w orphen yn y nesaf.*]

## CHWEDL AM JOHN BUNYAN.

PAN oedd J. Bunyan yn y carchar yn *Bedfford*, o achos pregethu yr efengyl, yr oedd ceidwad y carchar yn bur dirion wrtho, ac efe a'i gollyngai yn ddirgel at ei deulu, ac i ymweled â'i gyfeillion: bu unwaith cyn belled a Llundain, ond fe aeth hyny yn hysbys i'r erlidwyr.

Ond ryw noswaith wedi myned adref at ei wraig a'i blant, ac wedi myned i'w wely, daeth anesmwythyd mawr ar ei feddwl fel nas gallai gysgu, ac am hyny efe a gododd ac a aeth yn ei ol, ac a gurodd wrth ddrws y carchar, a daeth y ceidwad at y drws ac a ofynodd yn sarug, Paham yr oedd yn dyfod yn ei ol ac yntau wedi cael cennad i aros gartref? Dywedodd ei fod yn methu cysgu, a'i fod yn anesmwyth gartref, ac na wyddai beth oedd yr achos. Yna efe a aeth i'w wely: ond yn mhen ychydig dyma guro wrth ddrws y carchar, a phan agorodd y ceidwad y drws daeth dau wr (swyddogion o Lundain) i mewn, ac a ofynasant i'r ceidwad; "A ydyw y carcharorion i gyd yn y carchar?" "Ydynt," ebai yntau. "Dangoswch i ni J. Bunyan," ebe hwynt. Pan welsant ef ymadawsant. Yna, ebe y ceidwad wrth Bunyan, chwi a wyddoch pa bryd i ddyfod yn ol yn well nag y gwn i, ac am hyny ewch adref, a dychwelwch pan weloch chwi yn dda, &c.—*D. Y. S.*

---

### HUNANYMHOLIAD GYDA'R NOS.

Weddiais i'r boreu hwn trwy ffydd,
Am gymhorth Duw ar hyd y dydd?
Ddarllenais i ei air yn llawn,
I lunio mywyd wrtho'n iawn?
A geisiais i roi'r gwir dan gudd,
A d'wedyd celwydd er mwyn budd?
A rois i f' amser a fy mryd,
Fel gweddai f'oed a'm lle'n y byd?
Ymgedwais i rhag rhag tymhér ddrwg,
Gan attal balchder, llid a gwg?
A fûm i mewn amynedd mwyn
O dan y drygau raid eu dwyn?
Osgoi's i air a gweithred groes,
A wnai i nghydgreadur loes?—*Cyfieithiad.*

## NA THWYLLER CHWI.

GAIR I DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

[*Parhad o du dal.* 218.]

MAE yn berygl i ddynion gael eu twyllo trwy ymddiried mewn breintiau allanol. Pobl y breintiau oedd pobl Capernaum. Cyflawnwyd y gweithredoedd rhyfeddaf yn eu gwydd, clywsant y pethau rhyfeddaf a glywodd neb erioed. Fe'i codwyd hyd y nefoedd mewn breintiau, ond aeth i lawr hyd yn uffern. Ac oni buasai iddi gael ei chodi mor uchel ni fuasai yn syrthio mor isel, a llawer o'r rhai a fu yn bwyta ac yn yfed gyda Christ ei hun, ac y bu yn dysgu yn ei heolydd, a'i clywant yn dywedyd, "Ewch oddiwrthyf chwi weithredwyr anwiredd." Efallai dy fod di fy nghyfaill ieuangc wedi cael y fraint o gael dy ddwyn i fyny gan rieni duwiol, ond nis gallant hwy dy ddwyn i'r nefoedd; rhaid dy eni drachefn. Ni wna gweddiau dy rieni dy osod mewn gogoniant heb i ti ddysgu gweddio dy hun. Pe byddai dy rieni mor duwiol ag Abraham, eto iaith ysbrydoliaeth yw, "Na feddyliwch ddywedyd yn eich calonau, y mae genym ni Abraham yn dad, canys dichon Duw, o'r meinai hyn gyfodi plant i Abraham."

Nid yn unig y mae yn alluog, ond cynt y gwn'ai efe hyny na throseddu ei air, trwy oddef i enaid aflan fyned i'r nefoedd. Bydd llawer o rieni yn canu yn y nefoedd, a'u plant yn uffern yn gwaeo eu geni, a bydd llawer o blant yn y nefoedd, a'i rhieni yn y tân anniffoddadwy. Ah, enaid, cofia nad oes neb i ti bwyso arno ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio.

3. Mae llawer yn meddwl ond iddynt ymgadw oddiwrth bechodau cyhoeddus, a byw fel y dywed dynion yn ddiniwed, y gallant fod yn ddiogel. Ond y peth y mae y byd yn ei alw yn fywyd diniwed, sydd yn ngolwg Duw yn fywyd pechadurus ac annuwiol. Efallai na chlywodd neb erioed mo honot ti yn

tyngu, nac yn feddw. Efallai na chlywodd neb erioed mo honot yn dywedyd celwydd; ond nid oes eisiau y pethau hyny i ddamnio dy enaid. "Am bob gair segur a ddywedo dynion, a rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn." Mae dy bechodau yn amlach na gwallt dy ben, er i ti gadw y rhai hyny allan o'r *bill*. A ddarfu i ti erioed feddwl fod un pechod yn ddigon i ddamnio enaid i dragywyddoldeb?

Oni wnaeth un pechod daflu yr angelion syrthiedig dros furiau paradwys i gerwyn gwin digofaint yr Hollalluog? Oni wnaeth un pechod daflu yr holl hil ddynol i afael marwolaeth? "Y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad."

*"No match has sin but God in all the world,*
*Men, angels, has it from their station hurled,*
*Hold them in chains as captives, in despite*
*Of all that here below is called might.*
*Release, help, freedom from it none can give,*
*But even He by whom we breathe and live;*
*Watch, therefore, keep this giant out of door,*
*Lest, if once in, thou get him out no more."*

*Sardis. O.* R. H. EVANS.

[*I'w barhau.*]

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 223.]

### 3. GWIWSEINIAETH.

NID oes dim sydd yn tynu sylw dyn yn gynt, nag y fod rhyw fath o swn yn effeithio ar y glust yn wahanol iawn i fath arall—y naill yn cynnyrchu teimlad o hyfrydwch, a'r llall y gwrthwyneb. Nid oes ond ychydig iawn nad ydynt yn meddu chwaeth at beroriaeth, a llai fyth yn coleddu yr unfarn am dano a'r hen Ddr. Johnson, yr hwn a ddywedodd unwaith am dano,

"Of all noises music is the *least* disagreeable."

Ond gellir dyweyd fod y rhywogaeth hwn o greaduriaid mor

brin, fel mai ychydig sydd yn dyfod dan gondemniad Shakspeare, yr hwn a ddywed,

> "The man that hath no music in himself,
> And is not moved with concord of sweet sound,
> Is fit for treasons."

Ond gwyddai yr hen Ddoctor gystal a neb am wiwsain mewn iaith, ac yn nghyfansoddiad brawddeg, ac i hyn fe dalodd fwy o sylw nag odid un ysgrifenydd mewn un oes. Amlwg yw fod y pereiddsain sydd yn perthyn i frawddeg yn ddyledus i'r un sydd yn gynnwysedig yn y geiriau a'r sillebau sydd yn ei chyfansoddi; obegid nis gallai dim fod yn perthyn i'r cyfan, na fyddo yn perthyn i bob rhan o hono. Y gwiwseiniaeth a berthyn i eiriau sydd effaith cyfiead llafariaid a chydseiniaid yn y fath fodd ag a wnelo y gair yn rymus ac esmwyth. Er engraifft, pe byddid yn dilyn geirdarddiaeth yn rhy gaeth, byddai y gair yn ddiffygiol mewn grymusder; megys y mae rhai yn ysgrifenu y gair *gyfelyb*, am ei fod yn deilliaw o *cyd* a *fel;* eithr gymaint gwell yw yr hen *gyffelyb*. Ereill sydd yn colli mewn llyfnder ac esmwythdra, megys y gair *cynnysgaethu*. Gwir mai *cynnysgaeth* yw ei wreiddyn; ond nid cyfiach neu darddiad geiriau yw ein rheol i ffurfio geiriau cyfansawdd, pe amgen, paham nad ysgrifenid y gair i gyd yn ol yr egwyddor hono, a dyweyd *cyndysgaeth* ar unwaith. Gofynwn i bleidwyr y drefn hon, beth yw y rheswm dros ysgrifenu *cynnysgaeth* yn hytrach na *cyndysgaeth?* Os atebir mai er mwyn llyfnhau ac esmwythâu y sain; am yr un rheswm, dywedwn ninau y byddai yn llyfnach ped ysgrifenid ef *cynnysgaeddu*.

Un cymhwysiad o'r egwyddor hon a wneir wrth gyfansoddi geiriau, trwy osod Blaenddodiaid o flaen Enwau, Ansoddeiriau, neu Ferfau. Yn yr ieithoedd dysgedig, y Groeg a'r Lladin, ni newidir y cydsain flaenaf yn yr Enw, &c.; ond yr olaf yn y Blaenddawd; megys, *syllambano*, o *syn* a *lambano;* *accipio* (Llad.) o *ad* a *capio;* *corruptus* o *con* a *rupt-*

*ds*; ond yn y Gymraeg, yn gyffredin, cyfnewidir y ddwy; megys y gwelir yn yr engreifftiau canlynol:—

A. A-traw—Athraw, sydd yn grymuso yr ystyr; megys *aball*, *achrwm*, o *a* a *pall*; *a* a *crwm*. Mae yn llywodraethu y sain *meddal* a'r sain *ysgafn*.

Ad. Ad-meddiant—Adfeddiant, sydd yn arwyddo *adferiad ailwneuthuriad*, neu ddychweliad gweithred neu ffurf i'w gyflwr cyntefig; megys, *adfeddwl*—meddwl drachefn. Mae yn llywodraethu y sain *meddal*.

Am. Am-cylchu—Amgylchu, sydd yr un ystyr a *circum* yn Lladin; megys, *amwregysu*—gwregysu o *amgylch* neu o *gwmpas*. Mae yn llywodraethu y sain *meddal*.

An. An-dysgedig—Annysgedig; mae yn arwyddo *negyddiad* neu *amddifadrwydd*; *annuwiol*—un yn amddifad o dduwioldeb; mae yn llywodraethu y sain *garw* o flaen *c*, *p*, *t*, *d*; a'r *meddal* o flaen *b*, *g*, *ll*, *m*, *rh*; ac yn cyfnewid i *af* o flaen *g*, *ll*, *rh*.

Ar. Ar-cel—Argel, sydd yn dwyshau ac yn grymuso yr ystyr. Pan ei doder o flaen Enw, mae yr un ystyr ag *arch* yn Saesonaeg; o flaen Ansoddeiriau dyry iddynt ystyr uchelradd; o flaen Berfau, mae yr un ystyr a *mawr* neu *lawer*; megys, *arlywydd*—prif lywydd; *arglodus*—tra chanmoladwy; *arfoliannu*—moli yn fawr. Mae yn ateb i'r blaenddawd *per* yn Lladin.

Cy. Cy-par—Cymhar, sydd yr un ystyr a *con* yn Lladin, a *syn* yn y Groeg, ac yn arwyddo *cyfranogiad*; megys, *cymhorth*—help, neu gyfranogiad o *borth*. Mae yn llywodraethu y sain *garw*.

Cyd. Cyd-gwybod—Cydwybod, yr un ystyr a'r un blaenorol; felly, cydwybod a ddynoda y gallu hwnw yn yr enaid sydd yn cyfranogi o'r un wybodaeth â Duw—yn gwybod yr un modd a Duw, a'r un modd a dynion yn gyffredin. Mae yn llywodraethu y sain *meddal*.

Cyn. Cyn-plant—Cynblant; o flaen Enw arwydda *prif* neu

*cyntaf;* ac o flaen Berf, *yn mlaen llaw;* megys, *cyndad*—tad cyntaf; *cynddull*—dull cyntefig; *cynflasu*—profi yn mlaen llaw. Mae yn llywodraethu y sain *meddal.*

Dad. Dad-llwytho—Dadlwytho, sydd yn arwydocâu *dygiad yn ol* i gyflwr neu ffurf cysefin; felly *dadflino, dadgudd-io, dadwisgo,* a'r cyffelyb. Torir y blaenddawd hwn yn *dat* o flaen geiriau yn dechreu â *t*, er mwyn hyseiniaeth; megys, *dattroi, &c.* Mae yn llywodraethu y sain meddal. Mae yn ateb i *Re* yn Lladin, neu *Un* yn Saesonaeg.

Di. Di-lles—Diles, sydd yn dynodi *negyddiad* neu *amddifad-iad* o'r syniad a gysylltir â'r gair a'i dilyna; megys *di-werth, disail, difraw.* Llywodraetha y sain ysgafn.

Dir. Dir-celu—Dirgelu, a arferir i helaethu yr ystyr; megys *dirfawr—mawr iawn; dirboeni—poeni yn dost.* Ym-ddengys ei fod mewn rhai amgylchiadau yn meddu ystyr cyffelyb i *di* negyddol, a bod y llythyren *r* yn cael ei chwanegu yn unig er mwyn hyseiniaeth neu wiwseiniaeth, heb ychwanegu dim at yr ystyr. Y geiriau *dirwest* a *dir-myg* ydynt engreifftiau o'r ystyr hwn i'r blaenddawd.

Mae hyn yn ein hargyhoeddi ar unwaith o'r annoethineb o ymddiried i wreiddiau geiriau fel allweddau i'w deongliad a'u harwyddocâd. Gwelir mai ystyr priodol y geiriau uchod ydyw y gwrthwyneb hollol i'w gwreiddiau, a gadael mai *dir* a *gwest* yw gwreiddiau y naill, a *dir* a *myg* yw yr eiddo y llall.

Yn ein geiriadaeth o berthynas i'r cydseiniaid cyfnewidiol yr ydym yn dilyn y Dr. O. Pughe. Y sain a elwir yma *meddal,* a elwir gan Tegai y sain *ysgafn,* a chan Spurrel yn sain *lleisiol;* a'r hyn a elwir yma y sain *ysgafn,* a elwir gan Tegai y sain *meddal,* a chan Spurrel y *garw;* a'r sain a elwir yma y *garw,* a elwir gan Tegai y sain *chwyrn,* a chan Spurrel y sain *ffroenawl.*

---

Galwedigaeth Gyfreithlon.—Nac ymrwyma mewn un alwedigaeth, os na elli weddio am fendith yr Arglwydd arni.

## LLYTHYR GWRAIG YN YMYL MARW.

YN canlyn gwelir llythyr hynod darawiadol oddiwrth wraig at ei gwr, medd y *Nashville Gazette*, yr hon oedd yn ymyl marw. Cafwyd y llythyr rai misoedd ar ol ei marwolaeth mewn llyfr crefyddol, yr hwn yr oedd hi yn hoff iawn o'i ddarllen yn ei bywyd. Yr oedd y llythyr yn hynod aneglur gan effaith dagrau, ac wedi ei ysgrifenu er ys hir amser cyn i'w gwr dybied fod y clefyd angeuol wedi ymaflyd yn nghyfansoddiad ei anwyl briod, yr hon a fu farw yn yr oedran ieuanc o bedair ar bymtheg.

"Anwyl George, pan fydd i hwn gyrhaedd eich llygaid, ryw ddiwrnod, wrth olrhain yr hyn a fu, byddaf fi wedi myned ymaith am byth, a bydd y gareg wen oer yn cadw gwyliadwriaeth unigol uwch ben y gwefusau y buoch yn eu gwasgu mor fynych; a bydd y dywarchen yn tyfu yn wyrddlas, yr hon fydd yn cadw am byth o'ch golwg lwch un a fynych lechai yn agos at eich calon gynnes. Am lawer noson faith a digwsg, pan fyddai pob peth tu allan i'm meddwl fy hun yn tawel orphwys, byddai yn ymdrechfa ddifrifol rhyngof a'r dybiaeth fy mod yn nesau i gyfarfod angeu, nes o'r diwedd iddo lanw fy meddwl yn anwrthwynebol; ac er y dichon ei fod yn awr yn ymddangos i eraill yn ddim ond dychymyg geneth, eto, anwyl George, felly y mae! Llawer noson flin a gefais i geisio tawelu fy hun wrth feddwl ymadael â chwi, yr hwn wyf yn hoffi mor anwyl, yn nghyda gadael y byd a'i hyfrydwch; a gorchwyl caled, yn wir, yw gwingo yn mlaen yn ddystaw ac unig, ac eto yn llwyr argyhoeddedig fy mod ar ymadael am byth, a myned i lawr i'r dyffryn tywyll! 'Ond mi a wn i bwy y credais,' ac wrth orphwys ar ei fraich Ef, 'Ni ddygwydd i mi niweid.' Peidiwch fy meio am fy mod heb hysbysu hyn i chwi. Pa fodd y gallwn i fod yn offeryn i beri i chwi, yn anad neb, deimlo mor ddwys ag yr wyf fi wrth ymadael, oblegid daw amser a phethau i'r amlwg yn fuan i chwi! Mi a ddymunwn gael byw, pe byddai ond i fod wrth eich ochr pan ddel eich amser, i gael i chwi orphwys eich pen ar fy mynwes, ac i minau sychu eich gruddiau oerion pan fydd eich ysbryd yn cael ei wysio i wyddfod ei Wneuthurwr, wedi ei berarogli yn ngweddiau perffeithiaf gwraig. Ond nid yw hyny i fod, ac yr wyf yn ymostwng. I chwi y mae y rhyddid i wylio trwy

nosweithiau meithion a thywyllion am ymadawiad diweddaf yr enaid, a throsglwyddo fy mhen suddedig oddiar eich mynwes chwi i fynwes fy Iachawdwr! a chwi gaiff gyfran o fy meddwl diweddaf, a'r teimlad diweddaf wrth ysgwyd dwylaw yn wanaidd; a'r cusan ysgafn diweddaf fydd yn eiddoch chwi; eto pan fydd fy nghalon a'm cnawd i yn pallu, caiff fy llygaid syllu yn ddyfal ar yr eiddoch chwi nes eu pylu gan angeu, a chaiff ein hysbrydoedd gadw un cymundeb diweddaf nes bydd yn diflanu o fy ngolwg—y diweddaf o'r ddaear—yna cewch chwithau gydfwynhau golygfeydd ar annidiflanedig ogoniant byd sydd well, lle na bydd ymadael mwy. Adwaen yn dda y llanerch y rhoddwch fi i orwedd ynddo, anwyl George; llawer gwaith y buom yn ymyl y lle, ac fel y byddem yn edrych yn ddyfal ar belydrau auraidd haul ar fachludo yn dysgleirio o'n hamgylch, a phob un, efallai, yn meddwl mai rhyw ddiwrnod byddai un o honom yn dyfod yn uniga phwy bynag fyddai, byddai eich enw chwi ar y gareg. Ond yr ydym yn hoffi y llanerch, a gwn na fyddwch chwi yn ei hoffi ddim llai pan yn syllu ar yr un pelydrau yn chwareu yn mhlith y gwellt fydd yn tyfu ar fedd eich anwyl Mary. Gwn yr ewch yno, a bydd fy ysbryd gyda chwi yno, yn sisial rhwng y cangenau ysgwydedig, 'Nid wyf wedi fy ngholli, ond wedi rhagflaenu.'"

## MILWR HEB FYDDINWISG.

[*Parhad o du dal.* 231.]

MILWR. Yn awr, gyfaill, yr wyf yn gweled pa fath filwr ydych chwi; ac yr wyf yn rhyfeddu na buaswn yn deall yn gynt; modd bynag, ewch yn mlaen gyda darllen.

*D. I.* "Rhaid iddo fod wedi ymdrwsio â gostyngeiddrwydd; rhaid iddo feddu dwylaw glân, a chalon bur, a bod bob amser yn barod i dywallt y gwaed goreu a red trwy ei wythenau mewn ymladd yn erbyn byd, cnawd, a diafol. Ei offerynau a'i arfogaeth."

*M.* Ië, mae yn dda genyf glywed bod arfogaeth ganddo; ond ewch yn mlaen.

*D. I.* "Ei offerynau a'i arfogaeth nid ydynt o ddur awchlym, a haiarn morthwyledig, ond y maent i'w cadw yn loewon bob amser, ac yn gymhwys at waith, fel y byddo efe yn

gryf a pharod i dynu i lawr gaerau Satan a phechod. Am ei ben mae i wisgo helm yr Iachawdwriaeth, ei lwynau sydd i'w gwregysu â gwirionedd, a dwyfroneg cyfiawnder ar ei galon. Ei law aswy sydd i ddwyn tarian y ffydd, a'i ddeheulaw gleddyf dau-finiog yr Ysbryd, a'i draed wedi eu gwisgo âg esgidiau parotôad efengyl y tangnefedd."

*M.* Yr wyf fi yn gwybod sut i drin arfau cystal a nemor i un, a thybiaf fod yn rhaid cael dyn go dda a chleddyf llym i dori trwy fy amben; ond am yr arfau y soniwch chwi am danynt, ni wn i ddim; ni chlywais erioed o'r blaen am y fath arfau, nis gwn i beth y maent da, na pha fodd y mae eu defnyddïo. Pa fodd yr ydych chwi yn gwneyd defnydd o honynt?

*D. I.* Gwrandewch eto beth ddywed y traethodyn. "Gwedi ei arfogi fel hyn i'r frwydr, mae ei Gadben yn dysgu ei ddwylaw i ymladd, a'i fysedd i ryfela; hefyd mae ei Gadben yn myned o'r blaen, ac yna y fyddin ar ei ol sydd ofnadwy fel llu banerog, yn myned allan yn gorchfygu, ac i orchfygu.

*M.* Yr ydych yn mhell tu hwnt i mi. Ni wnawn i ond milwr gwael yn eich byddin chwi. Mae dau neu dri o rai tebyg i chwi, yn y fyddin i'r hon yr wyf fi yn perthyn, ond yr wyf fi bob amser yn cadw oddi wrthynt. Os oes genych ragor i'w ddarllen rhowch ei glywed, oblegid a dywedyd y gwir, ni waeth genyf pa mor gynted y dybenoch.

*D. I.* Nid oes genyf ond ychydig i'w ddarllen eto, ond mae yr ychydig hyny yn werth eich sylw difrifolaf. "Pob dyn ar nad yw yn Filwr Cristionogol, eithr yn anufudd i orchymynion Duw, sydd wrthryfelwr, a bradwr, oblegid Duw yw pen Brenin pawb; mae efe yn Frenin breninoedd, ac Arglwydd arglwyddi: ac fel y cyfryw, yn meddu hawl i ufudd-dod a gwasanaeth pob dyn, yn mhob sefyllfa. A'r hwn er gwasanaethu brenin daearol, a wrthodo wasanaethu Brenin y Nef, sydd enciliwr oddi wrth faner y groes, ac yn byw bywyd o wrthryfel cyhoeddus yn erbyn Duw. Trwm fydd cosb milwr am anufuddau i frenin daearol, ond trymach fyth am anufuddhau i Frenin y nef." "Y drygionus a ymchwelant i uffern, a'r holl genedloedd a anghofiant Duw."

*M.* Yr ydych yn hytrach yn galed yna, gyfaill; ond gan eich bod wedi gorphen darllen, gadewch i mi ddywedyd wrthych, fy mod pan ymrestrais i wasanaethu ei fawrhydi

gwedi derbyn arian y Brenin, a gwisgo ei ddillad a'i arfau, felly yr wyf yn rhwym o'i wasanaethu ef, ymladd ei frwydrau, a thywallt fy ngwaed er anrhydedd a diogelwch ei goron.

*D. I.* Ac a derbyniasoch chwi ddim oddi wrth Frenin y breninoedd?

*M.* Naddo yr un geiniog.

*D. I.* Naddo! syndod! pwy a roddes i chwi eich bywyd, a'ch holl gynneddfau? Pwy wnaeth yr haul a'r lleuad sydd yn eich goleuo ddydd â nos, yr anifeiliaid a chnwd y maes, sydd yn eich diwallu âg ymborth a gwisgoedd? Pwy a roddes ei Fab unig anedig i farw ar y groes dros bechaduriaid? Pwy a roddodd i ni y llyfr bendigedig hwnw y Beibl? a phwy sydd gwedi darparu bywyd o ddedwyddwch a gogoniant i bob un sydd yn milwrio dan ei fanerau, ac yn parhau i fod yn filwr ffyddlon iddo hyd angeu? Yn hytrach na bod heb dderbyn dim oddi ar ei law, nid oes genych ddim ar na dderbyniasoch ganddo.

*M.* Yr ydych yn edrych arnaf, ac yn llefaru yn y fath fodd, fel yr wyf yn teimlo arnaf haner eich ofn. Fy ngwneyd i yn enciliwr, yn fradwr, ac yn wrthryfelwr sydd ry ddrwg. Ni allaf fi weled fy mod ddim gwaeth na dynion eraill, er nad wyf yn dywedyd fy mod ddim gwell. Yr ydych yn fy ngwneyd yn rhy ddu, yn wir.

*D. I.* Nac wyf, gyfaill; ni wnaethum i ond darllen y traethodyn, ac os oedd ynddo unrhyw beth yn cyffwrdd â chwi, ni allaf fi wrth hyny, ond gallaf sicrhau i chwi, fod sylwedd yr hyn a ddarllenais gwedi ei gymeryd o ddigyfeiliorn air Duw. Ond, tybiwch fod rhyfel yn tori allan, a chwithau yn cael eich clwyfo, beth a ddeuai o honoch?

*M.* Beth a ddeuai o honof? Cymerid gofal am danaf, a chawn dal-wobr (*pension,*) a bod yn siwr! A glywsoch chwi ddim son erioed am yr Ysbytty Filwrol (*Chelsea hospital*)? mae llawer o hen Filwyr yn byw yno mòr ddedwydd ag arglwyddi. Mae y brenin wedi gofalu am hyny—hir einioes iddo.

*D. I.* A phe gallech fyw yno mòr ddedwydd ag arglwydd, rhaid i chwi farw yn y diwedd; a pha beth a ddeuai o honoch wed'yn? A ydyw y brenin wedi cymeryd gofal am hyny hefyd.

*M.* Mòr ffol yr ydych yn siarad! nid yw hyny yn perthyn dim iddo ef. Fi fy hun sydd i edrych at hyny.

*D. I.* Mae yn dda genyf eich bod yn meddwl felly; yn awr, gyfaill, dywedwch i mi pa fodd yr ydych yn edrych ato, ac i ba raddau yr ydych yn ymbarotoi erbyn yr amgylchiad.

*M.* Cwestiwn caled yw hwna; ond yn ol fy meddwl i, bydd gyda llawer o honom rywbeth yn debyg fel mae yn awr—bydd ein sefyllfa yn gyfelyb; caf fi yr un *siawns* a'm cyd-filwyr. Mater ydyw, ag nad wyf fi wedi meddwl nemawr ddim am dano; rhaid i bawb farw pan ddel ei amser, mae hyny yn ddigon gwir.

*D. I.* Dywed yr Ysgrythyr yr un peth, ond nid marw mo'r cwbl—"Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn."

*M.* Dyma beth fydd Harri Towers yn ddyweyd wrthym, yn awr ac eilwaith; ond fel ag y dywedais o'r blaen, yr wyf fi yn cadw draw oddi wrtho.

*D. I.* Chwi ellwch gadw draw oddi wrth Harri Towers, ond ni ellwch gadw draw oddiwrth "Frawd-le Crist," gyfaill.

*M.* Yr ydych yn uniawn ddigon yna; ond atolwg, pa fodd yr ydych chwi yn meddwl dod trwy yr amgylchiad hwnw?

*D. I.* Drwy ffoi am noddfa i'r män sydd yn ymyl Duwdod, gan gyfaddef fy mhechodau ac erfyn am faddeuant, ar sail angeu ac eiriolaeth Cadben ein Iachawdwriaeth. Mae y noddfa hon yn werth mil fil o'r ysbyttai gwerthfawrocaf ar y ddaear, ac mae y noddfa hon, yn nghyda'r ffordd iddi, yn cael eu gosod allan yn yr Efengyl.

*M.* A pha beth ydyw yr "Efengyl" yna, yr hon yr ydych yn son cymaint am dani?

*D. I.* Beth ydyw! Mae yn ofynol cael tafod angel, ïe tafod archangel, i ddywedyd beth ydyw. Modd bynag, gan eich bod wedi gofyn i mi y cwestiwn, ni allaf lai na chynnyg at roddi i chwi ryw ddrychholwg arni. Yr efengyl ydyw y cyfrwng drwy yr hwn y mae Duw wedi dadguddio ei ewyllys i ni, yn nghyda'i gyson drefn i'n hachub. Cynnwysa newyddion da o lawenydd mawr i fyd o golledigion; ac mae ynddi gyfaddasrwydd neillduol i wynebu ar ei gwrthddrychau, yn amrywio fel ag y maent, yn eu teimladau, a'u sefyllfaoedd.

Mae ynddi feddyginiaeth i'r claf, olew a gwin i'r archolledig, dyddanwch i'r hwn sydd ar ddarfod am dano, cartref i'r crwydredig, ffynnon i olchi yr aflan, cyfoeth i'r tlawd, gwisg i'r noeth, iechyd corff, sancteiddiad enaid, a nefoedd i bob un o'r ddau!

*M.* Gan bwyll! Beth, mae eich tafod yn myned mor llithrig a thafod ein dengwriad ni, pan yn galw i fyny y rhol. Un cwestiwn a ofynais i chwi, ond yr ydych wedi rhoddi i mi ddwsin o atebion eisoes.

*D. I.* Gadewch i mi orphen:—Mae yr efengyl yn waredigaeth oddi wrth bechod, yn ddedwyddwch mewn bywyd, yn ddiogelwch yn angeu, yn symudiad llwyr a thragywyddol o bob rhwystr a saif rhwng dyn â pherffaith ddedwyddwch; ïe, yn nefoedd dragywyddol i rai na haeddasant ond wylofain a rhincian dannedd.

*M.* Rhestr go dda yn wir; ond rhaid i ddyn fod yn sant, cyn yr haeddo y pethau yna.

*D. I.* Nid yw y saint yn eu haeddu, ond mae Duw yn ei anfeidrol ras, wedi eu haddaw yn rhad i bob pechadur edifeiriol. Os unwaith y dygir chwi i weled eich hun yn bechadur colledig, a gwaeddi o honoch am drugaredd, ni âd Tad y trugareddau i'ch deisyfiad fyned yn ofer. "Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi." Yn awr, gyfaill, a ddeuwch chwi yn filwr Cristionogol? A wnewch chwi ymrestru?

*M.* Yr ydych yn fath ryfedd o ddyn; ychydig a feddyliais y cawswn fy nghymeryd i mewn yn y modd hyn, pan ofynais i chwi ymrestru yn filwr. Nid wyf yn llawer o ddarllenwr, ond os rhoddwch i mi y traethodyn yna, mi a'i darllenaf i mi fy hun pan gaffwyf gyfleustra.

*D. I.* Gwnewch chwithau, gyfaill, gwnewch; ond un gair a chwi, na wnewch yn ysgafn o Iachawdwriaeth eich enaid. "Agos yw yr Arglwydd at y rhai oll a alwant arno mewn gwirionedd. Efe a gyflawna ddymuniad y rhai oll a'i hofnant ef; efe hefyd a glyw eu llef, ac a'u hachub hwynt." Ond cofiwch am ddydd yr ymweliad, yr hwn sydd gerllaw, pryd y bydd Barnydd yr holl ddaear yn gwneuthur barn, wedi iddo yn ei ddyfodiad i olwg y byd hwn, rwygo y nefoedd, a disgyn gyda gallu a gogoniant mawr; yna efe a benderfyna achosion y myrdd myrddiynau cynnulledig ger bron ei orseddfainc. Yna ceir gweled pa un ai milwyr ffyddlon, ai

gwrthryfelwyr ydym. Y cwestiwn, "pa ryw fath ddillad a wisgasom," ni bydd ond ychydig bwys, a'i gymharu â'r cwestiynau pwysig, "a fuom ni yn filwyr ffyddlon i Grist, parod i fyw a marw yn ei wasanaeth, ewyllysgar i ddwyn y groes, a theilwng i dderbyn y goron?"

*M.* Wel, gyfaill, Ffarwel! Rhaid i mi droi yma. Byddaf cystal a'm gair, mi a ddarllenaf y traethodyn.

*D. I.* Ffarwel! a bydded i'r gwirioneddau a gynnwysa fod fel saethau yn glynu yn eich calon, a'r feddyginiaeth yn dylifo i'r archollion, fel y byddo i chwi gael eich lladd i bechod a'ch bywhau i Dduw; yna byddwn ein dau yn filwyr o'r un fyddin, yn gwasanaethu dan yr un Cadben, yn bleidwyr i'r un achos, ac yn gyfranogion o'r un llesâd.

*M.* Wrtho ei hunan, Yn wir, cydymaith gwerthfawr oedd hwna, ac yn ewyllysio yn dda i filwr, ond ni feddyliais y buaswn yn taro wrth y fath un, nac yn cael fy nghymeryd i mewn yn y fath fodd. Y gwir sydd wir, modd bynag; myned heibio y mae y byd, ac yr wyf yn meddwl fod llawer o honom yn greaduriaid hynod o Baganaidd, ac annuwiol, ac fel yr addewais, darllenaf y traethodyn drosodd eto, efallai y gwna les i mi. Un peth yr wyf yn sicr o hono yn awr, na wybum erioed o'r blaen; sef y gall dyn fod wedi ei arfogi yn dda, heb fod yn dwyn ganddo na dryll na bidog. Hefyd, fod yn bosibl i ddyn fod yn filwr da, er bod *heb fyddinwisg.* —*Cym. y Traethodau Crefyddol, Rhif.* 401.

---

## Y LLAETHWR GWYDDELIG A'I FEIBL.

MAE y Gwyddel yn ddiarebol am ei ffraethineb. A ganlyn sydd amlygiad da o'i barodrwydd i gwrdd a'i wrthwynebwr, a'i ostegu â'i arfau ei hun.

Llaethwr gonest, Pabydd selog yn byw yn sir Kerry, wedi cael adysgrifen o'r Beibl, a ganfu ei fod yn drysor ardderchog.

Ei offeiriad wedi gwybod y ffaith a wnaeth ymweliad a'i blwyfwr: ac ar ol cyrhaedd bwth isel y llaethwr, a'i cyfarchodd fel y canlyn.

"Wel, fy anwyl gyfaill, yr wyf yn cael ar ddeall dy fod yn arfer darllen y Beibl. A ydyw y cyhuddiad yn wir?"

"Sicr ei fod yn wir, rhynged bodd eich anrhydedd, a llyfr tlws ydyw hefyd."

"Ond ti wyddost," medd yr offeiriad, "ei bod yn bur groes i ddyn anwybodus fel tydi ddarllen yr Ysgrythyrau."

"Ah," atebai Pat, "mae yn rhaid i chwi fod wedi profi hyna, cyn i mi gydsynio i'w rhoi heibio."

"Hyn a wnaf â'r llyfr ei hun," medd yr offeiriad. "Yn awr tro i 1 Pedr ii. 2: 'Fel rhai bychain newydd eni, chwennychwch ddidwyll laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo ef.' Felly nid wyt ti ond un megys newydd eni, gan hyny yr wyt yn gwnenthur yn gyfeiliornus wrth ddarllen yr Ysgrythyrau dy hunan. Ond yma y dywedir, chwennych ddidwyll laeth y gair; ac un sydd yn deall pa beth yw didwyll laeth a dylai ei roddi a'i weinyddu i ti."

Pat wedi gwrandaw yn astud ar ymadrodd awdurdodol yr offeiriad, a ddywedai:

"Ond byddwch hynaws, eich anrhydedd, mi ddywedaf i chwi. Ychydig amser yn ol, pan gefais fy nghymeryd yn glaf, mi gefais ddyn i odro fy muchod; a pha beth yr ydych yn ei feddwl a wnaeth efe? Wel, yn lle rhoi i mi y gwir laeth, efe a'i twyllodd, gan roddi dwfr ynddo; ac os cewch chwithiau fy Meibl i, efallai byddech chwithau yn debyg i fod am wneyd yr un peth. Na, na, mi gadwaf fy muwch a'i godro fy hun, yna mi gaf ddidwyll laeth, ac nid fel genych chwi, wedi ei gymysgu â dwfr.

Yr offeiriad gan hyny wedi ei orchfygu, yn chwennychu i'r drwg beidio ymledu dim ychwaneg, a ddywedodd mewn tôn heddychol,

"Wel, Pat, yr wyf yn gweled dy fod yn dipyn doethach nag y meddyliais dy fod; ac am nad ydwyt yn faban, ti gei gadw dy Feibl. Ond paid a rhoi ei fenthyg na'i ddarllen i neb o'th gymydogion.

Pat yn llygadu ei annogaethwr yn bur gyfrwys, a ddywedai yn ddifrifol:

"Mae yn ddigon sicr, eich anrhydedd, tra bydd genyf fuwch ac y gallaf roddi ychydig laeth i'm cymydog tlawd nad oes ganddo ddim, fy nyledswydd yw rhoddi peth iddo fel Cristion; a chadw eich anrhydedd felly y gwnaf.

Yr offeiriad yn penderfynu ei fod yn ormod o ddyn iddo ef, yn lle baban, a gerddodd ymaith yn ei gywilydd.

*Rome.* *Cyf. gan* Z. R. EVANS

## ANNIBYNOLRWYDD CANMOLADWY GWEINIDOG DUWIOL.

GALWYD ar y Parch. Dr. Waugh, yn nechreuad ei weinidogaeth yn Llundain i ymweled â boneddig cyfoethog na pherthynai i'w gynnulleidfa: wedi gweddio gyd ag ef, ar ei ymadawiad, dodwyd dau *guinea* yn ei law. Gofynai yntau, "Am ba beth y mae hyn, anwyl Syr?" Cydnabyddiaeth fechan o'ch gwasanaeth tirion. "Dychwelodd yr arian yn ddioed, gan sylwi gyda dwysder difrifol," "Nid yw fy ngweddiau I i'w prynu, Syr." Ceisiwyd ganddo drachefn alw gyd a'r un person, ac wrth adael y tŷ, y gwas a ddododd lythyr seliedig yn ei law, ac a gauodd y drws. Ar ol myned ychydig yn mlaen, efe a'i hagorodd, a gwelai ei fod yn cynnwys ysgrif-docyn am bum punt. Yr oedd ei deulu yn fawr, a'i foddion yn fychan ond efe a ddychwelodd i'r tŷ, a chan osod yr arian ar y bwrdd, a ddymunodd ar y gwr boneddig beidio a chydnabod yn y cyfryw fodd unrhyw wasanaeth a allai efe wneyd drwy fendith Duw, Y mae yn deilwng o sylw, i'r gwr boneddig ar ol hyn, brofi yn gyfaill tirion i'r Doethwr parchedig.—*O'r Dyddanion.*

---

## CYMERIADAU DYNOLRYW.

IONAWR.—Y dyn a enir y mis hwn fydd yn weithgar, ac yn hoffwr gwin, ond bydd yn dueddol i fod yn anffyddiwr ac yn rhy barod yn aml i anghofio talu ei dyledion; ond er y cwbl yn ganwr dda. Y ferch a enir y mis hwn fydd yn hardd, doeth yn ei gorchwylion teuluaidd; ac yn bruddaidd; ond eto o dymher dda.

CHWEFROR.—Y dyn a enir y mis hwn fydd yn caru arian, ond merched yn fwy; bydd yn grintachlyd gartref, ond yn afradlon oddi gartref. Y ferch a enir y mis hwn fydd yn wraig dyner a chariadus, a mam dirion.

MAWRTH.—Y dyn a enir y mis hwn fydd farw yn dlawd. Ond y ferch fydd yn drwg-dybus, ac o dymher wyllt a baldorddus, ac o duedd ymladdgar; ac yn ei hen dyddiau bydd yn rhy hoff o'r botel.

EBRILL.—Y dyn sydd mor anffodus a chael ei eni y mis hwn, a fydd yn ddarostyngedig i'r rhyw fenywaidd, bydd yn

teithio er ei fantais, oblegid myn briodi dynes gyfoethog, yr hon a'i gwna—yr hyn wyddoch yn dda beth. Bydd y ferch a enir y mis hwn yn dal, a chref, gyda thraed bychain, a llai o synwyr; ond yn un gelwyddog iawn.

MAI.—Y dyn a enir y mis hwn fydd yn brydferth, ac ardderchog, a chwna ei wraig yn ddedwydd. Bydd y ferch a enir y mis hwn wedi ei bendithio yn gyfartal yn mhob ystyr.

MEHEFIN.—Bydd y dyn a enir y mis hwn yn fychan o gorffolaeth, ac yn boethwyllt yn ei serch at ferched a phlant; ond ni chaiff ei garu yn ol. Bydd y ferch a enir y mis hwn yn un ben-chwiban—yn dra hoff o goffi; bydd yn priodi yn un ar hugain oed, ac yn ffolog yn bump a deugain.

GORPHENAF.—Dyn a enir y mis hwn fydd yn berffaith wrthddrych gwawd, bydd yn cael ei ddifa gan goffi, merched, a gwin; caiff ei guro yn gyhoeddus lawer gwaith, a bydd farw yn ieuanc. Bydd y ferch yn gyfartal—bydd ganddi geg fawr, a thrwyn epaog (*pug*); a bydd yn nodedig am ei duwioldeb ymddangosiadol, a'i medrusrwydd wrth y twb golchi.

AWST.—Y dyn a enir y mis hwn fydd yn wrol, ac awyddus, ond yn rhy dueddol i dwyllo; bydd ganddo lawer o glefydau, a dwy wraig. Bydd y ferch yn garuaidd, ac yn briod ddwywaith; ond par yr ail ŵr iddi ofidio yn achos y tro cyntaf.

MEDI.—Y dyn a enir y mis hwn fydd yn gryf, deallus, a synwyrol; ond yn rhy esmwyth gyda ei gwraig, yr hon a achosa lawer o anesmwythdra iddo. Bydd y ferch â gwyneb crwn, ac â gwallt prydweddol; yn ffraethlym, yn bur bwyllog, ac yn gael ei charu gan ei chyfeillion.

HYDREF.—Dyn a enir y mis hwn fydd ganddo wyneb prydferth, gwridgoch; bydd yn ddrygionus pan yn ieuanc, a phob amser yn ansefydlog; addawa un peth, a gwna beth arall, a phery yn dlawd. Bydd y ferch o duedd fursenaidd, ac weithiau yn rhy hoff o siarad; bydd ganddi ddau wr y rai fyddant feirw o flinder meddwl; a hi fydd yn gwybod oreu beth fydd yr achos.

TACHWEDD.—Dyn a enir y mis hwn fydd ganddo wyneb prydferth, ac yn goegyn tywyllodrus. Bydd y ferch yn fawr, yn haelfrydig, a llawn o newydd-der.

RHAGFYR.—Dyn a enir y mis hwn fydd yn ddyn cymerad-

wy, oud yn waedwyllt; cysegra ei hun i'r fyddin, a chaiff ei fradychu gan ei wraig. Bydd y ferch yn garuaidd, hardd, gyda llais da, a chorff o gyfartaledd da; bydd yn briod ddwywaith, a phery yn dlawd, ond yn onest.

*Rome.* UN O BLANT MIS MAI.

## Y CYMRY.

RHYDD y *Boston Tanscript* y nodiâdau canlynol o barthed y Cymry: "Nid ydym yn clywed ond ychydig y blynyddoedd diweddaf o barthed y Cymry; eto mae llawer o deuluoedd Lloegr Newydd yn ddisgynyddion o'r genedl Gymreig, ac y mae llawer o'r enwogion Americanaidd o haniad Cymreig. Nid oedd dim llai na saith y Lywyddion y Taleithiau Unedig o waedoliaeth Cymreig. Yr oedd dau ar bymtheg o Arwyddwyr y Dadganiad o Annibyniaeth, a phedwar ar ddeg o Gadfridogion y fyddin Chwyldroawl, a gwaed Cymreig yn rhedeg yn eu gwythienau.

Y GEIRIAU DIWEDDAF.—Y geiriau diweddaf yn yr Hen Destament ydynt fygythion arswydus: "Rhag i mi ddyfod, a tharo y ddaear â melldith." Y geiriau diweddaf yn y Testament Newydd ydynt fendithion tirion: "Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyd a chwi oll. Amen."

## BENYW.

NATUR a wnaeth, iawn ytyw,
Ei rhan ar bob anian byw;
I'r cadfarch dihafarchwych
Carnau a roes—cyrn i'r ych:
Mythder i'r ceinych mwythdew;
Daint hirion llymion i'r llew;
Rhoes i bysg nawf yn mysg myr:
I ddrywod dreiddio'r awyr;
I'r Gwyr rhoes bwyll rhagorol;
Ond plaid Benywiaid bu'n ol:—
Pa radau gant! pryd a gwedd,
Digon i *Fenyw* degwedd!
Rhag cledd llachar, a tharian:
Dor yw na thŷr dur na thân:
Nid yw tân, a'i wyllt waneg,
Fwy na dim wrth *Fenyw* deg!

*Cyf.* GORONWY OWAIN.

## NA THWYLLER CHWI.

### GAIR I DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWÊINYDD."

[*Parhad o du dal.* 234.]

Y PETH sydd yn twyllo miloedd o eneidiau yw nad ydynt yn meddwl fod pethau yr efengyl mor bwysig ag y dywedir eu bod. Gwrando beth a ddywed Iesu Grist: "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oddyeithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas nefoedd." A ddywedai Mab Duw gelwydd? Bydded hysbys i ti, O fy enaid, nad oes un ffordd i ti fyned i'r nefoedd tu cefn i drefn Duw. Mae y llwybr wedi ei nodi allan, Edifarhewch, ffowch rhag y llid a fydd, cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, ac ymdrechwch i fyned i mewn trwy y porth cyfyng. Dywedwyd hyn gan yr Hwn y mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog. A ydyw ffordd y bywyd mor gul? Y gofyniad mawr yw, nid a wyt ti wedi gwneyd y peth hyn a'r peth arall, ond a ydwyt ti wedi credu? Ai dy Farnwr sydd yn dywedyd, "Eang yw y porth, a llydan yw y ffordd sydd yn arwain i ddystryw, a llawer yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi." Gwylia rhag i ti fod yn un o honynt. A ydyw cenadwri Duw i ti fel cenadwri Lot i'w ddawon? Os wyt ti yn cellwair, nid yw Duw yn cellwair. A dwylli di dy hun? a ddemni di dy enaid? A âi di i uffern dan chwiban? Pe byddai i ti fyned i fydd Duw cyn pen awr, yn mha le y byddit ti yn debyg o fod? O enaid, rhaid i ti ymddangos o flaen dy Farnwr, llygaid yr hwn sydd fel y flam dân, yr hwn sydd yn gweled holl ddirgelion dy galon! Pa beth sydd genyt i'w ddadleu o'i flaen, O ddyn anystyriol yn ngwlad efengyl! A wyddost ti faint o dystion a fydd yn sefyll yn dy erbyn ar ddydd mawr y prawf? Cyfyd y pagan yn dy erbyn. Bydd ef yn y farn heb glywed am Waredwr, byddi dithau yno wedi ei wrthod! Mae i ti ryddid i ddewis Gwaredwr, ond nid yw ar dy law

di i ddewis dy farnwr. Pan ddywed y Barnwr, Dyro gyfrif, pa beth a ddywedi di? A ddywedi di am y breintiau a gefaist? A soni di am weddiau dy rieni? A wnei di ddadleu rhinweddau dy fywyd? Bydd y dynion hyny sydd a chymaint o esgusodion ganddynt yn awr, yn fud yn y farn. Os nad wyt yn meddwl fod llawer o bwys yn y pethau hyn, aros ychydig, a chaiff tân uffern dy argyhoeddi, ddarllenydd ieuanc, os ydwyt yn myned yn mlaen yn anystyriol. Gwrando, mae genyt enaid fydd byw byth. O! air sobr—*byth!* Faint raid i'r annuwiol ddyoddef—*byth!* Ah! fachgen annuwiol, mi a'i gwelaf ef yn marw ryw ddiwrnod, fe dderfydd ei berthynasau wylo ar ei ol—ond pa bryd y derfydd ef wylo? Ddim *byth!* Ah! lodes annuwiol—dacw hi yn marw—dacw gythreuliaid yn dechreu llarpio ei henaid. Dros faint mae yn rhaid iddi fod yn nwylaw y poenwyr? Dros *byth!*

Dychymygaf, yn gymysg ag wylofain, glywed y gair *tragywyddoldeb!* TRAGYWYDDOLDEB!! TRAGYWYDDOLDEB!!! yn swnio yn barhaus yn ngwlad yr hanner nos. Ond O ddarllenydd hoff, nid yn uffern yr wyt ti yn awr; a pheth arall, os âi di at Dduw i ymofyn trugaredd yn enw Iesu Grist, a than deimlad o dy bechodau, chai di ddim myned yno *byth*, cai ganu am dy olchi *byth*, cai fwynhau dedwyddwch perffaith i *dragywyddoldeb!*

*Sardis. O.* R. H. EVANS.

---

## HUNANYMHOLIAD.

GOFYNIAD. I ba le y teithi?

ATEBIAD. I'r bedd.

G. Pa faint o ffordd sydd genyt i gyrhaedd yno?

A. Nis gwn.

G. Pa bryd y cychwynaist?

A. Yn y flwyddyn o oed fy Arglwydd 1800.

G. Pa fath oedd dy lwybr o'r cychwyn hyd yma?

A. Cyfnewidiol a siomedig; a dywedaf, fel Jacob gynt, "Ychydig a drwg fu dyddiau blynyddoedd fy einioes." Ond trugaredd a'm cylchynodd holl ddyddiau fy mywyd. Cefais foreu teg a heulog am ddeng mlynedd ar hugain, i ymddifyru ar hyd dolydd gwyrddleision mwynderau nerth, iechyd a phrydferthwch. Cefais ganolddydd lled arw, a'm ffordd yn lled fryniog, damweiniau yn fy hyrddio, a cholledion yn fy ysbeilio; ac angeu yn dwyn fy mhlant. Cefais ddechreu prydnawn lled drafferthus; ac am fod fy natur yn llesgau aethym i feddwl gorphwys ychydig cyn machlud haul, ond pan newydd eistedd, wele hen Lew o lwyn gerllaw yn neidio fel Dywalgi, a'i ddanedd a'i balfau am fy llarpio. Ond yr Hwn a waredodd Ddafydd a'm hachubodd fel na'm llwyr ddyfethwyd y tro hwn eto. Carwn ddiolch iddo yn wresog iawn am ei holl ddoniau i mi.

G. Wel, beth y wnai eto?

A. Teithio a gwylio, nes cael y fan y gorweddodd fy Arglwydd.

G. Beth wyt yn ddysgwyl gael yn y bedd pan gyrhaeddi yno?

A. Gorphwys ar ol taith led arw, a natur wedi llesgau fel ag y bydd gorphwys yn felysach na gweithio. "Os dysgwyliaf, y bedd sydd dŷ i mi, yn y tywyllwch y cyweiriais fy ngwely." Job. xvii. 13. Hefyd caf lonydd i orphwys yno heb un gwayw yn y corff, ac ni'm brawychir â breuddwydion; a bydd fy ystafell fechan mor glos a dirgel fel na ddaw un o'm gelynion yno i'm dychryn. Y peth cyntaf gaf glywed fydd llais cryf un o weision fy Nhad yn bloeddio wrth ddrws fy ystafell, Cyfod, fy mlentyn, y mae hi wedi dod yn ddydd, a'r nos wedi myned heibio am byth; ni fachluda dy haul mwyach; cai wisgo anfarwoldeb i fyned i'r gymanfa fawr sydd yn dechreu heddyw; ac ni weli ddiwedd ar yr ŵyl ogoneddus byth, byth. Hefyd, yn y bedd y tynir pla y gwahanglwyf

o'r babell heb i'm teimlo y gofid, oblegid rhaid chwalu y muriau yn gandryll er cael y tŷ yn lân o'r pla; ac aiff yr oruchwyliaeth drosodd yn y bedd, heb un gofid i'r enaid, pa un sydd yn cyd-ocheneidio, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hwn. Caf lonydd yn y bedd. gan bob temtasiwn a nwyd i'm tynu i bechu, i'm gofidio a digio Duw. Hefyd ar ei lan yr ochr draw caf y pleser o herio angeu cas a fu yn gwthio ei ewinedd i fy nghnawd a'm hesgyrn trwy y blynyddoedd, nes y mae fy ngwyneb wedi ei rychu gan ôl ei ewinedd ciaidd; a'm cnawd wedi toddi ymaith gan fel y mae yn fy ngwasgu ddydd a nos, ac yn dyweyd yn benderfynol mai fi gyll y codwm; a finau yn druan tlawd yn ymlyfu gên a gruddfan ar ol pob gwasgfa; ac er i'm uniawni a chychwyn tipyn gwaedda yn gawraidd, Ha! yr wyf fi yma, ni ddiengi ddim. Ond bwriadaf wneyd yn hyf ag ef y dydd hwnw, wedi ennill y codwm am byth; gwaeddaf yn ei wyneb mewn dull herfeiddiol, "O! angeu, pa le y mae dy golyn?" Nid yw y bedd yn garchar i'r duwiol, ond tŷ o orphwysdra, &c. Y mae yr olwg arno yn peri pryder i'r teimlad; ond y mae yn lle manteisiol i gael llonydd i'r neb sydd yn caru llonyddwch. Ac yn gyffredin, pan y mae dyn yn addfedu i'r bedd, y mae fel Issachar, yn gweled llonyddwch mai da yw, a'r bedd mai dymunol yw i orphwys. Pan yn blentyn mae yn rhedeg fel pe byddai am wneyd llawer; ond pan yn hen, cerdda yn araf a'i ben i lawr fel yn chwilio am le i orphwys, a phan y bydd ysbryd y gras wedi gorphen ei waith ar ei enaid, saetha angeu ef yn ei galon, ac yna eheda ei enaid i gwmni o angelion, pa rai a fyddant yn dysgwyl am dano; a hwy a'i dygant ef adref dan ganu. Ac yna cymer rhyw gyfeillion y corff ac a'i ddodant yn ei wely newydd—a ca dodant blygion arno, ac a'i nyddant mor glos fel na chaiff oerni na gwres wneyd ddim iddo. Ac ni bydd eisiau *fence* haiarn gadarn o amgylch ei fedd, canys bydd o fewn rhwymyn cyfammod ei Dduw yn eithaf diogel, hyd nes y deffroir ef i cyfodi i dd'od i'r wyl

a'r gymanfa fawr. Wel, gyfeillion, oni fyddai yn well i ni wneyd ein goreu i barotoi i'r bedd, gan mai yno yr ydys yn myned; ac ni byddai yn niweid i gyfeillachu rhyw gymaint ag ef (o rhan ein meddwl) cyn myned iddo.

*Rome.* UN O BLANT ADDA.

---

## GOSTYNGEIDDRWYDD A BALCHDER.

GOSTYNGEIDDRWYDD. Boreu da i ti, Balchder. Beth yw yr achos dy fod yn edrych mor sarug?

*Balchder.* Yn wir mae genyf achos i edrych yn sarug, oblegid yr wyf wedi clywed dy fod yn fy ngwaradwyddo trwy dynu dan fy mhrif gadeiriau yn y cyfarfod neithiwr, sef hunan-glod, uchel-drem, a hunan-dderchafiad; ac yn wir dyma fy mhrif golofnau er cynal i fyny fy urddasolrwydd; ac os oedd y Phariseaid yn caru cael eu cyfarch yn y marchnadoedd, ac eistedd yn y prif cadeiriau, gallaf finau sicrhau i ti, fy mod inau yn un mor hoff o eistedd yn y rhai hyn. Dyma fy esmwyth-feinciau ar ba rai yr wyf yn mwynhau rhyw bleser nes fy ngorlenwi â llawenydd, a thydi sydd yn ceisio tynu dan wraidd fy urddasolrwydd. Hefyd gallaf sicrhau i ti fod y rhai hyn yn naturiol i mi, ac mae pob peth sydd fawr yn hardd, oblegid dywedir am lili y maes, "nas gwisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn."

*G.* Gwir fy mod wedi bod yn siarad yn erbyn dy brif gadeiriau. Oblegid y man lle byddot ti yn gosod dy brif gadeiriau, yr wyt yn llyncu pob rhinwedd, ac yn ad-dynu y cwbl i lawr trwy dy safn ddrewllyd, sef hunan-glod, a thrwy hyny yr wyt yn gwrthweithio yn erbyn pob daioni, i fyned ar hyd a lled cymdeithas. Yr wyt yn warth i gymdeithas. Fe ddywed y gwr doeth, "Pan ddel balchder, fe ddaw gwarth." Yr oeddit yn dywedyd hefyd dy fod yn cael dy orlenwi â llawenydd, gallaf sicrhau i ti fod dy lawenydd wedi

gwneuthur niweid mawr i ddynoliaeth, ac yr wyf yn cofio i mi fod yn darllen unwaith am un dyn cyfoethog, a fu farw mewn canlyniad o gael ei orlenwi â'th lawenydd di. Dywedi fod y rhai hyn yn naturiol i ti, ac fod pob peth ag sydd mewn natur yn hardd. Gwir fod natur yn un prydferth a hardd; ond y mae anghysondeb yn dy ddywediad, oblegid nid ydym feddwl wrth dy natur di a lili y maes, nad trawslywodraethydd wyt yn mhob man lle byddot yn gwneuthur dy drigfa yn nghalonau plant dynion, gallaf brofi hyny trwy dy fod yn ysbeilio llawer o'r gwasanaeth a'r addoliad sydd ddyledus i Dduw. Wrth hyny mae yn rhesymol i ni gredu mai trawsfeddianydd ar orsedd y galon ydwyt. Hefyd gallaf sicrhau i ti fod dy arogl yn afiach, a'th sawyr yn ddrewedig yn ffroenau Duw y nefoedd.

*B*. Yr wyf yn wrthddrych serch, ac addoliad holl wyr mawrion ein daear, a byddaf yn sefyll yn urddasol iawn yn mhlith y cyfoethogion, breninoedd ac amerawdwyr; a gallaf sicrhau i ti, mai yn un o'm cadeiriau i yr oedd Nebuchodonosor brenin Babilon yn eistedd. Dywedodd, "Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeiledais i, yn nghryfder fy nerth, a gogoniant fy mawrhydi." Hefyd, myfi a'i gwnaeth ef i gyfodi y ddelw fawreddog hono yn ngwastadedd Dura, fel y gallasai pob llwyth ac iaith ddyfod ac ymgrymu i'r ddelw fawreddus. Hefyd, gallaf sicrhau i ti, mai o barch i mi y rhoddodd efe y gorchymyn awdurdodol hwnw allan i rhybuddio pawb i blygu i'r ddelw a gyfodasai efe. Wrth hyn y gweli fy mod yn sefyll yn anrhydeddus iawn yn mhlith gorseddau breninoedd. Hefyd, parais i Herod frenin areithio mor hyawdl a champus, nes i ddynion gael eu dwyn gan fawredd a doethineb ei ymadroddion i waeddi allan "lleferydd Duw, ac nid dyn ydyw;" a dyma fel y maent yn fy mawrygu i nes y byddaf yn cael fy nerchafu yn uwchaf yn eu plith ar aden hunan-glod.

*G*. Addefaf dy fod yn sefyll yn uchel yn mhlith mawrion,

breninoedd, ac amerawdwyr; ond beth pe byddem yn taflu ein golwg i edrych i mewn yn mha ddull yr wyt yn sefyll. I'r hyn y gellir dyweyd mai mewn trais a gormes; ac atat ti y cyfeiria y Salmydd, pan ddywed, "Am hyny y cadwynodd balchder hwynt, ac y gwisg trawsder am danynt fel dilledyn." Gwelwn y canlyniadau drygionus maent wedi dyfod iddynt trwy sefyll ar ben dy binaclau di, a'u cwymp truenus. Nebuchodonosor a ddarostyngwyd i blith anifeiliaid y maes, ac y mae hyn yn warth oesol i'th gymeriad, os cymeriad hefyd. Dan dy ddylanwad di y daeth Herod Frenin i'w ddiwedd truenus, yr hwn a dynodd warth arno ei hun, trwy i angel yr Arglwydd ei daro, "a chan bryfed yn ei ysu efe a drengodd."

*B*. Ydwyf yn wrthrych serch gan y llancesau, a'r llanciau, trwy addurno ei gwisgoedd â gemau amryliw; ac wir, pan fyddant yn yr addoldy, byddant yn llygadrythu un ar y llall. Ac os byddant wedi canfod gwisg newydd, byddant wedi talu y sylw manylaf yn mha ddullwedd y bydd wedi cael ei gwneyd, a thrwy hyny byddaf yn cael y rhan fwyaf o'r addoliad i mi fy hun. Ac un o'm cynlluniau mawreddus i yw yr *hoops* yma, a byddant yn ymddangos yn ŵych iawn, ac fe ddywed y Beibl am wneuthur ymylwaith eu gwisgoedd yn llydain. Hefyd, ar ol dyfod o'r addoliad, braidd y byddant wedi dyfod dros riniog y tŷ, cyn y byddant yn dechreu siarad mor wych yr oedd hon a hon yn edrych heddyw yn ei gwisg *second mourning*, neu y *delaine*. Hefyd, wrth daflu llygaid gwamal yn ystod y gwasanaeth, byddant wedi canfod *ribbon* newydd ar *fonnet* un o'r llancesau; ac yn wir byddant yn siarad am danaf, nes rhoddi lle i mi gredu fy mod yn wrthddrych eu serch, a thestyn eu myfyrdod yn ystod eu habsenoldeb o'r cyfarfod, i edrych i mewn pa beth a wisgant erbyn y byddant yn myned y tro nesaf.

*G*. Addefaf dy fod yn ysbeilio Brenin y nefoedd o lawer o'i wasanaeth, trwy dy fod yn hudo meddyliau i grwydro

yma a thraw. Yn wir mae yn ofidus meddwl, ac yn alar i ddyweyd dy fod yn llyncu llawer o'r addoliad i ti dy hun. Beth yw yr achos o'r addoliad sychlyd a marwaidd? Gormodedd o'th degwch di sydd yn dyfod i mewn. Pe byddai ganddynt barch i Wr y tŷ, byddent yn dangos moes, ac yn ymddwyn yn weddaidd yn ystod yr amser y byddant yn nhŷ Dduw. Dylid gymeryd gofal a gwyliadwriaeth ar y meddwl, trwy ei gadw gyda phethau sanctaidd y cysegr; ond y mae yn rhaid addef fod llawer o honynt a'r gofal mwyaf pa beth a wisgant. Hefyd, yr oeddit yn dyweyd mai un o'th gynlluniau mawreddus yw y cylchau yna. Yn wir galiaf finau ddyweyd fod dy gynllun yn peri gofid mawr yn nhŷ Dduw. Byddant, yn aml, os bydd y porth yn gyfyng, yn gwneuthur y fath drwst â'u cylchau nes peri i'r dyrfa gredu o'r braidd fod cerbyd yn dyfod i mewn. Hefyd, yr oeddit yn dyweyd fod y Beibl am wneuthur ymylwaith eu gwisgoedd yn llydain, ond dylid ystyried ei fod yn cyhoeddi gwae yn erbyn y cyfryw. A gwir dy fod yn cael dy barchu yn mhlith llawer o'r llanciau, a'r llancesau; ond atolwg, beth yr ydwyt yn ei wneuthur iddynt, yr wyt yn foddion i greu anghrediniaeth, ac yn cauad y drws yn erbyn pob argraffiadau da.

A'r hyn, diflanodd Balchder.

*Crab Creek, O.* T. H.

---

## GWEDDI FINNEY.

UN boreu Sabboth dechreuai y Parch. C. G. Finney, ei weddi deuluaidd yn y dull canlynol:—"Arglwydd, yr wyt wedi caniatau i ni Sabboth ychwanegol. Cafodd rhai o honom flynyddoedd cyfain o Sabbothau. Y cyfryw o honom sydd yn un ar hugain oed ydym wedi cael tair blynedd cyflawn o Sabbothau, a'r rhai sydd yn wyth ar hugain oed ydym wedi cael pedair blynedd o Sabbothau! digon i'n cario oll trwy y coleg!"

## CYFROL MEWN YCHYDIG EIRIAU.

CYNNWYSA yr ymadroddion canlynol lawer o synwyr mewn ychydig eiriau. Byddai yn dda a phriodol i'r ieuenctyd yn enwedig eu darllen yn aml nes bod yn berffaith hyddysg ynddynt oll, a byddai ufudd-dod iddynt yn gosod unrhyw ddyn mewn sefyllfa ddedwydd ac anrhydeddus.

Cedwch gwmpeini da neu byddwch heb un.

Na fyddwch byth yn segur.

Os nad ellwch beri i'ch dwylaw fod mewn gwasanaeth defnyddiol, ewch ati i gael diwyllio eich meddwl.

Dywedwch y gwir bob amser.

Na wnewch ond ychydig o addewidion.

Byddwch fyw i fyny a'ch ymrwymiadau.

Cedwch eich cyfrinach i chwi eich hunain, os bydd genych rai i'w cadw.

Pan fyddwch yn siarad à pherson edrychwch yn ei wyneb.

Cwmpeini da ac ymddyddan adeiladol ydynt brif ewynau rhinwedd.

Mae cymeriad da uwchlaw pob peth arall.

Ni ddichon dim niweidio eich cymeriad ond eich gweithredoedd eich hunain.

Os dywed neb yn ddrwg am danoch, bydded eich bywyd y modd fel na bydd i neb eu coelio.

Nag yfwch un math o wirodydd meddwol.

Byddwch fyw bob amser o fewn eich derbyniadau, oddyeithr i aflwyddiant eich goddiwes.

Pan eloch i orphwys yn y gwely, meddyliwch drosodd am yr hyn fuoch yn wneuthur trwy y dydd.

Na phrysurwch i gyfoethogi, os mynwch lwyddo.

Mae ennill bychan a chyson yn rhoi digonedd gyda thawelwch meddwl.

Na fydded i chwi byth chwareu damwain.

Gochelwch demtasiwn, gellwch fethu ei wrthsefyll mewn ofn.

Ennillwch arian cyn eu gwario.

Nag ewch byth i ddyled, oddyeithr eich bod yn gweled ffordd i fyned allan o honi drachefn.

Na fenthycwch os gellwch mewn un modd ei ochelyd.

Na phriodwch nes bod yn alluog i gynnal eich gwraig.

Na ddywedwch ddrwg am neb.

Byddwch gyflawn cyn bod yn hael.
Byddwch ddiniweid, os mynwch fod yn ddedwydd.
Cynnilwch pan yn ieuainc, fel y galloch wario ar ol myned yn hen.
Darllenwch y dywediadau hyn o leiaf unwaith yr wythnos.—*Hunt's Merchants' Magazine.*

## GRAMADEG.

### RHIF VII.

#### SILLEBIAETH.

[*Parhad o du dal.* 237.]

MEWN erthygl blaenorol, dosbarthwyd Llythyreg neu Orgraff i ddwy ran, nid amgen Llythyreniaeth a Sillebiaeth. Llythyreniaeth sydd yn cynnwys y ddygseidiaeth o berthynas i ddechreuad, ffurf, natur, a gallu llythyrenau; a Sillebiaeth yw yr athrawiaeth am sillau. Bod y gair *sill* o darddiad Cymreig, sydd amheus. Ymddengys mai talfyriad ydyw *sill* o *sillaf*, yr hwn sydd yn efelychiad o'r gair *syllable.* Yn ol y tarddiad yna, mae y gair yn deilliaw o'r Groeg *syllabon*, yr hwn sydd yn gyfansoddedig o *syn*, cyd o *lambano*, cymeryd, ac yn arwyddocâu *cymeryd yn nghyd*, hyny yw, seiniau syml i wneuthur sain cyfansawdd, yr hwn, hefyd, sydd gynnwysedig o lafariaid a chydseiniaid. Cymaint o air ag a ellir ei seinio megys âg un anadliad, neu un cyffrawd o'r eiddo y llais, yw sill neu sillaf. O berthynas i rifedi y cyfryw sillau a'i cyfansoddant, gelwir gair yn Unsill, Deusill, Trisill, Pedwarsill, Pumsill, Chwesill, ac felly yn mlaen. Geiriau cynnwysedig o fwy na thri sill a elwir yn gyffredin geiriau Lliossill.

Mewn un ystyriaeth, nis gall fod iaith a'i Horgraff yn rhwyddach na'r Gymraeg, oblegid bod pob llythyren yn meddu ei sain briodol ei hun; ac nad ydys, yn gyffredin, yn defnyddio mwy o lythyrenau nag sydd angenrheidiol wrthynt. Mewn geiriau Unsill neu syml, nis gall, o ganlyniad, ond ychydig anhawsder hanfodi. Cyfyd yr anhawsder, gan

mwyaf, oddiwrth eiriau tarddedig neu gyfansawdd. Cyn y gall yr ysgolhaig Cymreig sillebu geiriau yn briodol, angenrhaid yw bod iddo fod yn gyfarwydd â chyfiach neu darddiad geiriau. Gyda golwg ar eu cyfiach, dosberthir geiriau i ddau fath; nid amgen syml a chyfansawdd; gwreiddiol neu darddedig. Geiriau syml neu wreiddiol yw y sawl nid ydynt yn deilliaw o unrhyw air llai, neu y sawl nad ydyw yn cael ei wneuthur i fyny o ddau neu ychwaneg o eiriau unigol; y cyfryw ydynt y geiriau tad, mab, dyn, gwlad, a'r cyffelyb: y rhai, gan nad ydynt yn deilliaw o unrhyw eiriau mwy syml yn yr iaith, a elwir geiriau gwreiddiol. Pe cywir fuasai y damcaniaeth *o ystyr i bob llythyren*, nis gallai y geiriau uchod fod yn wreiddiol neu syml; gan eu bod yn tarddu o'r geiriau mwy syml t, a, d; m, a, b; d, y, n; g, w, l, a, d. Nid ydys yn gofyn maddeuant am alw t, a, d, &c., yn eiriau; oblegid, ar yr egwyddor grybwylledig, beth arall ydynt? Pob sain llafar, ai syml ai cyfansawdd fyddo, y sydd yn arwydd o feddylrith neu syniad yn y meddwl, gair ydyw. Od oes, gan hyny, ystyr i'r elfenau *m, a, b; d, y, n;* o'r sawl y cyfansoddir y geiriau *mab, dyn* rhaid mai geiriau ydynt. Ond dywed y Dr. Owen Pugh, ac eraill, bod y geiriau tad, mab, tân, ar cyfryw, yn deilliaw o ta-ad, ma-ab, ta-an; yr hyn nid yw yn rhoddi nemawr mwy o adeiladaeth i'r efrydydd; oblegid nid yw y tipynau bychain ta, ad, &c., yn codi unrhyw feddylrith mwy na'r *t, a, d;* ac yn y fan y darfydda unrhyw sain a chodi syniad cysylltiedig ag ef yn y meddwl, y mae yn peidio bod yn air. Os yw y darllenydd, gan hyny, yn dewis dysgu rhyw beth heblaw chwareu plant, peidied a chymeryd sylw o'r fath wendid llênorol, ac ymfoddloned ar gynnifer o eiriau, a dim mwy, ag sydd yn foddion i ennyn rhyw syniadau yn y meddwl; a pha sain bynag nid yw yn codi rhyw feddylrith, o'r hwn y mae yn arwydd, nis gall fod yn air iddo ef, pa un bynag ai byr ai hir fyddo. Am y rheswm yma, ac nis

gwyddom am yr un gwell, yr ydym yn cynghori y darllenydd i gredu mai geiriau gwreiddiol neu syml, ydyw *tad*, *mab*, *dyn*, *tan*; *da*, *drwg*, *mawr*, *bach*, a lluaws o'r cyffelyb, nas gallwn eu dodi i fewn.

Geiriau cyfansawdd neu darddedig yw y rhai sydd yn cael eu gwneuthur i fyny o ddau neu fwy o eiriau syml neu wreiddiol; o'r cyfryw y mae y geiriau *tadol*, *maboliaeth*, *dyngarwch*, *gwladychu* &c., y rhai gan eu bod yn deilliaw o *tad*, *mab*, *dyn*, a *caru*; a elwir geiriau cyfansawdd.

[*I'w barhau.*]

## MARTHA FACH.

MAE yr holl blant bach da yn gyffredin yn hoffi clywed am blant da, ac yr wyf fi yn myned i adrodd am blentyn o'r enw Martha. Unig ferch i siopwr ydoedd, yr hwn oedd yn byw yn nghanol tref boblog iawn; ac yr oedd ei thad a'i mam yn hynod o hôff o honi. Ond, fel y mae yn ddrwg genyf ddyweyd, nid oedd Martha yn eneth dda bob amser: canys er ei bod yn un lonydd pan yn faban, fel y mae y rhan fwyaf o fabanod, eto, erbyn iddi fod oddeutu tair blwydd oed, drwy arfer chwareu gyda phlant difoes a swnfawr, aeth hithau yn un ddifoes a swnfawr hefyd, a hyny a barai ofid mawr i'w rhieni weithiau. Yr oedd Martha yn bur hynaws, ac nid oedd yn hoffi gwaeddi a dwrdio ei phlentyn, ac felly ei harfer ydoedd dyweyd, "Peidiwch," fy anwylyd, peidiwch a chadw cymaint o swn, nid yw yn beth hardd." Ond yr oedd Martha, fel llawer eraill, yn barnu y gwyddai hi yn well, ac i'r ystrydoedd yr elai er gwaethaf pob peth a ddywedid wrthi. Dylai plant bychain ddysgu gwneyd fel y dywedir wrthynt, a pha mor gall bynag y meddyliont eu bod, dylent sylwi bob amser ar yr hyn a ddywedid wrthynt. Nid oes eisiau eich rhwystro i chwareu ac ymddifyru, ond rhaid i hyny fod ar amserau priodol, a chyda phersonau cymhwys.

Ond ni therfynodd y drwg yma; canys heblaw myned yn anfoesgar, dechreuodd Martha ymgecru, ac arfer geiriau drwg, a thori y Sabboth, ac nid oedd neb yn ei hoffi am ei bod mor ddrwg. Ond ni pharhaodd pethau yn hir fel hyn; o

herwydd fe dystiodd ei thad mai y tro cyntaf yr elai hi allan heb genad, y cloai efe hi mewn lle tywyll. Nid oedd Martha yn hoffi hyny, a hi a addawodd y byddai hi yn well o hyny allan, os maddeuai ei thad iddi y cwbl a basiodd. A da genyf allu dyweyd i Martha fod cystal a'i gair y tro yma. Meddyliodd am ei hymddygiadau, a gwelodd eu niweid. Dechreuodd eistedd yn aml ar ystol fechan wrth droed ei mam, i ddysgu hymnau bychain a difyr, ac i ymddyddan a'i mam am bethau daionus, fel y daeth yn fuan, dan fendith yr Arglwydd, yn blentyn arall, a dywedai yn fynych, "Ni ddylai geneth fechan ei mam, ei hunig eneth, fod yn ddrwg." Ar ol hyn hi a ofynai yn fynych i'w brawd hynaf am ddarllen iddi am y nef, am uffern, ac am Iesu Grist; a pha mwyaf oedd yn glywed am bethau dwyfol mwyaf oll oedd ei syched am ychwaneg, am eu bod yn ymddangos iddi mor hawddgar. Cyn hyny yr oedd Martha yn falch a gwageddus, ac wrth ei bodd bob amser pan y byddai rhyw un yn canmol ei harddwch; ond yn awr nid oedd mor ffol; ac un diwrnod, pan y dywedai boneddiges wrthi ei bod yn eneth fechan dlos, sisialodd hithau wrthi, a dywedodd, "Byddai yn well, genyf fod yn eneth dda."

Yr oedd Martha erbyn hyn yn bum' mlwydd oed, ac wedi gwella llawer iawn. Ymddyddanai am ogoniant y nef, a daioni mawr Duw, a lluaws o bethau ereill; ac yr oedd yn dysgu darllen ei goreu. Pan yr eisteddai ar liniau ei mam un diwrnod, dywedodd, "Mam, yr oeddwn yn meddwl beth pe byddwn marw yn fuan." "Wel, fy anwylyd," ebe ei mam, "gobeithio yr aech i'r nefoedd." "Gobeithio hefyd," ebe Martha, "ond y mae arnaf ofn nad awn."

*Mam.* Pam y mae arnoch ofn?

*Martha.* Am i mi fod yn ddrwg; yr wyf wedi pechu yn erbyn Iesu Grist, ac wedi ei ddigio yn fawr.

*Ma.* Ond er i chwi ei ddigio, mae yn gyfoethog o drugaredd i bawb a alwant arno.

*Mar.* A faddeua fe i mi, 'feddyliech chwi?

*Ma* Gwna, os ceisiwch ganddo; os ydych yn teimlo mewn gwirionedd fod genych galon ddrwg; os ffowch at y Ceidwad fe wrendy arnoch ac a faddeua i chwi.

*Mar.* Beth a ddywedaf, mam?

*Ma.* Beth fyddwch yn ei ddyweyd pan fo arnoch eisieu rhywbeth genyf fi?

*Mar.* Os gwelwch yn dda rhowch i mi y peth a'r peth.

*Ma.* Wel, beth sydd arnoch ei eisiau gan Dduw?

*Mar.* Calon newydd.

*Ma.* Pa fodd y dywedwch chwi ynte?

*Mar.* O Arglwydd Iesu, dyro i mi galon newydd.

*Ma.* Dyna fo; ewch ar eich gliniau, a dywedwch, "Duw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur;" acer nad ydych ond baban ni wrthyd efe mo'ch gweddi.

Yr oedd yn dda iawn gan fam Martha glywed ei merch fechan yn ymddyddan fel hyn. Hi a weddiodd ar i Dduw, ïe, yr hwn oedd yn Dduw iddi hithau hefyd; am roddi iddi fywyd tragywyddol.

Yn mhen rhyw gymaint wed'yn, fe gafodd Samuel, y mab hynaf, y frech goch, ac yr oedd mor glaf fel y tybid y byddai farw. Ond gwelodd Duw yn dda ei arbed, ac adferyd ei iechyd iddo drachefn. Pan ddeallodd Martha fod yr afiechyd yn heintus, dechreuodd ofni, a dyweyd, "Pe bawn i mor saled a Samuel, a marw, i ba le y cawn i fyned?" Dechreuodd weddio yn ddifrifol yn ei dull plentynaidd hi, "O Arglwydd, parotoa fi erbyn marw." Wel, yn mhen ychydig o ddyddiau fe ddechreuodd pen Martha wynio; aeth i'w gwely a dechreuodd ei llygaid wanhau, fel nas gallai edrych ar y goleuni. Bob yn dipyn fe aeth pen Martha druan yn waeth waeth, nes yr oedd yn methu gwybod oddiwrthi ei hun, ni wyddai beth yr oedd yn ei ddyweyd na pha beth oedd yn ei wneyd, ac yr oedd weithiau yn siarad yn hollol ddisynwyr. Ond pan ddaeth ati ei hun drachefn, dywedodd, "Yr wyf yn un o ŵyn Iesu Grist; y mae Duw yn fy ngharu i, a minau yn ei garu yntau, ac yn fuan caf fod gydag ef fel angel dysglaer." "Ond," ebe Samuel, "yr wyf fi wedi gwella, ac fe allai y cewch chwithau eich arbed hefyd; pa un a fyddai oreu genych chwi, Martha?" "Gwell genyf fi iddo fod yr hyn y mae Duw yn weled yn oreu," ebe yr eneth fach.

Fel yr oedd Martha yn myned waeth waeth, fe anfonodd y meddyg *blister* mawr i'w roi ar ei *breast*, a phan y gwelodd ef hi a ofynai a barai efe boen iddi; a phan y dywedwyd y gwnai, hi a omeddodd ar y cyntaf adael iddynt ei roi. Dywedodd y fammaeth wrthi fod hyn o'i le; o herwydd os na ddefnyddiwn ni y moddion ni ellir dysgwyl i ni wella. Wrth glywed hyn hi a ddattododd linynau ei chrys nôs â'i dwylaw

bychain ei hun, gan ddywedyd yn dyner, "Pirion, fy mammaeth, gadewch ei gael, a chewch ddal fy nwylaw hefyd, rhag i mi gyffwrdd âg ef." "Na, fy anwylyd," ebe y fammaeth, "'does dim eisiau hyny, fe rydd Duw amynedd i chwi, os gofynwch iddo." Ac yn wir nid oedd eisiau, o herwydd ar ol hyn ni chlywid hi yn cwyno unwaith. Ond yn waeth yr âi Martha o hyd, ac er iddi gael amryw elod a *blister* arall, nid oedd yn gwella dim. Er fod ei phoenau yn fawrion yr oedd yn bur amyneddgar, a phan yr wylai ambell waith pan yn teimlo yn bur sal, dywedai yn dawel, "Mam, gobeithio na ddigia Duw ddim wrthyf am fy mod yn wylo." Dywedodd wrth ei thad un diwrnod, "Mor dda yw Duw, nis gall llawer o blant tlodion gael y pethau da yr wyf fi yn gael!" a phryd arall, ar ol bod yn gorwedd yn llonydd am oriau, hi a ddechreuodd ganu, ac er nad oedd yn seinio fel arferol, eto yr oedd yn dangos mor foddus a dedwydd yr oedd hi. "Diolch i chwi," meddai, am bob peth a estynid iddi, a hyfrydwch oedd ei gwasanaethu.

Un boreu gofynodd ei mam iddi am ba beth yr oedd yn meddwl, atebodd hithau, "Yn nghylch gweled Duw; mi a gaf weled Duw o'ch blaen chwi, mam; a Timotheus a Paul, a'r holl bobl dduwiol a sioniasoch wrthyf am danynt, a chaf goron o aur ar fy mhen, ac ni chaf bechu mwy."

Pan sylwodd y Doctor arni dranoeth fe ysgydwodd ei ben; ac ar ol iddo droi ei gefn, gofynai i'w mam, "Paham yr ysgydwai y Doctor ei ben?" Atebai ei mam dan wylo a'i chofleidio, "Oh, fy anwyl blentyn, am ei fod yn gwybod fod yn rhaid i chwi farw yn fuan." "A chael fy rhoi yn y bedd oer?" "Ië," ebe ei mam wylofus, "Wel, ni bydd yno ond fy nghorff—byddaf Fi—fy enaid yn y nefoedd," ebe Martha; ac fel hyn y cysurai ei chyfeillion galarus. Ond dechreuai Martha edrych yn fwy gwelwaidd, ei gwefusau rhosynaidd yn sych-boeth, a'i holl gyfansoddiad i waelu yn gyflym. Fel yr oedd ei brawd tyner, Samuel, yn ei gwylio, tybiodd weled ei gwedd yn newid, a galwodd ar ei fam. Wedi iddi ei chymeryd yn ei breichiau, yn mhen ychydig yr oedd y cwbl drosodd. Ehedodd ei hysbryd i ororau gwynfyd.

Anwyl blant, wrth ddarllen yr hanes hwn cofiwch am Martha, ac addolwch Dduw a Cheidwad Martha.—*Cym. y Traethodau Crefyddol. Rhif.* 14.

### "BEDD Y DYN TLAWD."

Is yr ywen ddu, gangenog,
  Twmpath gwyrddlas gwyd ei ben,
Fel i dderbyn o goronog
  Addurniadau gwlith y nen;
Llawer troed yn anystyriol,
  Yn ei fathru'n fynych ga'w'd,
Gan ysigo'i laswellt siriol—
  Dyna *fedd y dyn tlawd.*

Swyddwyr cyflog gweithdy'r undeb
  A'i hebryngodd ef i'w fedd:
Wrth droi'r briddell ar ei wyneb
  Nid oedd deigryn ar un wedd;
'Nol hir frwydro a thrafferthion,
  Daeth i ben ei ingol rawd—
Noddfa dawel rhag angenion,
  Ydyw'r *bedd i'r dyn tlawd.*

Mae'r gareg arw a'r ddwy lythyren
  Dorodd rhyw anghelfydd law,
Gyd-chwareuai ag e'n fachgen,
  Wedi holltl'n ddwy ger llaw;
A phan ddelo *Sul y Blodau,*
  Nid oes yma gar na brawd
Yn rhoi gwyrdd-ddail a phwysiau,
  Ar lwm *fedd y dyn tlawd.*

Ar sedd fynor nid yw'r *awen*
  Yn galaru uwch ei lwch,
A chyn hir drwy'r las dywarchen,
  Aradr amser dyna'r swch;
Un a'r llawr fydd ei orphwysfa—
  Anghof drosti dyn ei hawd,
Ond, er hyny, angel wylia
  Ddaear, *bedd y dyn tlawd.*

*Youngstown.* *Cyfl. gan* W. Hughes.

### CANIG Y GORMESWR.

O! PAID gormesu'r gweithiwr tlawd
  Sydd beunydd dan ei bwn,
Os ydwyt ti hoff blentyn ffawd,
  O paid dirmygu hwn;
Llafuria'n foreu ac yn hwyr,
  A'i chwys a fwyda'r llawr;
Efallai heb damaid, Nef a'i gwyr,
  Am lawer deuddeg awr.

O! paid gormesu'r gweithiwr blin,
  Mae ganddo deulu trwm,
Heb neb yn enill ond ei hun;
  Rho dro i'w fwthyn llwm—
Mae yno wraig a'i gruddiau'n llwyd,
  A'i gwisg yn hynod wael;
A'i bychain tlawd yn gofyn bwyd,
  Ond O! heb ddim i'w gael.

O! paid gormesu'r gweithiwr tlawd,
  O! gwel mor wael ei lun,
A chofia hyn—mae iti'n frawd,
  Bydd dirion wrtho, ddyn:
Cei di ddanteithion fyrdd yn rhwydd,
  Ca' yntau grystyn sych;
Drwy lafur hwn cei segur fwyd,
  A gwisg a phalas gwych.

O! paid gormesu'r gweithiwr tlawd,
  Efallai try y rhod,
Pan welir di dan wgau ffawd
  Heb geiniog yn dy god:
Ni charet ddyoddef y pryd hwn
  Bwys yr haiarnaidd droed,
O dan ei gwasgiad teimlet, gwn,
  Yn ddwysach nag erioed.

O! paid *dirmygu'r* gweithiwr tlawd,
  Mae cyfoeth gan ei Dad;
Creawdwr bydoedd yw ei Frawd,
  Cyn hir caiff yntau 'stad;
O wlad y gormes hed ei gri,
  I glustiau Cyfiawn Lys;
Ofnadwy fydd dy gyfrif di,
  Pan ddaw yr olaf wys.

*Youngstown.* *Cyfl. gan* W. Hughes.

### "O GOLLWNG FI."

O Gollwng fi dyneraf fam,
  Mae gorchudd angeu dros fy ngrudd
Na foed i'th galon bur ddinam
  O'm hachos i ymdeimlo'n brudd;
Fel cragen wan wyf ar y traeth,
  A ddygir gan lifeiriol li';
O flaen y gwynt y don a ddaeth,
  Mae'n suo clyw, O gollwng fi.

O gollwng fi, pererin wyf
  A ddaeth i weled byd o wae;
Wrth wenu arno, rhoes i'm glwy,
  A chwerwi fy nysgleidiau mae;
Er gwaetha'r byd, gobenydd gaf
  Esmwythach na dy ddwyfron di;
Mewn melys hedd, gorphwyso wnaf,
  Yn mynwes Naf, O gollwng fi.

O gollwng fi, mae lleni'r nos
  A'i holl gysgodau'n gado'r llawr;
Mi welaf dros y bryniau dlos
  Wawr dirion tragywyddoldeb mawr;
Pinaclau heirdd Caersalem sydd,
  Yn dod i'n golwg yn ddiri';
Caiff f'enaid fyn'd o'i rwymau'n rhydd,
  Fe ddaeth yr awr, O gollwng fi.

O gollwng fi, mae teulu'r nef
  Yn ysgwyl wrthyf ddod i'r wyl;
Fy main a drefnwyd gan ddo ef,
  Mae tanau'r delyn oll mewn hwyl:
Mae'r bwrdd yn llawn danteithion per
  Y gwestwyr mewn addurnol fri;
A'r lampau fel dysglaerwych ser
  Yn harddu'r llys, O gollwng fi.

O gollwng fi, mae cerbyd gwych
  O'r nefoedd wedi dod i'm nol;
Dy ddagrau gloewon ymaith sych,
  Na wyla fynyd ar 'y ol:
Cei dithau'n fuan rodio'r glyn,
  A chroesi gorwyllt rym y lli;
Cawn fod yn nghyd ar Seion fryn,
  Bydd iach hyd hyn, a gollwng fi.

*Youngstown.* *Cyfl. gan* D. S. Jones.

# CYDWYBOD.

PAN y crewyd dyn yr oedd yn berffaith yr oedd ei holl dueddiadau yn uniawn; ond pan bechodd fe newidiodd ei holl gyneddfau, yn lle bod yn sanctaidd, aeth yn halogedig, ac o fod yn ddedwydd yn druenus, a'i serch oddiwrth ddaioni at ddrygioni, ac o fod yn wasanaethwr Duw yn wasanaethwr y diafol. Er yr holl gyfnewidiadau, y mae un gyneddf wedi cadw yn berffeithiach na'r lleill i gyd, sef y gydwybod.

Cydwybod ydyw y gyneddf hono sydd yn tysiolaethu yn nghalon dyn, yn cymeradwyo ei ymddygiadau neu ynte yn ei gyhuddo. Y mae yn nghalon pob dyn, hyd yn nod y pagan druan, er ei bod yn wan a thywyll iawn yno, na all ddyweyd fawr, ond rhoi rhyw anesmwythder yn y meddwl fod rhywbeth o'i le, mae y tywyllwch yn ormod i'w goleuni oleuo ynddo. Mae yn rhaid iddi glywed yr efengyl cyn y gall lefaru yn iawn. Yn nghalon yr ieuanc a ddysgwyd yn ffyrdd crefydd a duwioldeb, y mae yn esmwyth iawn, tra y mae heb ei throseddu, ond yno y mae yn cyhuddo lymaf hefyd, os troseddir hi. Gwaith anhawdd yw iddo gyflawni y pechod cyntaf, y mae ei gydwybod o'i fewn yn ei rybuddio i beidio; ond ei gyflawni a wna. Os na wrandawai ar ei gydwybod cyn ei throseddu, gorfydd iddo wrando a dyoddef ei chyhuddiadau llym wedi hyny.

O gyfeillion ieuanc, gwyliwch ddechreu myned ar draws cydwybod i gyflawni unrhyw bechod, y peth mwyaf annyoddefol yn y byd yma yw cydwybod euog yn cyhuddo. Y mae llawer wedi methu dal i'w chyhuddiadau, nes rhoi terfyn ar eu bywyd i geisio ei dystewi. O! greadur truenus, yn lle ei dystewi, fe gyflawnodd weithred trwy yr hon y cafodd dragywyddoldeb i'w boeni filoedd mwy! Nid oes dim all ei dieuogi a'i dystewi am byth ond gwaed Crist; eto y mae modd i'w

dystewi i raddau yn y byd yma. Os mynu myned ar ol eich pechodau wnewch, ar ol dechreu ei throseddu mae yn haws o lawer gwneyd wedi hyny; ac os myned yn mlaen wnewch mae yn haws o hyd, nes o'r diwedd nad ydyw yn teimlo dim bron, mae wedi cael ei llethu dan eich pechodau, ac yn gadael y ffrwyn ar eich gwarau i fyned fel y mynoch.

Os oes ryw un o ddarllenwyr ieuainc yr "ARWEINYDD," yn y sefyllfa hon, yr ydych yn yr un mwyaf peryglus sydd! O drueni y cyfryw y mae cydwybod wedi tewi wrthynt trwy dwyll pechod, peidiwch a bod yn esmwyth yn y sefyllfa yna, O! ystyriwch mai nid eich gymeradwyo yn eich ymddygiad y mae, am ei bod mor esmwyth a dystaw, ond wedi ei chaledu gan eich pechodau. Peidiwch meddwl ychwaith eich bod wedi ei gorthrechu a'i dystewi am byth. O na, os nad ydych yn clywed dim oddiwrthi yn awr, hi ddeffrôa ac a rua tuag awr marwolaeth, ac ni chewch ddianc byth o afael ei chnofeydd a'i chyhuddiadau annyoddefol. Hi fydd yn eich collfarnu cyntaf yn nydd y farn; gan rym ei dylanwad y byddwch yn gweddio ar i'r "bryniau syrthio arnoch, a'ch cuddio o ŵydd yr Hwn sydd yn dyfod." O mynwn gydwybod ddieuog, ac nid un ddystaw wedi ei chaledu trwy bechod. A gwyliwn byth ddywedyd un gair, na chyflawni un weithred, pan y byddo cydwybod yn gwaeddi *gochel*.

*Rome.* A. H. J.

## HUNANYMHOLIAD MEWN ADDOLIAD.

1. A YDYW fy nghalon wedi ei hadnewyddu gan yr Ysbryd Glan? Heb hyn ni ddichon fod ynddi dduwioldeb, ac o ganlyniad ni fydd yr addoliad yn gymeradwy. Rhuf. viii. 8, 9.

2. A ydyw fy ngwasanaeth yn ol gwybodaeth? A ydwyf yn deall *paham* a *pha beth* wyf yn addoli? Ioan iv. 22. Dywed yr Ysbryd na allaf nesau at Dduw ond trwy Grist. Ephes. ii. 18.

3. A ydyw fy addoliad yn ysbrydol? Ioan iv. 24. A ydwyf yn ymgeisio am alltudio pob meddwl bydol pan yn y cysegr? Os eu coleddu, maent fel y prynwyr a'r gwerthwyr yn y deml gynt. Ioan ii. 16.

4. A ydwyf *yn brydlon yn moddion gras?* Mor chwerw fyddai fy ngofid pe byddwn yn rhy ddiweddar i'r addoliad yn y deml nefol! Oni ddylai fod arnaf gywilydd a gofid wrth fod yn rhy hwyr i addoliad Duw yn ei gynteddau nefol? Yn gyffredin bydd y rhai ydynt yn caru yr Iachawdwr a'i ordinhadau yno yn gynar. Salm lxxxiv. 1,2.

5. A ydyw fy agwedd gorfforol yr hyn y dylai fod? Rhagrith yw y rhith heb y grym, ond gwir dduwioldeb yw meddu y rhith a'r grym. Mae y rhai ydynt yn edrych o'u hamgylch mewn addoliad yn profi yn amlwg nad ydynt yn edrych i *fyny* nag i *fewn*. Na ato Duw i mi fod felly.

6. A oes genyf sail i ddysgwyl bendith oddiwrth Dduw? A ydwyf mewn modd difrifol yn gweddio cyn, ac wrth ddyfod i'r addoliad, am ras i'r gweinidog. i'r gynnulleidfa ac i mi fy hun? A ydwyf fi, ar ol y bendithiad, yn hytrach na brysio mewn dull gwrthyn, yn treulio ychydig amser mewn ymbiliad am i'r gair a glybuwyd fod o les i'r rhai oedd yn ei wrando? Esa. lv. 10. 11. Heb. iv. 2.

7. A ydwyf yn gwerthfawrogi fy nghyfleusderau crefyddol? A ydwyf yn ystyried fod cael addoli Duw y fraint fwyaf ar y ddaear? Ac a ydwyf yn defnyddio yr addoliad fel moddion parotoad, yn nghyda'i fwynhau fel blaen-brawf o'r Sabboth tragywyddol sydd eto yn ol i bobl Dduw? Heb. iv. 9.
—*Parch. J. G. Breay.*

## ADDYSG AC ESIAMPL DEULUAIDD.

YR ydym yn byw mewn byd lle yr ydym o angenrheidrwydd i adael ein hol ynddo mewn rhyw ffordd neu gilyd, naill ai er gwarth neu er gwell, ar y genedlaeth sydd

yn ein dilyn. Mae hyn yn cael ei brofi bob dydd yn ein teuluoedd, os ydym yn sylwi ar hyny, hyd yn nod yn mhlith y plant eu hunain, beth bynag fydd yr hynaf yn wneyd—drwg neu dda—bydd y nesaf ato yn y fan y ceisio ei efelychu. Felly yr un modd mae y plant a'u holl ymdrech yn ymgynnyg i efelychu eu rhieni. Os bydd ymarferion drwg yn cael eu cario yn mlaen yn y teulu, bydd y plant wedi eu dysgu yn fuan iawn, os bydd tad yn dyngwr a rhegwr, bydd y bachgen felly hefyd, canys meddyliai na fyddai yn ddyn nes y byddai yn alluog i wneyd, neu o'r hyn lleiaf geisio gwneyd pob peth a fydd ei dad yn ei wneyd; ac maent yn llwyddo yn foreu iawn i efelychu eu tad mewn tyngu a rhegu neu unrhyw iaith isel arall. Yr un modd hefyd y mae fynychaf gyda'r fam a'r ferch, byd yn gosod ei holl alluoedd ar waith i wneyd yn ol esiampl y fam, yn enwedig mewn drwg, fel y dywed yr hen ddiareb, "*Ble tripa y fam y tripa y ferch.*" O'r ochr arall hefyd, mae yn lled debyg mewn arferiadau da. Mae hyn hefyd yn cael ei brofi yn feunyddiol yn ein teulnoedd, os bydd y tad yn arferol o geisio bendith ar y bwyd, cewch weled y bychan yn aml iawn yn gosod ei ddwylaw bychain ar ei wyneb, ac yn gwneyd ryw fath o swn fel pe byddai yn tywallt ei ddiolchgarwch gwresogaf i Dad y trugareddau am yr ymborth y mae wedi ei arlwyo ger ei fron. Ac felly yr un modd gyda'r ddyledswydd deuluaidd.

Gan hyny, O! rieni, oni ddylem fod yn ofalus yn ein esiamplau tuag at y rhai sydd yn codi? o herwydd bydd ein hargraff i raddau mawr i weled arnynt pan y byddwn ni o ran ein cyrff yn huno yn y gweryd. Dywed Job, "Mai noeth o daethom o groth ein mam, ac yn noeth y dychwelwn yno." Ac felly y mae gyda golwg ar ein cyrff, ond y mae genym eneidiau i fyw byth mewn byd ar ol hwn. O'r holl drugareddau y mae y Duw mawr yn roddi i ni yn barhaus, fydd dim yn ein cyfarfod ni yno ond ein plant,

byddant hwy yno oll fel ninau; a mwy na hyny, fe fydd raid i ni roddi cyfrif manwl i'n Barnwr am ein hymddygiadau tuag atynt. Dylem fod yn ofalus iawn i ddyweyd y gwir bob amser wrth ein gilydd, ac wrth y plant, gan eu rhybuddio hwythau yn ofalus at hyny beth bynag fyddai y canlyniadau. Arferiad drwg iawn sydd gan rai rhieni i addo pethau i'r plant, a byth yn meddwl eu cyflawni. Beth mae hyn yn ddysgu i'r plant? Eu dysgu nad allant byth ymddiried dim i'r hyn y mae rhieni yn addo, ac hefyd eu dysgu i ddyweyd anwiredd eu hunain. Yn sicr mae hyn yn arferiad sydd yn cymeryd lle yn rhy fynych yn mhlith y Cymry, mewn addewidion a bygythion hefyd.

Mae un o bapyrau New Orleans yn rhoddi hanes tra tharawiadol ar hyn:—

"Gwelwyd bachgen bychan un boreu yn ddiweddar yn gorwedd ar y borfa, yn heol Claiborne, a golwg fywiog a gwybodus arno, ond yn glaf. Aeth dyn ag oedd yn feddianol ar deimladau o garueiddiwch yn gryf o'i fewn ato, a chan ei ysgwyd wrth ei ysgwydd, a ofynodd, 'pa beth oedd yn wneyd yno.'

"'Dysgwyl am i Dduw i ddyfod am danaf,' oedd yr ateb.

"'Beth ydych yn feddwl?' meddai y gwr boneddig, wedi ei daraw wrth swn cyffrous yr atebiad, yn nghyda sefyllfa y y bachgen, yn llygad a gwyneb gwridliw yr hwn y gwelai arwyddion amlwg o dwymyn.

"'Fe anfonodd Duw am fy nhad a mam a'm brawd bach,' meddai, 'ac a'u cymerodd i'w gartref yn yr awyr, ac fe ddywedodd fy mam wrthyf pan oedd yn glaf, y buasai Duw yn cymeryd gofal o honof fi. Nid oes genyf gartref, na heb i roddi dim i mi; am hyny mi a ddaethum allan yma, ac yr wyf wedi bod yn edrych am gyhyd o amser tua'r awyr am i Duw ddyfod i gymeryd gofal o honwyf, fel y dywedodd fy mam y buasai yn gwneyd. Fe ddaw, oni ddaw ef? Ddywedodd mam ddim anwiredd erioed.'

"'Daw fy machgen i,' meddai y dyn wedi ei orchfygu gan deimladau. 'Efe a'm danfonodd i, i gymeryd gofal o honoch.' Yna gellid gweled llygaid y bychan yn tanbeidio, a thaenai gwên fuddugoliaethus dros ei wyneb, pan y dywedai,

"'Ddywedodd fy mam ddim anwiredd erioed wrthyf, Syr; ond yr ydych wedi bod yn hir iawn, ar y ffordd.'"

Y fath wers i rieni, onidê? Mor darawiadol mae yr hanesyn blaenorol yn dangos na ddylent dwyllo eu plant â chwedlau disail. Fel ag yr oedd y fam druan yn ymorphwys ar addewidion Duw, pan yn dyweyd wrth ei bachgen tlawd, "Y buasai Duw yn cymeryd gofal am dano." Felly y gwnaeth trwy gyffwrdd â chalon y gwr boneddig haelionus hyny, i gymeryd gofal, ac i garu y bachgen tlawd, a diamgeledd. Felly byddwn ofalus i ddyweyd y gwir bob amser wrth eu plant, ac i wasgu hyn yn aml at eu meddyliau.

Rhaid i mi derfynu, Mr. Gol. Llawer allesid ddyweyd ar y pen hwn, ond mae eich terfynau yn rhy gyfyng i mi ymhelaethu yn bresenol. Os bydd hyn yn dderbyniol genych, dichon yr awn rhagom eto. Gan obeithio y bydd yr ychydig eiriau yma, er yn ddigon anmherffaith, yn foddion i gyffroi rhyw rai at eu dyledswyddau yn eu teuluoedd,

Y gorphwysaf yr eiddoch, &c.

*Pottsville. Awst* 16, 1859. JOHN LUCAS.

---

## PRAWF BODOLAETH JOB.

### (CYN CRIST 1520.)

"YR oedd gŵr yn ngwlad Us a'i enw Job."—Job i. 1.

DICHON fod amrai wedi darllen gwahanol farnau o eiddo dysgedigion ar lyfr Job â'i amseriad, haerant ei fod yn oes y Patriarchiaid cyn oes Moses, eraill a dybiant yn wahanol na fu y fath un a Job; ond i'r llyfr gael ei ysgrifenu gan Ezra, yr amser y dychwelodd Israel o gaethiwed Babilon; mae hyn yn anhygoel hefyd. "Gwlad Us," lle y preswyliai yr Edomiaid. Gal. iv. 21.

Cafodd y wlad ei henw oddiwrth ei phreswylydd Us. Ŵyr i Seir yr Horiad. Gelwir mynydd ar enw Seir, oblegid mai efe a'i preswyliodd gyntaf (Gen. xxxvi. 20), cyn amser

Abraham. Tybir mai mewn canlyniad i gaethgludiad yr Horiaid allan, y meddianodd yr Edomiaid y wlad. Gen xiv. 6. Y wlad hon yw rhan o Arabia Petræ, yn terfynu a'r lwyth Juda, tua'r deau. Num. xxxiv. 3. Jos. xv. 1. 21.

Dywedir fod dau ddyn eraill o'r enw Us; un o Sem, a'r llall o Nacor brawd i Abraham; ond ni chafodd un wlad fod ar eu henwau hwy fel ŵyr Seir yr Horiad. Dywedir gan ddysgedigion sydd yn deall yr iaith Syriaeg, y Galdeaeg a'r Arabaeg, y gellir cyfieithu yr enw Job—Anwylyd neu Dymunol. Gwir yw, fod ei gymeriad felly yn berffaith gan Dduw Barnwr pawb. Job. i. 1. Mae y desgrifiad a roddir yn yr Ysgrythyr yn profi i mi fod y fath ddyn a Job wedi bod yn y byd. Gwel Ezec. xiv. 14. Iago v. 11.

Ni waeth i ddynion geisio gwadu na fu yr un Noa, na Daniel yn ein byd ni, na gwadu na fu yr un Job yn ein byd ni. Gan fod y llyfr yn teilyngu parch Ysbrydoledig gan Gristionogion, gallwn ddysgu goddef cystuddiau fel Job, a pheidio rhyfeddu os tyn ein cyfeillion gamgasgliadau oddiwrth ein geiriau a'n cystuddiau, fel cyfeillion Job. "Clywsoch am amynedd Job," &c.

Rhydd i minau fy marn am Job.

RHISIART.

---

## PETHAU GWERTH EU GWYBOD.

CWI WYDDOCH—ymddangos o hono Ef fel y dileai ein pechodau ni. 1 Ioan iii. 5.

MI A WN—fod fy Mhrynwr yn fyw, ac a saif yn y diwedd ar y ddaear; ac er ar ol fy nghroen i bryfed ddyfetha y corff hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd. Job xix. 25, 26.

NI A WYDDOM—fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Rhuf. viii. 28.

MI A WN—i bwy y credais; ac y mae yn ddiamheu genyf ei fod Ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw. 2 Tim. i. 12.

NI A WYDDOM—os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. 2 Cor. v. 1.

NI A WYDDOM—pan ymddangoso Efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled Ef megys ag y mae. 1 Ioan iii. 2.—*Family Treasury.*

---

## GRAMADEG.

[*Parhad o du dal.* 260.]

ODDIWRTH y nodiadau blaenorol, gwelir yn amlwg y fantais sydd gan y Cymro i ddeall yr iaith Gymraeg, rhagor sydd gan y Sais uniaith i ddeall y Saesonig. Am yr iaith Saesonig, y mae ei gwreiddiau yn guddiedig oddiwrth bawb ond dysgedigion; a chyn y medro ddeall hyd yn nod ei iaith ei hun, rhaid i'r Sais ddysgu tair neu bedair o ieithoedd estronol, sef y Lladin, y Groeg, y Ffrancaeg, a'r Almanaeg (*German*). Am ba achos, pan y gwelo neu y clywo y Sais uniaith y fath eirian a *philanthrophist*, *patriotism*, neu y cyffelyb, nis gŵyr mo'u hystyr ddim mwy na phe byddent yn perthyn i iaith yr Escimoaid, neu drigolion Erromanga; ond pan glywo neu y darlleno y Cymro uniaith y geiriau cyfystyriol, *dyngarwr* a *gwladgarwch*, mae eu hystyr agos a bod, os nid yn gwbl, mor eglur iddo a'r eiddo y geiriau a ddysgodd gyntaf erioed—*tad*, *mam*, *brawd* a *chwaer*. Y rheswm am hyn, fel y mae yn amlwg, yw, bod eu gwreiddiau yn adnabyddus iddo. Y casgliad oddiwrth hyn yw, Bod y Cymry, o angenrheidrwydd, yn deall eu hiaith yn llawer gwell na'r Saeson; nid amgen y naill a'r llall sydd heb dderbyn y manteision cysylltiedig âg addysgiaeth; ac o herwydd paham, mae y Cymro uniaith yn llawer mwy gwybodus na'r Sais uniaith, yr hwn sydd agos a bod yn amddifad o unrhyw iaith. Hawdd y gellir tybied y dichon Sais annysgedig wrando pregeth neu ddarlith heb ddeall

pum' gair o bob deg; a gŵyr y sawl sydd yn adnabyddus âg arferion y Saeson, nad oes dim yn fwy cyffredin yn eu plith na dymuno ar y pregethwr arfer iaith ddealladwy, pan y mae hyny yn beth hollol ddyeithr yn mhlith y Cymry. Digon tebyg mai ychydig yw y diolch a gaem gan lawer Sais neu Ddic Sion Dafydd o Gymro, pe bai modd iddo weled y nodiad uchod; ond mae y ffaith, yn gystal a'r tebygolrwydd yn mlaen llaw, yn profi gwirionedd yr hyn a ddywedir; a phwy bynag a deimla ynddo ei hun duedd i amheu yr hyn a ddywedwyd, ni raid iddo ond treulio ychydig o amser yn mhlith trigolion gororau terfynol Cymru a Lloegr, y rhai nid ydynt yn deall iaith yn y byd—y rhai sydd wedi anghofio y Gymraeg, ac heb ddysgu y Saesonaeg—dyfod yn gydnabyddus drwy ryw foddion â'r bobl hyn, a'i hargyhoeddai o wirionedd y ffaith, os yw coelio yn un o briodoliaethau ei benglog.

Tua deuddeng mlynedd yn ol, rhoddai Golygydd y newyddiadur a elwir y *Nonconformist*, ganiatâd i unrhyw ohebydd i draethu ei farn yn ei gyhoeddiad, o berthynas i'r achos neu yr achosion sydd yn lluddias y werin bobl, neu y dosbarth llafurus yn ein plith, i ddyfod i'r capeli i wrando yr efengyl. Daeth amryw yn mlaen, mewn atebiad i'r gwahoddiad, ac ysgrifenwyd cryn nifer o lythyrau lled amryfarn ar y mater; rhai yn priodoli y peth i un achos, ac eraill, i achosion gwahanol. Ond pe deallasai y pleidiau athroniaeth y cwestiwn, a gwir sefyllfa y ddadl, buasent yn dyfod i gydweled nad oedd a fynai y peth â Chymru yn y mesur lleiaf, nac ag addoldai y Cymru, yn y dywysogaeth nac yn Lloegr. A phe buasent yn gwybod ond nesaf peth i ddim am yr iaith Gymraeg, buasent yn canfod ar unwaith beth oedd, yn fwy na dim arall, yn dyeithrio y Saeson gwerinol o'r addoldai, sef, nad ydynt yn deall ond ychydig o'r hyn a lefarir yno. Y mae agos bob pregethwr yn deall yr iaith yn well na'i wrandawyr, a'r rhan fwyaf yn gwneuthur ymffrost o ddefn-

yddio geiriau hirion, annealladwy i'r bobl gyffredin, yr hyn a ystyrir gan Saeson anwybodus yn orchest nid bychan. Dyma yw y prif beth sydd yn cadw y dosbarth na chafodd addysgiaeth boreuol, o'r capeli yn Lloegr; ac y mae yn ddigon hawdd i bawb weled, mai yr un fath y byddai yn Nghymru, pe byddai y Cymry mor anwybodus o'u hiaith a'r Saeson; neu pe byddai pregethwyr Cymru, fel dosbarth, yn cymeryd i fyny yr arferiad o ddefnyddio iaith gyffelyb i'r eiddo Coll Gwynfa, neu ryw ddull annealledig arall, ac yn gwneuthur ymffrost o hyny. Ond, yn ffodiannus, nid felly y mae pethau yn Nghymru—y mae y Cymro nad yw yn deall un iaith yn y byd ond yr hen Omeraeg, yr hon sydd a'i gwreiddiau ynddi ei hun, yn medru gwrando yr efengyl gyda yr hyfrydwch mwyaf, ac o herwydd paham y mae y werin bobl yn gwneuthur i fyny y rhan luosocaf o'n cynnulleidfaoedd; ac, iddynt hwy, prin y byddai yr efengyl yn Newydd da, pe na chyhoeddid hi yn yr iaith Gymraeg.

[*I'w barhau.*]

## GOFYNION AR DDARLLEN.

YR wyf yn myned i'ch holi ychydig yn awr yn nghylch darllen; ond yn gyntaf gadewch i mi ofyn i chwi—

A FEDRWCH CHWI DDARLLEN? Ugain mlynedd yn ol buasai y gofyniad hwn yn llawer anhawddach i bobl ieuainc ei ateb nag yw yn awr; canys y mae yr ysgolion Sabbothol wedi gwneyd cyfnewidiad rhyfeddol trwy y wlad. Y mae yn mron bawb yn gallu darllen yn awr; gan hyny, os byddwch, wrth ddarllen y gofyniad, A *fedrwch* chwi ddarllen? yn barod i ymsythu tipyn yn eich cadair, ac yn teimlo rhywbeth tebyg i falchder yn y fynwes; ac os rhowch rhyw dafliad i'ch pen, gan ddyweyd, " Darllen! bid siwr, medraf ddarllen! Wel, mi fynwn i chwi gofio y dylech fod yn bur ddiolchgar i'r sawl a'ch dysgodd.

Yn awr rhaid i mi gymeryd yn ganiataol eich bod yn medru darllen, o herwydd os nad ydych, rhaid eich bod yn analluog i ddeall y cwestiynau a ofynaf i chwi. Gan hyny,

cymeraf yn ganiataol, beth bynag yw eich oed, y *gellwch* ddarllen, ac yn awr gofynaf—

A YDYCH CHWI YN DARLLEN? Peth diles yw bod yn allnog i wneyd peth, os na ddefnyddir y gallu hwnw. Ni fyddai dysgu darllen, a'i roi o'r neilldu wedi hyny, ond gwaith ofer. Pan y mae bachgen wedi dysgu chwareu y *Jews' harp*, neu eneth wedi dysgu chwareu ei phel a chwpan, nid yw o bwys yn y byd pa un ai cofio ai anghofio hyny a wnant, o herwydd ni fydd chwareu y *Jews-harp*, na dal pellen ifori mewn cwpan ifori, yn effeithio fawr ar eu cysur a'u dedwyddwch mewn blynyddoedd i ddyfod; ond y mae darllen yn hollol wahanol; canys wrth ddarlleu gall plentyn gael ei wneyd yn ddoethach, yn well, ac yn ddedwyddach.

Yr hwn ddarlleno 'n iawn, a ddaw o hyd
I feddwl doeth, i'w dywys yn y byd,
Fe ddysg yn well i dynu 'n deg drwy 'i oes,
Mewn llwyddiant gwiw, neu siomedigaeth groes.

Y mae llyfrau yn gymhorth rhyfeddol i gyrhaedd gwybodaeth, i ymhelaethu mewn gallu, i geryddu y drwg, ac i gymeradwyo y da; ac hebddynt fe gollid miloedd o ddyfeisiau buddiol, o sylwadau rhagorol, ac o gynghorion cysurlawn. Y mae llawer na chawsant y fraint o ddysgu darllen pan yn ieuainc, wedi gweled cymaint o werth yn hyny nes ymroddi i'w gwblhau pan yn agos i bedwar ugain mlwydd oed. Os nad ydych yn darllen, yr ydych yn gwneuthur cam mawr â chwi eich hun, ac yn ysbeilio eich hun o luaws o fanteision. Ac os ydych yn darlleu, y cwestiwn nesaf a ofynaf yw,

PA BRYD YR YDYCH YN DARLLEN? Nid yw o nemawr fudd i chwi ddarllen pan yn frysgar, neu yn flinedig iawn; neu pan y mae swn mawr o'ch cwmpas; canys ni ellwch gael ond ychydig les y pryd hyny. Y mae yn waeth na hyny i chwi ddarllen pan y mae genych ryw orchwyl penodol i'w wneyd. Hefyd, y mae yn beryglus i chwi ddarllen ar ol myned i'r gwely. Gobeithio fod genych fwy o ofal am eich bywyd eich hun a bywyd rhai ereill nag y gwnewch hyny.

Yn awr, os nad ydych yn darllen ond ar amserau fel y rhai yna, ni roddwn fotwm am y cwbl a gewch oddiwrth eich llyfrau Os ydych am ddarllen i fuddioldeb rhaid i chwi eistedd gyda'ch llyfrau pan fo genych amser a seibiant i hyny, pryd na byddoch yn esgeuluso un ddyledswydd, nac yn

anturio un perygl. Od oes ynoch wir awydd am ddarllen chwi ffeindiwch gyfleusdra i hyny. Fe all codwr boreu wneyd hyny yn rhwydd, pan nad all y cysgadur mewn modd yn y byd. Ond, a chymeryd yn ganiataol eich bod yn darllen ar amserau priodol, y mae yn angenrheidiol i mi ofyn—

PA FODD YR YDYCH YN DARLLEN? Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng cynllun da ac un gwael, yn neillduol mewn darllen; o herwydd chwi gewch lawer iawn o fuddioldeb trwy gynllun da; ond os bydd y cynllun yn ddrwg ni chewch nemawr o fudd.

Os byddwch yn ddifater wrth ddarllen, nid ellwch ddeall yr hyn y byddwch yn ei ddarllen. Os darllenwch yn gyflym iawn, chwi a anghofiwch y cwbl; ac os darllenwch heb fyfyrio, ni wna darllen fawr o les i chwi. Yn awr, pan y meddyliom am yr holl fanteision sydd yn deilliaw o ddarllen, ffolineb mawr yw peidio mabwysiadu y cynllun goreu i gyrhaedd y manteision hyny. Gan hyny, gadewch i'r cwestiwn, Pa fodd yr ydych yn darllen? gael atebiad ffyddlawn. Os ydych wedi ymarfer â chynllun drwg newidiwch ef yn awr am un da. Os ydych wedi colli amser, gwnewch y goreu o hono bellach. Os yw eich darllen wedi bod i raddau yn ofer hyd yma, penderfynwch ddarllen i well pwrpas o hyn allan. Darllenwch yn araf, yn fanwl, yn fyfyrgar, ac yn rheolaidd, a chwi a ryfeddwch at eich llwyddiant. Y mae yn well darllen un llyfr yn dda, nag ugain yn arwynebol. Nid yw y corff yn cael cynaliaeth oddiwrth yr holl ymborth a fwyteir, ond yn unig oddiwrth y rhan hyny a dreulir yn y cylla; felly, nid ydyw y meddwl yn cael ei wellau trwy y llyfrau a ddarllenir, ond yn unig y rhanau a fyddo yn cael eu gweithio i'r meddwl drwy fyfyrdod. Fe all y morwr rwyfo yn galed yn erbyn y gwynt o'r llanw, heb fyned rhagddo nemawr; felly hefyd, fe all y sawl fo a chynllun drwg, ddarllen llawer heb fod nemawr doethach. Ond gadewch i mi ofyn i chwi eto—

BETH YR YDYCH YN EI DDARLLEN? Y mae hwn yn gwestiwn o bwys mawr; o herwydd os ydych yn *medru* darllen, os ydych *yn* darllen, os ydych yn darllen mewn *amser* addas, ac os yw eich cynllun y goreu yn y byd, bydd y cwbl yn ofer os na ofalwch *beth* a ddarllenoch. Y mae llyfrau, ïe, llyfrau da mor lluosog yn awr fel nad oes terfyn arnynt, y maent bron mor "lluosog a mwyar duon," gan

hyny y mae genych ddigon o ddewis. Beth a feddyliech chwi am danaf fi, pan y cawn fy newis o'r cwbl yn siop y ceinionydd, yr aur, y gemau, y perlau, a'r holl geinion yn dysgleirio o'm hamgylch; ac i minau ddewis rhyw wydryn gwael a diwerth o flaen pob peth arall? Beth a feddyliech, pan y rhoddid i mi fy newis, naill ai cydaid o arian, neu gydaid o farmorau plant, ac i minau ddewis, y marmorau o flaen yr arian? Beth feddyliech am danaf pan yn sâl, a ci mi gael dewis, un ai darn o siwgr candi ai meddyglyn fyddai yn sicr o'm gwella, ac i minau ddechreu sugno siwgwr candi, ac esgeuluso y meddyginiaeth? Chwi a ddywedech ar unwaith mai hurtyn perffaith oeddwn; ac felly hefyd y dywedaf finau. Mi a ddywedaf eich bod chwithau yn hurt iawn, os dewiswch lyfrau gwael a diwerth, pan y mae digonedd o lyfrau da o'ch blaen.

Fe fydd darllen llyfrau da yn well addurn i chwi na gemau; fe'ch gwna yn fwy defnyddiol nag y gall arian eich gwneyd; ac fe fydd yn well i chwi nag iechyd eich corff, trwy wneyd eich henaid yn iach.

Na ddifrodwch eich amser trwy ddarllen llyfrau gwag a ffol, sydd yn cael eu taenu yn gannoedd, o herwydd pe darllenech y fath hyny ddydd a nos, ni fyddech ddim gwell; ond darllenwch yr hyn a'ch gwna yn fwy dedwydd ar y ddaear, ac a'ch dysgo am Grist a'r nefoedd. Darllenwch y llyfrau hyny sydd yn traethu am y pethau sydd o fwyaf eu pwys i chwi. Y mae llawer o'r fath lyfrau, yn neillduol llyfr y lyfrau—y Beibl. Dywedir yn hwnw, "Ddyfod Iesu Grist i'r byd i gadw pechaduriaid" (1 Tim. i. 15); ac iddo ef, y cyfiawn, farw dros yr anghyfiawn. Yn awr dyma y newydd mwyaf pwysfawr a glybuwyd erioed. Mae pob peth arall yn myned yn ddim mewn cydmariaeth i hwn. Darllenwch lyfrau sydd yn cynwys gwybodaeth fuddiol, ond yn neillduol darllenwch y Beibl. Un gofyniad eto sydd genyf i'w ofyn i cwi, hyny yw—

Paham yr ydych yn darllen? Pe darllenid a llyfr goreu yn y byd, heb ddyben cywir, ni wnai fawr o les; ac os nad ydych yn meddwl elwa wrth ddarllen, ni waeth i chwi ei roi i fyny ar unwaith. Gan hyny, mi a ofynaf unwaith eto, *Paham* yr ydych yn darllen? Os ydych yn darllen yn unig er difyrwch, neu i foddio rhyw gywreinrwydd gwag, neu i gyrhaedd gwybodaeth dymhorol yn unig, y mae yn

ddrwg genyf drosoch, o herwydd felly yr ydych yn esgeuluso y dyben doethaf, urddasaf, a goreu, a ddylai gynhyrfu pen a chalon pob darllenydd. Dylai pawb sydd yn darllen wneyd hyny i gynyddu eu defnyddioldeb eu hunain, a defnyddioldeb pawb o'u cwmpas, yn y byd hwn; a'u dedwyddwch eu hunain, yn nghyd a dedwyddwch pawb o'u hamgylch yn y byd dyfodol.

Os darllenwch i'r dyben yma fe fydd eich darllen yn fendith i chwi.

Yn awr gadewch i ni grynhoi y cwbl. Y sawl nad all ddarllen, ni ddyla golli dim amser heb ddysgu peth mor werthfawr. Chwithau sydd yn medru, dylech gofio wrth ddarllen mai talent ydyw ag y mae yn rhaid i chwi ei hiawn ddefnyddio. Dylech ddarllen ar yr amser y byddoch debycaf o gael lles wrth hyny. Dylech hefyd ddefnyddio y cynllun goreu i ddarllen. Cysondeb, ystyriaeth, adfyfyrdod, a gweddi, yw y cynorthwyon goreu i'r sawl a ddymunai ddarllen i fuddioldeb. Dylech fod yn bur fanwl i ddarllen y llyfrau a duedda i wellhau eich meddwl, i ddiwygio eich gwallau, i gynhyrfu eich serchiadau sanctaidd, i helaethu eich defnyddioldeb, i gynyddu eich dedwyddwch,ac i loewi eich gobaith. Uwchlaw y cwbl, darllenwch yr Ysgrythyrau sydd yn abl i'ch gwneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. 2 Tim. iii. 15. Ac yn olaf, dylech ddarllen gyda'r dyben goreu, a'r amcan uchaf mewn golwg. Y dyben goreu yw gogoniant Duw a dedwyddwch ereill, a'r amcan uchaf yw mwynhad o'r nef. Darllenwch fel hyny, ac fe fydd eich darllen yn fendith i chwi yn awr ac am byth.—*Cym. y Traethodau Crefyddol. Rhif.* 4.

---

## Y FFORDD I SETLO AMRAFAELION.

DAU gymydog a elwid Jones a Chandler, a aethant i ddadleu â'u gilydd am y terfyn rhwng y ddwy *ffarm*. Dywedai un ei fod fan hyn, a'r llall ei fod fan arall. Treuliwyd misoedd i ddadleu â'u gilydd, ond methu dyfod i gydweled am y peth. Nid oedd y naill na'r llall am fyned i gyfraith, ond gwnaethant'gydsynied i ddewis Ynad Heddwch i setlo rhyngddynt, yr hwn oedd ddyn cywir a gonest, eto bu y peth yn aros am hir amser heb ei benderfynu. Yr oedd pob un yn brysur gyda ei orchwylion ei hun, ac felly yn methu cael

amser cyfaddas at y gorchwyl hwn. Pan y buasai un yn barod, ni fuasai y llall yn barod. Dyma amser y cynhauaf yn nesau, pryd yr oedd yn rhaid gwneyd rhyw benderfyniad, heb oedi dim yn hwy.

"Dewch" meddai Chandler, wedi myned beth allan o amynedd, "dewch Jones mae yn *rhaid* i ni setlo y mater."

"Mi wn," meddai Jones, "yr ydym wedi oedi yn rhy hir o lawer, ond nis gallaf fi ddyfod yn awr."

"Ond y mae yn *rhaid* i chwi ddyfod," meddai Chandler, wedi poethi peth, "wnaif hi mo'r tro i adael y peth fel hyn, yr wyf wedi penderfynu ci wthio i derfyniad."

"Wel ynte" atebai Jones, yn bwyllog, "Os rhaid i chwi fy nghyfaill, mae yn rhaid i chwi, ond nis gallaf fi ddim dyfod gyda chwi at y cyfreithiwr yn awr, mae mor bell a chenyf finau gymaint o waith ar law."

"Wel, beth y wnawn ni ynte."

"Beth," meddai Jones, "nid wyf fi yn gweled nad ellwch chwi wneyd yr oll eich hunan, yr ydych yn sicr o fod yn deall eich hoehr eich hun i'r cwestiwn, ac yr wyf yn meddwl eich bod yn bur gydnabyddus erbyn hyn am hochr inau, paham nad allwch chwi fod yn *lawyer* drosom ein dau? Cerddwch a gosodwch y ddwy ochr i lawr o flaen yr Ynad, a byddaf fi foddlon i'w benderfyniad."

"Purion," meddai Chandler, a ffwrdd yr aeth at yr Ynad, ac a bleidiodd y ddwy ochr mor deg ag ydoedd modd, a dychwelodd mewn hwyl golea a dywedai, "Wel Jones, yr ydych chwi wedi cario, ac yr wyf yn credu wedi y cwbl fod y *Squire* wedi barni yn agos i'w le."

*Sardis. O.* R. H. EVANS.

---

## FFORDD FRANKLIN I ROI BENTHYG ARIAN.

"YR wyf yn anfon bil o ddeg louis-d'ors i chwi. Nid wyf yn cymeryd arnaf roi llawer—dim ond rhoi ei fenthyg i chwi. Pan eloch adref i'ch gwlad, peidiwch oedi heb fyned at ryw orchwyl, er mwyn eich galluogi i dalu eich dyledion i gyd. Yna, pan weloch ddyn gonest arall yn y cyffelyb gyfyngdra ag yr ydych chwi yn awr, telwch eich dyled i mi trwy roddi benthyg yr arian hyn iddo ef; a dywedwch wrtho yntau i dalu yr arian yr un modd pan ddelai yn alluog, bryd

bynag y gwelai gyfle arall cyffelyb. Gobeithio yr ânt trwy lawer o ddwylaw cyn cyfarfod a chnaf i attal eu cylchrediad. Dyma ystryw o'm heiddo i er mwyn gwneyd llawer o ddaioni gydag ychydig arian. Nid wyf fi yn ddigon cyfoethog i wario llawer gydag achosion daionus, gan hyny rhaid i mi fod yn gyfrwys trwy wneyd cymaint ag sydd bosibl o ychydig."

---

PENDERFYNIADAU PLENTYN.

Mor ddifyr imi foreu Sul,
Heb ffrwst y byd ddeffrôl;
A myn'd i'r bregeth, mor ddiflin,
Os bydd yr hîn yn rhoi.

Nid âf gan chwareu hyd y ffordd,
Fel ffolion tua'r ffair;
Nid âf gan siarad am y byd,
Nac ynfyd dd'wedyd gair.

Ni thaflaf bluen dros fy ngwar,
I hedeg gyda'r gwynt;
Ni flysiaf afal, er mor dda,
Un modd ag Adda gynt.

Ond âf gan adrodd wrtha'm hun,
Ryw benill bach, neu Salm;
I mi yn ddiwyd mam a fu
I'w dysgu er ys talm.

Wrth wel'd y capel o fy mlaen,
Mae'n hawdd ei adwaen o;
Awyddu byddaf, yn y fan,
Am fod o dan ei dô.

Nid croesi'i riniog wnaf mewn ffrwst,
Nid gwneuthur trwst â'm traed.
Nid myn'd yn wyllt i foddion gras,
Fel march i faes y gwaed.

Nid llechu wnaf yn nghil y ddôr,
Ond âf i'n côr bob cam;
Ac yno byddaf mewn boddhâd,
Wrth ochr y nhad a mam.

Wrth ddyfal wrando, a pharhau
I gofio'i eiriau Ef,
Caf ochel croesau, gwarth, a chur,
A dysgu'r ffordd i'r Nef.

EOS GLAN TWRCH.

## GWRANDAWYR A GWNEUTHURWYR.

PAN oedd ein Harglwydd Iesu Grist yn desgrifio gwrandawyr cywir, gosodai hwy allan fel rhai yn dwyn ffrwyth, peth ei ganfed, peth ei driugeinfed a pheth ei ddegfed ar hugain. Bryd arall cydmerai hwy i ddyn yn adeiladu ei dŷ ar graig yr hwn a safai yn ddiysgog yn wyneb llifeiriaint a chorwyntoedd. O'r ochr arall desgrifiai y gwrandawyr ffol i ddyn yn adeiladu ei dŷ ar y tywod, yr hwn yn fuan a syrthiodd pan ddaeth y gwyntoedd a'r llifeiriaint i guro arno. Ei ddyben yn y cwbl oedd galw ein sylw ni at yr hyn ydym yn wrando; oblegid os nad ydym yn wneuthurwyr y gair, yn gystal a gwrandawyr, yr ydym yn sicr o fod yn twyllo ein hunain.

Clywais am ddau ddyn, pan yn cyd-rodio, iddynt ganfod coeden lawn o ffrwyth. Casglodd y ddau, a chawsant eu boddloni. Casglodd un yr holl ffrwyth, gan ei gymeryd ymaith gydag ef; cymerodd y llall y goeden, gan ei phlanu yn ei dir ei hun, yr hon yn ganlynol a dyfodd gan ddwyn ffrwyth bob blwyddyn. Felly, er fod gan y cyntaf fwy yn bresenol, eto yr olaf oedd yn cael mwyaf o fwyniant parhaus oddiwrth y ffrwyth. Gall y rhai sydd ganddynt gof helaeth, a dim ychwaneg, ddwyn ymaith fwy o'r gair a glywant gyda hwy am y presenol; eto, dichon yr hwn sydd o bosibl yn analluog i gofio ond ychydig, os cymer y goeden ymaith, gan blanu y gair yn ei galon, ac ufuddhau iddo yn ei fywyd, bydd ef yn derbyn ffrwyth pan fydd y llall heb ddim. Y fendith fwyaf yw cael cof i weithredu.

Gorchwyl hawdd yw nodi a chyfaddef rhes o ddyledswyddau; ond pan sonir am eu cyflawni mae y gwastadedd yn codi yn fynydd mawr yn aml o flaen y meddwl.

Ddarllenydd! ar ol i ti glywed y gair, er fod yr oedfa drosodd, ni fydd diwedd ar y bregeth. Mae y gwneuthur eto ar ol.

Cofia helaethrwydd etifeddiaeth y rhai sydd yn gwneuthur ei air ef; "Trugaredd yr Arglwydd sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, ar y rhai a'i hofnant ef; a'i gyfiawnder i blant eu plant; i'r sawl a gadwant ei gyfammod ef, ac a gofiant ei orchymynion i'w gwneuthur." Desgrifiai hwy wrth eu gweithredoedd; maent yn cadw ei air ef, ac *yn cofio ei orchymynion, a'u gwneuthur.* Mae y dyn da ar ol derbyn codaid o arian, yn ei gadw yn ofalus dan glo rhag ysbeilwyr; yna pan fyddo angen cymer o hono i brynu ymborth, dillad, ac angenrheidiau eraill; felly, gyfaill, cofia dithau gadw y trysor gwerthfawrocaf yn dy galon, sef y gair, fel y byddo yn dy nerthu yn wyneb pob angen. Os byddi mewn adfyd, cei y gair yn angor i dy enaid; os mewn llwyddiant, cei y gair yn llusern i'th draed, ac yn llewyrch i'th lwybrau; ac os byddi yn cael dy guro gan demtasiynau Satan, cei cyfarwyddyd yn y gair pa fodd i wybod ei ddichellion ef, a pha fodd i ymgadw rhag llwybrau yr ysbeilydd. Mewn gair, os myni rodio dy ffordd yn ddiofal, cofia gadw a gwneuthur ei air ef.

A. B. C.

---

## Y PWYSIGRWYDD O BEIDIO ESGEULSO EIN CYDGYNULLIAD.

MAE cyngor Paul i'r Hebreaid (pen. x. 25), "Heb esgeuluso eich cydgynulliad, &c.," y deilwng o'n sylw yn yr oes hon, er mai peth bychan yr ystyrir ef yn gyffredin, yn neillduol yn America fel "gwlad rydd." Ond cofiwn nad gwlad rydd ydyw i droseddu gorchymynion Duw, mwy na rhyw wlad arall heb gyfrif i'w roddi am hyny. Felly sylwn, yn

I. Fod esgeuluso ein cydgynulliad yn ymddygiad pechadurus.

II. Cymeriad y rhai sydd yn esgeuluso.

III. Anogaethau i fod yn ffyddlon gyda ein cydgynulliad ein hunain. Ond yn

I. Fod esgeuluso ein cydgynulliad yn ymddygiad pechad urus.

1. Mae yn drosedd o orchymyn Duw. Y gorchymyn yw i ni garu ein gilydd, a chadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd, a chydymdrechu gyda ffydd yr efengyl. Daliwn gyffes ein gobaith yn ddisigl. Bydded i'r sawl a gredasant ragori mewn gweithredoedd da. Ymgadwant yn nghariad Duw. Dysgwyliant wrth Dduw bob amser, ac ymegniant i wneuthur ei orchymynion ef. Nid wrth esgeuluso ein cydgynulliaid y gwneir hyn.

2. Mae yn bechod, oblegid y mae yn tori cyfammod eglwysig. Dyna yw y cyfammod, neu o leiaf dyna ddylai fod wrth dderbyn i mewn un aelod, fod iddo ofalu bod yn ffydd lon gyda phob rhan o'r gwaith yn yr eglwys hono. Oblegid yno y dylai fod, ac nid gwamalu fel ceiliog gwynt gyda phob awel. Pan fyddai yr eglwys gynt yn yr anialwch yn gwersyllu, byddai pob llwyth yn gwersyllu dan ei faner ei hun.

3. Mae yn bechod yn erbyn y gweinidog, ac yn ddigalondid mawr i weision yr Arglwydd lle y mae y fath esgeulusdod. Mae ar y gweinidog angen pob cymhorth ag y gall ei frodyr roddi iddo trwy siriol gydweithrediad i ddwyn yn mlaen y gwaith mawr. Ond lladd ei ysbryd a thori i lawr ei rym y mae yr esgeuluswr yn ei wneyd, a pheri iddo rodio yn athrist lawer tro.

4. Mae yr esgeuluswr yn pechu yn erbyn ei enaid ei hun. Mae yn colli seigiau gwerthfawr a allasai eu mwynhau. Ië, efallai mai yn yr oedfa a esgeuluswyd y buasai yr Arglwydd yn ei fendithio, a sicrwydd ei fod yn blentyn iddo, ac yn etifedd nef y nef. Collodd Thomas saig felys iawn, a bu yn mron a myned yn anghredadyn wrth hyny, ac oni buasai i drugaredd ei dynu o'r pwll, felly y buasai. A dyma yr achos fod

llawer mor druenus a gwael gyda chrefydd, esgeuluso y bwrdd gartref. Cofiwch, esgeuluswyr, ar fwrdd ein mam y gallwn fod yn ëon ar bob dysglaid.

5. Mae yn bechod yn erbyn y byd. Maen tramgwydd yw yr esgeuluswr ar ffordd y byd lawer tro. Rhyw un yn cloffi ac ar y drws yn dyfod i'r eglwys—aelod o'r eglwys yn myned i rodiana i gwrdd pell i'r fan draw—y dyn a'r meddwl mawr ganddo am grefydd cyn hyny, bellach yn barod i ddyweyd, os dyna i gyd sydd o werth ynddi, ni waeth i mi fod hebddi, ac hwyrach heb uno *byth* â *chrefydd. O! esgeuluswyr, cofiwch y cyfrif.*

*Symes' Creek.* *Cyfl. gan* J. W. HUGHES.

[*I'w barhau.*]

---

## AGORIAD AR WEDDI YR ARGLWYDD.

### MEWN DULL HOLLOL NEWYDD AC ANNIBYNOL.

"Am hyny gweddiwch chwi fel hyn: Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd," &c. Mat. vi. 9—13.

GELWIR hi gweddi yr Arglwydd, oblegid mai efe a'i dysgodd i'w ddysgyblion ar eu cais. Gwel Luc xi. 1. Mae rhai dynion hyd heddyw, yn arfer y ffurf weddi hon, ar ol gweddio, yn ol trefn yr Eglwys Sefydledig; gan farnu yn gydwybodol ei bod yn orchymynedig gan Ben yr Eglwys. Ar yr un sail yn gymhwys y gall eraill farnu yn gydwybodol, na ddylid arfer yr un weddi arall yn flaenorol, ond yn unig gweddi yr Arglwydd. Mae yn amlwg i ni mai dyben ein Harglwydd oedd dangos i'w ddysgyblion y pethau sydd yn gynnwysedig mewn gweddi yn debyg i hyn, yn

I. "Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd."
II. "Sancteiddier dy Enw."
III. "Deued dy deyrnas."
IV. "Bydded dy ewyllys ar y ddaear, &c."
V. "Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol."

VI. "Maddeu i ni ein dyledion, &c."
VII. "Nac arwain ni i brofedigaeth."
VIII. "Eithr gwared ni rhag drwg, &c."
IX. "Amen," y diweddglo—Felly y byddo.

### YR ADDYSGIADAU.

"Am hyny gweddiwch chwi fel hyn, Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd" (ac nid ar angel, na Sant). Yn

1. Tad creadigol. Gen. i. 27. (Duw a wnaeth o un gwaed bob cenedl o ddynion.)

2. Tad ei bobl briodol trwy fabwysiad. Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn: eithr derbyniasoch ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad. Rhuf. viii. 15. Ein Tad yw sail ein gweddiau. Eithr heb ffydd anmhosibl yw rhyngu ei fodd ef. Oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef. Heb. xi. 6.

"Yr hwn wyt yn y nefoedd." Y nef yw fy ngorseddfainc, a'r ddaear yw lleithig fy nhraed. Esa. lxvi. 1. Mae tad naturiol yn gofalu am ei blant: pa faint mwy y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd bethau da i'r rhai a ofynant iddo. Mat. vii. 11.

"Sancteiddier dy enw." Gwneler parch neillduol i dy Enw mawr, mewn meddwl, gair a gweithred.

"Deled dy deyrnas," sef dy lywodraeth di yn dymhorol, ac yn ysbrydol; ac hefyd, yr efengyl a gras a fyddo yn llwyddianus yn y byd hwn.

"Bydded dy ewyllys ar y ddaear," yn cael ei gyflawnl gan ddynion yn y byd hwn; yna y bydd cariad yn llywodraethu pob dyn byw (henffych i'r awr) megys yn y nef. Gwel Dat. iv. 10, 11.

"Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol." Mae y deisyfiad hwn yn ein dysgu ni i beidio a rhag-ofalu yn ormodol dros dranoeth. Mat. vi. 34. Nid yw hyn yn un math o anog-

ogaeth i ni beidio a llafurio y tir, i hau a medi; yn hytrach, i'n hatal i rag-ofalu yn anmhriodol am bethau allan o'n cyraedd ac o'n golwg (dranoeth); canys trwy lafurio yr ydym yn dysgwyl am ein bara beunyddiol, mewn cysylltiad a rhagluniaeth.

"Maddeu i ni ein dyledion," pechodau. Luc xi. 4. Dyma y gofyniad mwyaf pwysig o gwbl. Pwy a all fadden pechodau ond Duw yn unig? Mat. ix. 6. Maddeu i ni, fel y byddo yn esiampl i ninau fadden i'n cyd-ddynion. Gwel Mat. xviii. 38.

"Nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg" (niweidiol). Gellir casglu yn briodol oddiwrth y gair, "Nac arwain ni i brofedigaeth,'' mai y meddwl yw, na ad ein harwain, gan fod y gair "Gwared ni rhag drwg" ar ei ol; oblegid nid yw Duw yn temtio neb. Gwel Iago i. 13. Marc xiv. 38. 2 Tim. iv. 18.

"Eiddo ti yw y deyrnas." Genyt ti y mae y llywodraeth. Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu. Salm cxlvi. 10. Mae gallu a gogoniant yn hanfodol yn Nuw o dragywyddoldeb i dargywyddoldeb. Gwel Esa. xli. 4. Dat. xxii. 13. Mae yr Arglwydd yn abl ac ewyllysgar i gadw y duwiol rhag profedigaeth. 2 Pedr ii. 9. Gallu i gynal ei blant yn y byd. Mat. xxviii. 20. Gallu i gadw ei saint i fywyd tragywyddol. Ioan xii. 26.

"Amen," y diweddglo—Felly y byddo yn ol dy ewyllys, a'th addysgiadau, y byddo ein gweddiau yn gymeradwy ger dy fron (oni byddwn ni yn gymeradwy, y mae ganddo ef allu i gosbi ei elynion)." Luc xix. 27.

Gorchymynir i ni "weddio bob amser â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara a deisyfiad dros yr holl saint; a throsof finau, fel y rhodder i mi ymadrodd trwy agoryd fy ngenau yn hŷf, i hysbysu dirgelwch yr efengyl: dros yr hon yr wyf yn genad mewn cadwyn; fel y traethwyf yn hŷf am dani, fel y perthyn i mi draethu." Eph. vi. 18—20.

OL YSGRIF.

Nid yw y ffurf weddi gynnwysfawr hon, yn rhoddi un achlysur i neb wadu Dwyfoldeb yr Arglwydd Iesu Grist mewn un modd; oblegid dywed efe, "Myfi a'r Tad un ydym." Ioan x. 30. Amlwg yw i ni ei fod ef yn wrthddrych teilwng yn cael ei addoli gan ddynion ac angelion. Gwel Mat. ii. 2. Luc xxiv. 52. Dat. v. 11.

Trwy gyfryngdod ac eiriolaeth Crist y mae y ffordd i ni ddysgwyl am fywyd tragywyddol. Ioan xiv. 6. A'r Ysbryd Glan yw yr argyhoeddydd, a'r Sancteiddydd, a'r Dyddanydd. Ioan xvi. 8. 2 Thes. ii. 13. A thrwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd, &c. Eph. ii. 5.

RHISIART.

---

## GRAMADEG.

### GEIRIAU CYFANSAWDD.

[*Parhad o du dal.* 274.]

GWNEIR geiriau yn gyfansawdd drwy ddodi gair o flaen, neu ychwanegu gair neu sill, at y gwreiddiol. Y blaenddodion, yn gyffredin, ydynt Enwau, Ansoddeiriau, neu Arddodiaid. Rhoddwn engreifftiau o'r cyfryw gyfansoddeiriau.

*Blaenddodion Enwawl yn nghyfansoddiad geiriau.*

Aerdorf (aer-torf); torf yn brwydro neu yn lladd.
Aerdwrf (aer-twrf); twrf brwydr.
Aerfryd (aer-bryd); tuedd ymladdgar.
Aerlyw (aer-llyw); llywydd brwydr, neu arweinydd y lladdfa.
Afallwydd (afall-gwydd); preniau afalau.
Brawdlys (brawd-llys); llys barn.
Cadlys (cad-llys); llys milwraidd.
Canwyllbren (canwyll-pren); offeryn i ddal canwyll.
Cofgolofn (cof-golofn); colofn i gadw peth mewn cof.
Dimeiwerth (dimai-gwerth); gwerth dimai.

Dwrdwrf (dwr-twrf); swn dwfr.
Dyfrffos (dwfr-ffos); ffos dwfr.
Engylglaer (engyl-claer); dysglaer fel angelion.
Eurwerth (aur-gwerth); gwerthfawr fel aur.
Fflamgledd (fflam-cledd); cleddyf yn fflamio.
Gwingafn (gwin-cafn); cafn gwin.
Heulwedd (haul-gwedd); meddu ymddangosiad fel yr haul.
Heulrawd (heul-rhawd); llwybr neu yrfa yr haul yn mhlith y ser, *ecliptic*.
Ieithwedd (iaith-gwedd); arddull iaith, *style*, *idiom*.
Maethdad (maeth-tad); y tad a'i magodd.
Maethfrawd (maeth-brawd); un wedi ei gydfagu.
Priodfab (priod-mab); mab yn priodi.
Rhyfelfryd (rhyfel-bryd); o duedd rhyfelgar.
Teyrngenad (teyrn-cenad); cenadwr breninol, *ambassador*.

O berthynas i'r cyfansoddeiriau uchod, dylid cadw y pethau canlynol mewn cof.

1. Pan ddodir un Enw o flaen un arall i wneyd un gair cyfansawdd, mae y llythyren gyntaf yn y gair olaf yn cael ei chyfnewid o'r sain gwreiddiol i'r Meddal. Mae yr holl engreifftiau uchod yn dangos hyny.

2. O'r ddau air a gysylltir er gwneuthur un cyfansawdd, y mae un yn arwyddocâu y peth a feddienir, a'r llall, y perchenog; y naill yn dynodi y weithred, a'r llall ddeiliad y weithred; ac mewn cyfansoddiad, y rheol yw, bod i'r gair sydd yn dynodi y perchenog, y weithred, neu unrhyw gydberthynas arall, gael ei osod yn gyntaf; a'r gair sydd yn dynodi y peth a feddienir, deiliad gweithred, neu berthynas, yn olaf; er engraifft, y mae y gair *teyrngenad* yn arwyddocâu *perchenog*, a'r hyn a feddienir; y perchenog yw teyrn, yr hwn a ddodir yn mlaenaf; a'r hyn a berchenogir yw *cenad*, yr hwn a ddodir yn olaf. Mae y gair *priodfab* yn dynodi *mab fyddo yn priodi; priodi* yw y weithred, a *mab* yw deiliad y weithred; ac, yn ganlynol, dodir y gair *priod*

yn gyntaf, a *mab* yn olaf. Hefyd, peth yn perthyn i'r haul yw *rhawd*—dyna y *berthynas*—a'r peth y mae y *rhawd* yn perthyn iddo yw *haul;* ac am hyny, gosodir y gair haul mewn cyfansoddiad, yn flaenaf, a *rhawd* yn olaf.

3. Canfyddir yn yr iaith, rai eithriadau i'r rheol hon, a'r cyfryw yn benaf mewn enwau llanau plwyfol; megys Llanfair, Llangollen, Llangadwaladr, a'r cyffelyb. Dywedai un Cymro dysgedig yn y *Gwladgarwr* rai blynyddoedd yn ol, fod yr Orgraff uchod yn cyfnewid yr ystyr yn hollol, ac yn gwneyd y Sant yn gysegredig i'r llan, ac nid llan i'r Sant. I ddynodi cysegredigaeth y llan i'r Sant, dylai fod yn Llan Pedr, Llan Mair, &c, oblegid Pedr y llan yw Llanbedr, ac nid llan Pedr. Y mae llanau sydd a'u henwau yn dechreu âg Ll, yn ffodiaunus, yn dwyn pethau i drefn, ac yn cysegru y Llanau i'r saint; megys Llanllechyd, Llanllugan, Llanllwchaiarn: yn nghyda'r sawl sydd a'u henwau yn dechreu âg S; megys Llansilin, Llansadwrn, Llansawel. Y mae rhai enwau cyffredin, hefyd, yn gwyro oddiwrth y rheol; megys, grawnwin, tadmaethod, mammaethod, brawdmaeth, ac eraill, ond odid, y rhai y gall y darllenydd eu galw i gof. I'r annhrefn hwn, hawdd yw cymhwyso y feddyginiaeth; a dywedai rhai Grammadegwyr mai *gwinrawn*, *maethdadau*, *maethfamau*. &c., y dylent gael eu hysgrifenu. Y mae arferiad dau cant neu dri o flynyddoedd, pa fodd bynag, yn beth na ddylid myned heibio iddo yn ddisylw; ac yn ol y desgrifiad a ddyru Horas o'r mater hwn, geiriau yr hwn a gyfieithwyd rai misoedd yn ol, yr ydym yn canfod bod yr hyn a fu unwaith yn rheolaidd ac arferedig, yn myned, wedi hyny, allan o arferiad, ac o ganlyniad, dyna yw y rheol. Nid oes gan y gwir Ramadegydd ddim eithriadau; oblegid mae y pethau a elwir eithriadau, drwy hir arferiad, wedi dyfod yn rheolaidd a Gramadegol. Y mae y rheswm am ddechreuad yr arferiad i'w briodoli i egwyddor sydd wedi cael ei chrybwyll amryw o weithiau, sef *hysciniaeth*—mae dywedyd Llanbedr,

Llanfair, &c., yn esmwythach na Llanpedr, Llanmair, a'r cyffelyb. Gwell, gan hyny, yw gadael y geiriau fel y maent a pharhau i ddywedyd ac ysgrifenu mammaethod, tadmaethod, grawnwin, &c., gan gymeryd arferiad yn rheswm digonol dros yr ymddygiad.

4. Er na chyfnewidir llythyrenau dechreuol yr Enw cyntaf yn y cyfansoddion hyn; eto, y mae y llafariaid a'r deuseiniaid yn cael eu cyfnewid; megys *a* i *e*, *w* i *y*, *ai* i *ei*. Er engraifft, *geufarn* (gau-barn); drygsawr (drwg-sawr); dimeiwerth (dimai-gwerth).

---

## PENNOD Y DOETHION.

Y MAE gan gelwydd adenydd i ehedeg, ond nid oes ganddo goesau i sefyll.

Nid yw mil o efallai a hwyrach yn gwneuthur o ymaint ag un gwirionedd.

Ni raid i gydwybod euog wrth un cyhuddwr.

Mae gwaed pawb o'r un oedran ac yn yr un lliw.

Wedi gweddio ar Dduw i beidio dy arwain i brofedigaeth, bydd wyliadwrus rhag i ti daflu dy hun iddo.

Nid yw ystori dda yn waeth am ei hailadrodd.

Y peth goreu yn y byd yw byw uwchlaw y byd.

Am wendid nid oes dim help, meddai y ddynes feddw, pan y syrthiodd i'r ffos.

Mae dadleuon yn gadael gwirionedd yn y canol, a phlaid yn mhob pen.

Profiad heb ddysgeidiaeth a wna fwy o les na dysgeidiaeth heb brofiad.

Mae cenfigen yn saethu at eraill, ond yn ei chlwyfo ei hun.

Camp uchaf y bywyd presenol yw adnabod y bywyd tragywyddol.

Mae dau afael i'w cael ar bob peth; ac y mae y doeth yn rhoddi ei law ar yr un goreu.

Dysg natur i ni garu ein cyfeillion, ond dysg crefydd i ni garu ein gelynion.

Gad i'th lythyr ddysgwyl am y rhedegwr, ac nid y rhedegwr am dy lythyr.

Nid yw clustfeinwyr yn clywed dim daioni am danynt eu hunain.

Mae y tlawd yn cerdded am fwyd i'w gylla, a'r cyfoethog am gylla i'w fwyd.

Po fwyaf yr edrycho merched i'w drychau lleiaf yr edrychant ar ol eu teiau.

Mae fforddolion uffern yn llawn o amcanion da ond mae fforddolion gwynfyd yn llawn o weithredoedd da.

Os chwareuwch gyda ffŵl gartref, efe a chwareua gyda chwithau oddicartref.

Nid rhaid i ti dramgwyddo wrth y gareg sydd heb fod ar dy ffordd.

Os wyt am briodi, dewis dy wraig ar Ddydd Sadwrn, ac nid ar Ddydd Sul; sylwa ar ei gwisg gyffredin. ac nid ar ei gwisg oreu.

Nis gellir prynu na gwerthu cariad; ei unig bris yw cariad.

Rhaid i ni chwareu y llwynog gyda llwynogod.

Yr hwn ni all gadw ceiniog; ni bydd byth yn arianog.

Yr ydym dan rwymau i fod yn onest, ond nid i fod yn gyfoethog.

Mae y cybydd yn gwneuthur ceiniog o ddimai, ond mae yr haelionus yn gwneuthur grôt o ffyrling.

Yn ol fel y cyferchi, y'th gyferchir.

Gan wraig y crŷdd a cheffyl y gof y mae yr esgidiau salaf.

Edifarha am weithred dda os gelli.

---

## DYSGU MEDDWL.

GWELAIS unwaith bregethwr yn ceisio dysgu i blant y byddai eu heneidiau byw wedi iddynt hwy feirw. Yr oeddent yn gwrandaw, ond yr oedd yn amlwg nad oeddent yn deall yr hyn a ddywedwyd wrthynt. Yr oedd yn rhy ddwfn iddynt. Gan gipio ei oriawr (*watch*) allan o'i logell, efe a ddywedodd,

"James, beth sydd genyf yn fy llaw?"

"Oriawr, syr."

"Cloc bychan," meddai un arall.

"A ydych oll yn gweled?"

"Ydym, syr."

"Pa fodd y gwyddoch mai oriawr ydyw?"

"Mae yn tipian syr."

"O'r goreu; a all yr un o honoch ei chlywed yn tipian? Gwrandewch i gyd."

Ar ol peth arosiad—"Ydym, syr, yr ydym yn ei chlywed."

Yna efe a gymerodd ymaith y *case*, gan ei ddal yn un llaw, a'r oriawr yn y llaw arall. "Yn awr, blant," meddai, "pa un yw yr oriawr? chwi a welwch yma ddwy yn edrych *fel* oriorau."

"Yr un leiaf—yn eich llaw ddeau, syr."

"Pa fodd y gwyddoch mai hon yw yr oriawr?"

"Am ei bod yn tipian."

"Purion; yn awr mi a ddodaf y *case* o'r neilldu; rhoddwch ef yma yn fy het. Yn awr, gadewch i mi wybod a ellwch chwi glywed yr oriawr yn tipian?"

"Ydym, syr, yr ydym yn ei chlywed," meddai llawer o leisiau ar unwaith.

"Wel, mae yr oriawr yn gallu tipian, pan y mae y *case* wedi ei gymeryd ymaith a'i ddodi yn yr het. Mae yr oriawr yn myned llawn cystal. Felly y mae gyda chwi, blant. Nid yw eich corff ddim ond *case*; yr enaid yw yr hyn sydd tu fewn; ar ol i'r corff gael ei gymeryd ymaith a'i gladdu yn y bedd, bydd yr enaid yn byw ac yn meddwl wedi'n fel y gwelwch fod yr oriawr yn myned er tynu y *case* ymaith."

Yr oedd hyn yn gwneyd y peth yn eglur i'w hamgyffredion ieuainc; ac hyd yn nod yr ieuangaf o honynt wedi myned adref, a ddywedodd wrth ei fam y gwnai ei feddwl bach dipian wedi iddo farw.—*Todd's Sunday School Teacher.*

---

## MERTHYRDOD JOHN HUSS.

YN y fl. 1415, gan Emile de Bonechose y bu hyn. Yna y dechreuodd y ddefod drallodus o ddifreiniad o'i swydd. Yr esgobion a wisgasant John Huss mewn gwisgoedd offeiriadol, ac a roddasant y cymun gwpan yn ei law ef, fel pe buasai ef a'r fyned i ddathlu yr offrwm. Dywedodd wrth gymeryd yr offorengrys, "Ein Harglwydd Iesu Grist a wisgwyd â gwisg glaerwen, mewn ffordd o ddirmyg, pan anfonodd Herod ef yn ol at Pilat." Wedi ei wisgo fel hyn, y Preladiaid, neu esgobion a'i hannogasant ef drachefn, i ddadgyffesu er mwyn ei iachawdwriaeth a'i anrhydedd; ond efe a ardystiodd â llais uchel, gan droi at y bobl, y gofalai efe

na byddai iddo waradwyddo nac arwain ar gyfeiliorn gredinwyr, trwy ymwrthodiad rhagrithiol. "Pa fodd y gallaf," meddai ef, "pe gwnawn hyny, godi fy wyneb i fyny i'r nefoedd? Gyda pha fath lygad y gallwn i ddal yr olwg ar y dorf fawr acw o ddynion, pa rai a hyfforddais ac a addysgais, pe deuai oddi amgylch trwy fy nhrosedd i, fod y pethau y maent yn awr yn ystyried fel pethau sicr, i ddyfod yn bethau anmharchus—pe trwy fy esiampl i y parwn y fath ddyryswch a thrallod, i gynnifer o eneidiau, cynnifer o gydwybodau, pa rai a lenwais i ag athrawiaeth bur efengyl Crist, a'r rhai a nerthais i yn erbyn maglau y diafol? Na, na, ni cheir byth ddywedyd fy mod i wedi dewis yn hytrach ddiogelwch i'r corff truenus hwn, sydd yn awr wedi ei luniaethu i farw, i'w hiachawdwriaeth hwy." Yna yr Esgebion a barasant iddo ddyfod i lawr o'i eisteddfa, ac a gymerasant gwpan y cymun o'i law ef, gan ddywedyd wrtho, "O Judas felldigedig! yr hwn a wrthodaist gynghorion heddwch, a gymeraist blaid yr Iuddewon. Ni a gymerwn oddiwrthyt y cwpan hwn sydd wedi ei lenwi â gwaed Iesu Grist!"

Yn ateb iddynt dywedodd John Huss, "Yr wyf yn gobeithio, trwy drugaredd Duw, y caf y dydd hwn yfed o'i gwpan ef yn ei deyrnas ei hun; ac yn mhen can' mlynedd, chwi a gewch ateb am hyn, ger bron Duw, a minau."

Ei wisgoedd ar hyn a ddïosgwyd, y naill ar ol y llall, ac ar bob un o honynt, yr oedd yr esgobion yn cyhoeddi rhyw felldith. Pan yn ddiweddaf oll, yr oedd yn angenrheidiol dilëu nodau y coryn eilliad, cyfododd dadl rhyngddynt pa un ai ellyn ai gwellaif a ddylid ei ddefnyddio. "Gwelwch," meddai John Huss, gan droi at yr Ymerawdwr, "er eu bod yn gyfartal o greulon, eto ni allant gytuno ar y dull i arfer eu creulondeb."

A hwy a osodasant ar ei ben fath o goron, neu feitr yn bigfain i fyny (*pyramidal*) yr hwn oedd wedi ei ddarn-liwio â lluniau dychrynllyd o gythreuliaid, gyda'r arysgrifen hwn arno, "*Y Prif Heretic.*" Ac wedi ei wisgo fel hyn, yr Esgobion a ddiofrydasant ei enaid i'r cythreuliaid. A John Huss er hyny a orchymynodd ei ysbryd i Dduw, ac a ddywedodd â llef uchel, "Mi a wisgaf gyda llawenydd y goron hon o waradwydd, a gariad ato Ef, yr hwn a ddygodd goron o ddrain!"

Yna yr eglwys a roddasant i fyny bob hawl ynddo, gan

gyhoeddi ei fod ef yn lleygwr, sef fod ei berthynas a'r eglwys wedi darfod; ac fel y cyfryw, a'i traddodasant ef i'r awdurdodau bydol neu wladol i'w arwain i'r lle o gosbedigaeth. John Huss trwy orchymyn Sigismund a roddwyd i fyny gan yr Etholydd breiniawl, Rhaglaw (*Vicar*) yr ymerodraeth, i brif swyddog dinas Constance, yr hwn yn ei dro a'i rhoes i fyny i'r swyddogion barnol. Efe a gerddodd rhwng pedwar o is swyddogion y dref, i'r lle o ddienyddiad. Y tywysogion a ganlynasant gyda nodded o wyth cant o wyr, wedi eu harfogi yn gryf, ac yr oedd cydgasgliad o bobl mor ddirfawr, fel y bu agos i bont dori o dan y lluaws. Wrth fyned heibio i'r llys esgobawl, Huss a ganfu dân mawr yn difa ei lyfrau, ac efe a wenodd ar yr olygfa.

Y lle o gosbedigaeth ydoedd weirglawdd neu ddôl yn ymyl neu yn gysylltiedig â gerddi y ddinas, o'r tu allan i Borth Gutleben. Ar ol cyraedd yno, Huss a benliniodd i lawr; ac a adroddodd rai o'r Salmau edifeiriol. Amryw o'r bobl, wrth ei glywed ef yn gweddio gyda'r fath wresogrwydd, a thaerineb, a ddywedasant yn uchel, "Yr ydym ni yn anwybodus o drosedd y dyn hwn; ond mae efe yn cyflwyno gweddiau at Dduw mwyaf rhagorol."

Pan oedd ef y tu blaen i'r pentwr coed y rhai oedd i losgi ei gorff, efe a anogwyd i gyffesu ei bechodau. Huss a gydsyniodd, a dygwyd offeiriad ato, gŵr o ddysgeidiaeth mawr, a chyfrifiad. Yr offeiriad a wrthododd ei wrando oddyeithr iddo addef ei gyfeiliornadau, a dadgyffesu. "Heretic," fe nodai, "nis gall roddi na derbyn y sacramentau." Huss a atebodd, "Nid wyf fi yn teimlo fy mod yn euog o un pechod marwol; ac yn awr, fel yr ydwyf ar y terfyn i ymddangos ger bron Duw, ni phwrcasaf fi ollyngdod trwy anudoniaeth."

Pan oedd ef yn dymuno cyfarch y dorf luosog yn yr Ellmynaeg, yr Etholydd a'i gwrthwynebodd ef, ac a orchymynodd ar iddo gael ei losgi yn ddioed. Llefai John Huss, "Arglwydd Iesu! mi a ymdrechaf i ddyoddef mewn gostyngeiddrwydd yr angeu dychrynllyd hwn, i'r hwn y'm dedfrydwyd o achos dy efengyl sanctaidd; maddeu i'm holl elynion." Tra yr oedd efe yn gweddio fel hyn, a'i lygaid yn dderchafedig i'r nefoedd, syrthiodd ei goron bapyr ef i lawr; efe a wenodd, eithr milwyr a'i hail osodasant ar ei ben ef, mewn trefn fel yr oeddent yn mynegi y byddai iddo gael

ei losgi gyda'r cythreuliaid, y rhai yr oedd yn ufuddhau iddynt.

Ar ol cael caniatâd i siarad â'i geidwaid, efe a ddiolchodd iddynt am y driniaeth dda a gawsai ar eu dwylaw. "Fy mrodyr, gwybyddwch," ebe efe, "fy mod i yn ddianwadal yn credu yn fy Iachawdwr! yn ei enw Ef yr wyf fi yn dyoddef, a'r dydd hwn y caf fi fyned i deyrnasu gydag Ef."

Yna y rhwymwyd ei gorff ef a chareiau, gyda pha rai y rhwymwyd ef yn ddiysgog wrth y pawl, yr hwn oedd wedi cael ei wthio yn ddyfn i'r ddaear. Pan oedd ef felly wedi ei sicrhau, rhai a wrthwynebasant iddo fod a'i wyneb i'r dwyrain, gan ddywedyd na dylai hyn fod, gan ddywedyd ei fod yn heretic. Yna y dattodwyd ef, ac a'i rhwymwyd ef drachefn wrth y polyn a'i wyneb tua'r gorllewin. Yr oedd ei ben yn cael ei ddal yn agos iawn i'r coed gan gadwen wedi ei llychwino â pharddu, a'r olwg arni a awchlymodd ei feddwl ar ddyoddefiadau gwarthus y Gwaredwr.

Yna y trefnwyd ffagodau o'i amgylch a than ei draed, ac o'i amgylch y pentyrwyd swm mawr o goed a gwellt. Pan oedd yr holl barotoadau hyn wedi eu cwbl orphen, yr Etholydd Breiniol yn cydymdaith a'r Count d'Oppenheim, Maeslywydd yr amerodraeth, a daethant ato am y tro olaf i'w anog i ddadgyffesu. Ond efe gan edrych i fyny i'r nef a ddywedodd â llef uchel, "Yr ydwyf yn galw Duw yn dyst na ddarfu i mi erioed na dysgu nac ysgrifenu yr hyn y mae y gau dystion hyn wedi ei roi yn gyhuddiad yn fy erbyn; fy mhregethau, fy llyfrau, fy ysgrifeniadau a wnaethpwyd oll gyda'r unig fwriad o achub eneidiau o dan ormes pechod; ac am hyny yn fwyaf llawen y cadarnhâf â'm gwaed, y gwirionedd a ddysgais, a ysgrifenais ac a bregethais, ac sydd yn cael eu cadarnhau gan y gyfraith Ddwyfol a'r Tadau Sanctaidd."

Yr etholydd a'r Maes-lywydd ar hyny a ymadawsant, a dodwyd tân yn y pentwr! A llefodd Huss, "Iesu, Mab y Duw byw, cymer drugaredd arnaf." Efe a weddiodd ac a ganodd hymn yn nghanol ei boenau; ond yn fuan gwed'yn, cododd y gwynt, a boddwyd ei lais yn rhuad y fflamau, deallwyd ei fod am gryn amser yn hwy yn symud ei ben a'i wefusau, ac fel pe buasai yn gweddio yn barhaus, ac ychydig wed'yn, efe a roes i fyny yr ysbryd. Ei wisgoedd a losgwyd gydag ef, a'r dihenyddwyr a ddrylliasant y gweddill o'i gorff

yn ddarnau, ac a'i taflasant eilwaith i'r danllwyth, nes i'r tân ddifa yn hollol bob peth; yna y casglwyd y lludw yn nghyd ac a daflwyd i'r afon Rhine.

John Huss o Constance, dinas yn Suabia, talaeth yn yr Almaen, a Jerome o Prague, prif ddinas teyrnas Bohemia yn yr Almaen, oeddent eu dau yn wrthwynebwyr pabyddiaeth, yn ddiwygwyr ffyddlon a selog, ac yn y flwyddyn 1415 mewn cynghor a gynnaliwyd yn Constance condemniwyd y ddau i gael eu llosgi. A chymaint oedd eu cynddaredd fel y penderfynwyd codi Wichliffe o'i fedd a llosgi ei gorff ar ol bod yn ei fedd 40 mlynedd, a thaflu eu lludw i'r afon Rhine, gan dybio na fyddai adgyfodiad iddynt, heb wybod yr Ysgrythyrau na gallu Duw! W. G.

## Y FFORDD I GAEL LLYWODRAETH AR Y TAFOD.

YN nechreu gweinidogaeth John Wesley, talodd ymweliad â Epworth yn Lincolnshire, lle bu ei dad yn gweinidogaethu, ac a gafodd y bobl yn groes iawn i'r hyn a alwent "y daliadau newyddion." Ond cafodd gryn effaith ar y bobl, rhai o honynt a ddygwyd at gyfreithiwr i roddi cyfrif am y cyfeiliornadau y cyhuddwyd hwynt o honynt. Aeth Mr. Wesley yno hefyd.

Pan ofynodd y swyddog beth oedd y personau hyn wedi ei wneyd, yr oedd pawb yn ddystaw, yr oedd hyny yn beth na ddarfu iddynt feddwl am dano.

Yn y diwedd dywedai un o honynt, "Wel, maent yn cymeryd arnynt fod yn well na phobl eraill, ac heblaw hyny maent yn gweddio o'r boreu hyd nos."

Gofynai y swyddog drachefn, "Ond a ddarfu iddynt hwy wneyd rhywbeth arall."

"Do" meddai rhyw hen ddyn yn y gongl, fan draw, "*and please your worship, they have converted my wife.* Cyn iddi fyned at y bobl yma yr oedd ganddi y fath dafod, na welsoch chwi erioed fath beth; ond yn awr y mae mor ddystaw a'r oen."

"Ewch yn ol a nhw, ewch yn ol a nhw," meddai y cyfreithiwr, "mwyn d'ioni, gadewch iddynt argyhoeddi holl gecrwyr y dref."

Dywedodd Iago na all un dyn ddofi y tafod, ond fe all gras.

*Sardis.* R. H. EVANS.

# GWERSI Y TEULU.

## Y BACHGEN DA.

PETH da iawn i rieni fyddai adrodd i'w plant hanes personau a fu yn y byd er ys rhai blynyddau yn ol. Gall hyn effeithio er daioni ar feddwl eich plant erbyn yr amser a ddaw. Yr oedd bachgen bychan yn aros gyda ei rieni mewn rhandir yn y dwyrain. Nid oedd ei dad a'i fam o'r un genedl; eto, yr oeddent yn byw yn gariadus a heddychol. Pan oedd y bachgen yn ieuanc bu farw ei dad, gan ei adael ef a'i fam i ofal Rhagluniaeth yn unig. Gan fod ei mab yn ieuanc, a hithau yn ddigysur, daeth ei mam ati i fyw. Hen wraig dda ydoedd nain y bachgen, yr oedd yn ddynes dra chrefyddol, ac yn fawr ei ffydd yn Nuw a'i addewidion. Dysgodd hon ei merch i feddu yr un egwyddorion a hithau, fel y gallesid dyweyd fod cyfeillachau crefyddol parhaus yn yr anedd hono. Pan dyfodd y bachgen yn llanc, daliodd ei nain a'i fam ar y cyfleustra o'i addysgu mewn pethau da. Nid fel yna y mae yn gyffredin, mynych y gwelir y nain yn rhoddi rhaff i dueddiadau yr ŵyr, a'r fam yn ceisio tori hyny, a rhwng y ddwy gwneir ef yn *spoiled child*. Ond yr ydoedd y rhai hyny gwedi penderfynu os oedd crefydd yn werth iddynt hwy, ei bod hefyd yn werth i'r bachgen gael gafael arni. Yr oeddent yn ei ddysgu i sillebu enw y Messiah, ac i ddyfod o dipyn i beth i ddarllen gair Duw. Yr oedd gryn lawenydd ynddynt fod y gŵr bach yn derbyn ei addysg, yr oedd hyn yn dâl iddynt am eu hymdrech. Addysgwyd ef yn egwyddorion Cristionogaeth, fel y daeth yn lled gyfarwydd yn Ngair y Gwirionedd. Yr oedd aml ymddyddan rhyngddynt, beth fuasai y gŵr bach yn debyg o fod, ac yn mha gylchoedd o ddefnyddioldeb y buasai yn troi ynddynt. Gweddiodd y ddwy tebygol lawer gwaith am i Dduw ymweled a'i enaid â gras, dysgwyd

yntau er yn ieuanc i blygu wrth yr orsedd. Nid oedd ganddynt hwy ond gobeithio y goreu, a gwneyd eu goreu ar ei ran; ond yr oedd Duw wedi penderfynu dyfod a'r bachgen yn un defnyddiol. Yn mhen amser daeth y dyn ieuanc yn aelod eglwysig, yr oedd pawb yn mhob man yn dyweyd ei fod yn fachgen da, yr oedd hyny yn goron o anrhydedd iddo. Yn mhen ychydig amser daeth hen weinidog heibio, yr oedd hwnw wedi clywed am dano, a phenderfynodd ddwyn y bachgen am daith ganddo. Y tro hwnw dygodd Duw ef yn gwbl i anian y gwirionedd; ac yn ngafael yr anian hono yr arosodd hyd ei farw. Yr oedd yr hen weinidog yn dyner iawn o hono, ac ystyriai efe ef fel mab iddo cyhyd ag y buont byw. Wrth weled y bachgen wedi cyrhaedd sylw gan Dduw a dynion, yr oedd ei fam a'i nain yn diolch i'r Arglwydd am iddynt fod yn offerynau i dd'od ag un at Geidwad. Cafodd y bachgen ei ordeinio yn weinidog yn Ephesus, a bu yn ffyddlon i'w swydd. Enw y dyn ieuanc oedd Timotheus, ac enw yr hen weinidog oedd Paul. Darllener llythyrau Paul ato. Rieni, ymdrechwch ddysgu eich plant fel Timothy y bachgen da.

TACITUS.

---

## IAWN DDEFNYDDIO EIN HAMSER.

SALM XC. 12. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb."

WRTH sylwi ar fyrdra oes dyn daeth i feddwl y Salmydd i dderchafu ei lef at Dduw am ei ddysgu i gyfrif ei ddyddiau. Dylai hyn greu ystyriaeth ynom ninau i edrych i mewn beth yw ansawdd y wlad yr ydym yn cael ein cyflym gludo ar adenydd amser tuag ati, oblegid mae ein hoedl mor frau, a thragywyddoldeb mor faith. Hyn ddylai fod yn ein gyru i wneyd yr ymchwiliad manylaf pa fodd yr ydym yn treulio ein hoes.

1. Gan fod ein dyddiau mor fyr, y mae hyn yn galw arnom yn uchel i wneuthur iawn ddefnydd o honynt.

2. Trwy ystyried ein mater tragywyddol, neu ddiogelu cyflwr yr enaid. Ond yn

1. Mae gwneuthur iawn ddefnydd o'n hamser yn beth o annhraethol werth, oblegid y mae yn cael ei roddi i ni bob yn anadliad; bydd un anadliad wedi myned o'n gafael cyn y byddom yn feddianol ar y llall, a thrwy hyny dylem ei werthfawrogi yn hytrach na'n bod yn ei ollwng o'n gafael heb roddi y gwerth priodol arno. Mae amser wedi ei roddi i ni i gasglu trysorau, pa rai fydd yn gweini cysur a dyddanwch i ni ar ol cael ein cludo oddiar chwareufwrddd amser. Mae byrdra ein hoes yn galw ein sylw manylaf i edrych i mewn pa fodd yr ydym yn ei dreulio, pa un ai ystyriol ai anystyriol. Bydded i ni ystyried bob amser fod marwolaeth yn ein haros, ac nad oes ond megys cam rhyngom ag angeu. Nid ydym yn sicr pa bryd y daw i'n cyfarfod, efallai mai pan gyda'n gorchwyl, neu yn y dref, neu yn y farchnad. Mae pob awr ydwyt yn gael yn llefaru yn eglur nad oes yma ddinas barhaus i ti, oblegid mae dy fywyd yn cael ei ddirwyn gan un awr ar ol y llall. Ystyria, anwyl ddarllenydd, mai megis dyrnfedd yw ein bywyd, yn nghanol ein bywyd yr ydym mewn angeu, canys ni wyddost pa bryd y bydd i angeu hylldremu trwy dy wedd, nes peri i'th holl degwch gilio. Gan fod ein hoes mor frau mae o bwys i ni chwilio gyda y dyfalwch mwyaf am fan diogel i'n heneidiau bwyso arno.

2. Trwy ystyried ein mater tragywyddol, "Fel y dygom ein calon i ddoethineb." Y prif beth a ddylai fod yn sobreiddio ein meddwl ydyw. Dylem roddi sylw priodol ar ein hamser tra byddom gyrff ac eneidiau mewn undeb a'u gilydd. Mae meddwl am fyrdra ein hoes yn foddion i'n tywys ar lwybrau doethineb, ac i'n dwyn i adnabod ein hunain fel pechaduriaid. "O na baent ddoethion, na ddeallent hyn,

nad ystyrient eu diwedd." Ystyried ein diwedd yw dodi ein holl alluoedd meddyliol i weithredu ar y pethau a berthynant i'n heddwch tragywyddol, ac i erfyn ar Dduw am iddo roddi goleuni ei Ysbryd sanctaidd i dywynu ar y galon, nes y byddom yn canfod ein sefyllfa resynus trwy bechod. Anwyl ddarllenydd, pe byddai bosibl i'th arwain at byrth uffern, lle y byddit yn swn gruddfanau y colledigion ac ysgrechfeydd torcalonus, byddit yn clywed aml un yn dywedyd mai y diffyg o iawn ddefnyddio eu hamser yn ystod eu bywyd oedd yr achos o'u harweiniad i'r lle poenus hwnw. Ystyriwn y pwys o fyw yn ofn yr Arglwydd, a myfyrio yn ei air sanctaidd, a rhodio yn addas i'r efengyl, fel y dygom ein calon i ddoethineb. Os bydd y galon wedi cael ei dwyn i ystyried ffyrdd yr Arglwydd, bydd yn ymarweddu yn ol ei air, a thrwy hyny bydd yn dysgleirio yn ei gymeriad.

Gan fod ein dyddiau mor ansicr, ymdrechwn a'n holl egni i gael gafael yn y trysor na phydra y bedd mohono, sef yn y cyfiawnder na dderfydd.

*Crab Creek, O.* T. H.

---

## AM YMDRECHU I RAGORI.

OS myni ragori, ymysgwyd o'r llwch, ac ymddyrchafed dy amcanion at bethau ardderchog. Y dderwen, yr hon sydd yn awr yn lledu ei changenau tua'r nefoedd, a fu unwaith yn fesen fechan yn ymysgaroedd y ddaear. Ymdrecha i fod y cywreiniaf yn dy alwedigaeth pa beth bynag fyddo, pe byddit ond glanhawr esgidiau; ac na ad i neb ragori arnat mewn daioni. Na chenfigena wrth rinwedd rhai eraill, ond ymdrecha i ddiwygio dy dalentau dy hun— Na fydded i ti ychwaith geisio darostwng dy gyd-ymgeisiwr trwy ei waradwyddo, na thrwy unrhyw foddion anghyfreithlon arall, ond yn unig trwy ragori arno mewn cywreinrwydd a rhinwedd; felly y caiff dy ymdrech ei goroni â chlod, os nid a llwyddiant.

Oes y pethau mawr ydyw ein hoes ni, nid yn unig mewn Agerdd a Chamlesydd, Rheilffyrdd, a'r hysbysydd cyflym, sef y *Telegraph*. Ond gwelwn fod cannoedd bob blwyddyn yn cael braint lythyrau o'r Llywodraeth ar ddyfeisiau newyddion a gwelliant ar bethau oedd yn bod o'r blaen. Onid oes athrylith a thalentau gan wyr ieuainc o Gymry, a hynafgwyr profiadol hefyd? Nac ymollyngwch i ddigalondid ar un ochr, nac i farweidd-dra syfrdan yr ochr arall.

Pa mor ddymunol gan gorff y genedl yn America, fyddai darllen yn y Newyddiadur fod hwn a hwn wedi cael *patent* ar y peth a'r peth, &c. A phwy a wyr ond cael rhoi cychwyn fel hyn pa faint y gynhyrfid. Ond diweddaf ar hyn gyda chyngor yr Apostol i dduwiolion, gyda pethau ysbrydol. "Gwir yw y gair, ac am y pethau hyn yr ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu am flaenori mewn gweithredoedd da." Titus iii. 8.

W. G.

---

## CREULONDEB NERO TUAG AT Y CRISTIONOGION.

YR erledigaeth gyntaf ar y Cristionogion o dan amherawdwyr Rhufain, a fu dan Nero, oddeutu y flwyddyn o oed ein Harglwydd triugain a phedair. Tua'r pryd hyn, dygwyddodd i ran fawr o ddinas Rhufain fyned ar dân; ac yr oedd llawer yn cwbl gredu mai Nero ei hun, yn ddichellgar, a barasai ei ennyn; a hyny, mewn ffordd o ymddifyrriad creulawn i gael dial ar ei ddeiliaid, yn enwedig ar y rhai hyny o'r dinasyddion ag oedd wedi ei anfoddloni. Ac ymddengys mai nid anhygoel iawn hyny, oblegid yr oedd yn medru chwareu *fiddle* tra yr oedd y flamau yn difa y ddinas. Mynych ddymuniad y creulawn hwn oedd na buasai gan holl wyr Rhufain ond un gwddf fel y gallai efe eu difa âg un ddyrnod. Ond ar ol y dinystr echrydus a wnaethai y tân, fe ddeallodd y cyfrwys-ddrwg, fod ei ddeiliaid yn dra llidus tuag ato o'r herwydd; ac fe aeth yn nghyd âg amryw ddychymygion a moddion i geisio taflu y bai i ryw le arall. Pan oedd efe er llawer o ymgais yn tycio mo'r llawer yn hyn, fe

drodd ei olwg at ryw bobl (y rhai y pryd hyny yn Rhufain a adwaenid wrth yr enw newydd, Cristionogion), ag oedd ar eu penau eu hunain, mor hynod wahanol oddiwrth eraill, ac mor gâs ganl aweroedd am eu bod mewn athrawiaeth a buchedd yn dwyn tystiolaeth yn erbyn llygredigaethau y byd, fel y coeliodd y gallai eu gwaradwyddo hwy yn ddiberygl. Ac felly y gwnaeth. Mae yr hanesydd Tacitus yn galw Cristionogaeth yn goel-grefydd adgas, "yr hwn," medd efe, "a ddiffoddwyd ar y cyntaf; ond a dorodd allan eilwaith ac a ymdaenodd nid yn unig trwy Judea, ffynnonell y drwg, ond trwy y brifddinas hefyd." Dyma iaith Tacitus.

Tua'r amser hyn, darfu i'r Rhufeiniwyr ddechreu erlid y Cristionogion trwy gyfraith, a thriniaeth, hynod echrydus; nid digon eu lladd; rhaid oedd iddynt gael eu dienyddio gyda dirmyg. Fe'u gwisgwyd â chrwyn anifeiliaid gwylltion, i gael gweled eu baeddu a'u llarpio gan gŵn; fe'u croeshoeliwyd, do, fe roddwyd llawer i losgi yn araf, fel canwyllau i oleuo gerddi Nero yn y nos, tra yr oeddent yn cynnal ynddynt chwareyddiaethau y *Circus*, fel eu gelwid. O gymharu ymadroddion Seneca a Juvenal, dau eraill o'u hysgrifenwyr; mae yn ymddangos fod Nero wedi mynu eu gorchuddio â chwyr, a defnyddiau llosgadwy eraill, ac yna wedi gosod pawl llym dan eu gên i'w dal yn syth i fyny a'u llosgi yn fyw, i roi goleuni iddo ef a'i gydedrychwyr, yn eu difyrwch. Ceir lle i gredu fod llawer wedi eu merthyru yn y dyddiau hyny, nid yn unig yn ninas Rhufain, ond mewn llawer o'r gwledydd helaeth ag oedd dan ei lywodraeth. Cafwyd argraff-faen yn Ysbaen yn dangos fod yr efengyl wedi treiglo hyd yno, a bod gan yr eglwys ei merthyron yno yn amser Nero.

Dywedir gan ysgrifenwyr mai tua'r pryd hyn y merthyrwyd y ddau apostol, Paul a Phedr, yn ninas Rhufain. Dienyddiwyd Paul trwy dori ei ben, am ei fod yn Rhufeinwr, a Phedr a groeshoeliwyd â'i ben i waered.—O! y fath driniaethau chwerwon oedd dilynwyr yr Oen yn eu dyoddef gan blant y byd hwn. EUBULUS.

---

## TEBYG I BETH YW RHYFEL.

DAU fachgen o wahanol ysgolion a gyfarfuant ryw ddiwrnod ar y rhew. Yr oeddent yn llygadu y naill a'r y

llall fel pe buasent am gynen, a gallesid darllen ar dalcen pob un o honynt fod rhyw ddrwg oddifewn.

"Beth wnei di yn edrych arnaf fi, Will?"

"Beth yw hyny i ti? mi edrychaf lle yr wyf yn dewis, a rhwystra di fi os meiddi, yr hen *fool.*"

Gyda ei fod yn gorphen llefaru, neidiodd y llall yn mlaen a tharawodd ef, a dyma hi yn daro, o bob tu.

Gan fod bechgyn y ddwy ysgol ar y rhew aeth yn ymladdfa dros ei ochr, gofynodd dyn dyeithr wrth fyned heibio i un o'r pleidiau, paham yr oeddynt yn curo y lleill.

"O dim llawer o ddim, mae arnom eisiau rhoi eitha' cosfa iddynt," meddai un arall "Ni ddangoswn ni iddynt hwy beth a allwn ni wneyd."

Ar ol ymladd nes oeddent allan o wynt, un o'r arwyr penaf, a aeth yn mlaen a safodd yn y canol wedi ei orchuddio â gwaed, a'i ddillad wedi eu rhwygo, a chyfarchodd hwynt fel hyn,

"Wel, mi ddywedaf wrthych chwi beth y wnawn ni, ni a adawn chwi yn llonydd os gadewch chwi ni yn llonydd." Derbyniwyd hyn fel ammod heddwch, a dyma yr ymladdfa drosodd, aeth y plant i chwareu, ac meddai un wrth y llall "does dim dyben o'r ymladd yma."

Yr un peth a hyny yn gymwys ydyw rhyfel. Mae breninoedd a gweinidogion talaethau fel *set* o blant wedi tyfu i fyny, yr un peth a'r plant a goffawyd, ond fod hyn o wahaniaeth, yn hytrach nag ymladd allan yr amrafael a achoswyd ganddynt eu hunain, maent yn aros draw ddigon pell i edrych ar rai diniweid, ond niweidiol iawn yn yr ymladd yn curo eu gilydd; ac yna, wedi tywallt gwaed a gwastraffu arian, y maent yn rhoi i fyny ar ammod y bechgyn ar yr rhew,

"Os gadewch chwi ni yn llonydd, gwnawn ninau eich gadael chwithau yn llonydd."

*Sardis.* R. H. EVANS.

---

## TRIOEDD Y CYBYDD.

1. TAIR camp a fydd ar gybydd, nid amgen: ofni cadarn, casau tlawd, a bygwth gwan.

2. Tair cyneddf a fydd ar gybydd, nid amgen: caru arwylion, casau genedigaethau, a chwennych tir arall.

3. Tri chas gan gybydd: tafarn, cerddor, a neithior.

4. Tri pheth nas caiff cybydd byth: bendith y gwan, clod doethion, a rhâd Duw arno yn myned o'r byd.

5. Tri pheth ni wedd i gybydd: parch gan haelion, credu a ddywedo, a diolch gan a gaffo y meddiant ar ei ol.

6. Tri pheth y cyll y cybydd yn dragywyddol: ei dda bydol, cariad y da rhinweddol, a rhoddion gan Dduw.

7. Tri pheth a wna y dyn a elo yn gybydd: rhoddi ar ei ol lle na byddo raid wrthynt, colli pob rhinwedd dda a allai fod arno, a thybied ei hunan yn ddoeth cyd y bo ef yr annoethaf o bob annoeth.

8. Tri pheth y mae dyn yn ymadael a hwynt pan elo yn gybydd: ei glod bydol, ei gywilydd, a'i gydwybod.

9. Tri pheth a lawenha y cybydd: ei fynych wahawdd, ei anfynych ofwy, a chaffael tlawd dan ei grafanc.

10. Tri pheth eraill a wnant gybydd yn llawen; goganu hael, colledu tlawd, a thwyllo cyfiawn.

11. Tri pheth a wnant gybydd yn drist: mynych weled ceisiaid, colli gwaith, a rhyfel pendefigion.

12. Tri pheth a wnant gybydd yn glaf: cardoteion aml, newid ar y marchnadoedd, a dyddanwch cyrddau.

13. Tri pheth a wnant gybydd yn iach: aruthr o waith gan ei wasanaethyddion, ei wala yn ddigost, a drudaniaeth yn y marchnadoedd.

14. Tri pheth anwyl gan gybydd: caffaeliad yn lledrad, ei wraig yn tynu o flaen yr ychain, a'i blant yn marw.

15. Tri pheth nid cywilydd gan gybydd eu gweled: llau ar ei ddillad, gwan yn ei regu, a doeth yn ymswyn rhagddo.

16. Tri pheth ni hawdd geffir, gan gybydd; bwyd yn rhad, gair da i gymydogion, a chynghor er daioni.

17. Tri pheth a ddeuant ar gybydd pan y bo'n rhy hwyr; deall, cydwybod, ac edifeirwch.

18. Tri pheth ni ymadawant fyth a'r cybydd: y cythraul, canys hwnw yw pechod; melldith y tlawd, hyny yw, eisiau tragywyddol; a chôf cydwybod yn y byd a ddaw.

19. Tri pheth a wnant i gybydd ynfydu: moliannu hael, goganu trachwant, a gofyn rhoddion ganddo.

20. Tri pheth y mae y cybydd yn eu hennill: melldith y tlodion, drygair y byd, a digofaint Duw.

*New York.* *Cyf. gan* E. G.

## TAERNI Y WRAIG A DINYSTR Y GWR.

### HANESYN LLYMDOST.

MR. William D——, ydoedd ŵr ieuanc o gymeriad gobeithiol. Gan fod ei rieni mewn amgylchiadau da, derbyniodd ddysgeidiaeth foneddigaidd; a galwyd ef o'r ysgol, pan yn ddeunaw oed, i gynnorthwyo ei dad fel ysgrifenydd yn ei alwedigaeth. Dwy flynedd a hanner wedi hyn, derbyniodd ddyrnod drom trwy farwolaeth ei dad, yr hwn oedd wedi ymroddi i yfed i ormodedd, ac a gafwyd yn farw yn ei wely un boreu, wedi bod yn meddwi y noson flaenorol: ac fel hyn a gyfarfyddodd â beddrod y meddwyn! Gan mai William ydoedd yr unig fab, dilynodd alwedigaeth ei dad, ac a'i cariodd yn mlaen gyda threfnusrwydd a dyfalwch: blodeuodd a chynnyddodd yr alwedigaeth. Gan ei fod yn grefyddol a haelionus, ac yn oruchwyliwr mewn Ysgol Sabbothol, adeiladodd ysgol ar ei draul ei hun. Priododd foneddiges ieuanc grefyddol, yr hon hefyd ydoedd athrawes mewn Ysgol Sabbothol. O herwydd fod genyf neges i'w chyflawni yn y dref y trigianai, cyrhaeddais yno un diwrnod yn bur foreu; ac fel yr oeddwn yn myned i fyny at ei drigfa, cyfarfyddais ef a'i gydmares lân yn rhoddi tro ar ben boreu. Tarawodd yn fy meddwl, os oedd ar wyneb y ddaear ddau a golwg da o'u blaenau, mai hwynt-hwy oeddent; am ei fod ef yn grefyddol, yn foesol, ac yn synwyrol ddoeth; ac nid oedd ei gydmares yn ol iddo yn y rhinweddau hyn. Arosais yno gyda hwynt cyhyd ag y gallwn yn gyfleus, a gadewais hwynt gyda'r argraff, nas gwelais ddau erioed yn mwynhau mwy o hapusrwydd.

Och! yr oedd y darlun prydferth hwn i gael ei frychu, a rhaid iddo gael ei ddangos yn awr yn ei holl anffurfiadau.

Yn mhen ychydig ar ol eu gadael, aethym i Spaen, lle yr arosais am wyth mlynedd. Ar fy nychweliad i Loegr, gwnaethum fy ffordd at y man lle y trigianasent, a chyrhaeddais dref o fewn saith milltir ar hugain oddiwrtho un nos Sadwrn. Gan fy mod wedi gwneyd arferiad o beidio teithio ar y Sabboth, rhoddais i fyny yn y *Temperance Hotel*. Yr oedd y boreu Sabboth yn un glasoer a rhewllyd, a'r bobl wedi eu gorchuddio yn glydion yn eu gwisgoedd gauaf. Fel yr oeddwn yn myned i dŷ Dduw, sefydlodd fy meddyliau ar

fy nghyfaill, gwelais ef mewn dychymyg yn yr Ysgol Sabbothol gyda rhifedi o wŷr a merched ieuainc, y rhai a ddygwyd i fyny ganddo yn ofn yr Arglwydd, a pha rai oeddent yn awr yn gynnorthwywyr iddo fel athrawon ac athrawesau. Tynwyd fy sylw yn ddysymwth at druanes gyda dau o blant, yn eistedd ar risiau ceryg ystordy, yn crynu gan oerfel, ac yn erfyn elusen y rhai a ddygwyddent fyned heibio: yr oedd y ddau blentyn yn llefain am fara, a phan ddynesais ati, gofynodd i minau am ryw ychydig i gael bara i'r plant, am na chawsant ddim i'w fwyta er's yn agos i bedair awr ar hugain. Yr oedd yn y fath sefyllfa resynus, fel nad allwn siarad gair; ond sefais yn edrych yn ddivsgog yn ei gwyneb. Torodd ei dagrau allan, a syrthiodd i lewyg: ceisiais gynnorthwy yn ddiatreg, cludais hi a'i phlant i dŷ cyfagos, a cheisiais feddyg i weini iddi. Can gynted ag yr adferodd, gorchuddiodd ei gwyneb yn ei dwylaw, ac a wylodd. Nesəais ati, a dywedais wrthi am beidio anesmwytho ei hunan, ond dywedyd i mi pa fodd y daethai yn fath wrthddrych truenus. Dywedodd y byddai yn anniolchgarwch ynddi wrthod fy nymuniad, wedi i mi ymddwyn tuag ati mor garuaidd. Gofynodd i mi a oedd genyf ddim adgof o honi? Atebais, hyd eitha'm côf, nad oeddwn erioed wedi ei gweled o'r blaen; a gofynais ei henw. Barn fy syndod, ddarllenydd, pan ddywedodd mai ei henw ydoedd Mrs. D——, gwraig fy nghyfaill goludog a haelionus blaenorol. Adroddodd, am bedair blynedd wedi eu priodi, fel y gwelais hwy, eu bod wedi byw mewn heddwch a dedwyddwch. "Yr oedd gan fy ngŵr," meddai, "bob amser, wrthwynebiad cryf i ddiodydd meddwol, ac aml y gwawdiwn ef yn nghylch hyn; a dywedwn wrtho mai rhyw dyb wirionllyd oedd ganddo yn ei ben, ac y gwna'i ychydig win ei sirioli a'i addasu at ei fasnach; ond bob amser gwrthodai gymeryd dim. Un diwrnod, beth bynag, pan oedd allan o'r dref ar ryw orchwyl, gwlawiodd ar y pryd yn drwm; daeth yntau adref yn wlyb drwyddo. Drachefn gwawdiais ef, a dywedais wrtho na chymerwn ddim swper gydag ef, oni chymerai ychydig win! Ond och! mi lwyddais. Yfodd nes yr oedd yn hollol feddw, ac ymffrostiais fy mod wedi buddugoliaethu ar ei dybiau gwirionllyd, fel y gelwn hwy. Ond pan neillduais i gysgu, myfyriais fy mod wedi gwneyd gŵr a thad caruaidd yn feddw, heb un machlud nad elai yn feddwyn

parhaol; a chrynai fy meddwl wrth yr olwg o'm blaen. Edrychai pobpeth dyfodol yn dywyll, ac yn awr am y tro cyntaf yn fy holl fywyd y teimlais y cyfrifoldeb ofnadwy a dynais am fy mhen. Nis gallaf draethu fy holl deimladau, am ysbaid o bum' mlynedd y trodd fy ngŵr allan yn feddwyn, fel ag yr ofnais y noson hono; esgeuluswyd ei alwedigaeth, ac fe'i gwaharddwyd rhag dysgu yn yr ysgol hono a adeiladodd ef ei hunan. Ni pharchwyd ei gymeriad mwyach, a gochelwyd ef gan y personau hyny, y rhai o'r blaen a geisiont ei gymdeithas. Pan welodd ei hunan fel hyn yn alltud, rhoddodd ei hunan i fyny yn hollol i yfed; am ysbaid saith wythnos bu yn feddw o ddydd i ddydd. Un noswaith ar ol ei roddi yn ei wely, aeth yn orphwyllog; ac efe, yr hwn, hyd yn hyn ni ddywedodd un gair croes wrthyf, yn awr a'm rhegodd, ac a'm galwodd yn ellyll o uffern, yn gwae di, mai myfi oedd wedi bod yn ddinystr iddo hyd dragywyddoldeb! Och! Och! Yfais gwpan chwerwdod hyd ei gwaelodion. Gyrasom yn ddioed am ein meddyg, yr hwn a'n hysbysodd fod ei ddiwedd yn agosau yn gyflym; ac yn mhen dwy awr ar ol hyn, bu farw mewn cyflwr o orphwylldra. O'r dechreu hyd y diwedd, yr oedd yr olygfa tu twnt i bob darluniad. Myfi a ddinystriais ŵr tyner. Myfi a wnaeth iddo yfed y gwydriad cyntaf; y gwydriad cyntaf a achosodd iddo sychedu am ychwaneg: myfi hefyd a'i gwnaeth ef yn feddwyn."

Hi dorodd allan mewn ffrwd o ddagrau; ac yr oedd y cyffroad meddwl mor fawr, nes y tywelltais inau ddagrau gyda hi. Mi a'i cysurais gystal ag y gallwn; ac ar ol ychydig seibiant aeth yn mlaen. "Yn amser marwolaeth fy ngŵr, gwerthwyd yr eiddof i gyfarfod a gofynion ein gofynwyr, pa rai oeddent mor fawr, fel y gwerthwyd y dodrefn a phobpeth o unrhyw werth o fewn y tŷ cyn eu boddlonwyd hwynt. Dylanwadodd hyn gymaint arnaf, fel y gwnaethum fy meddwl i fyny i gardota bara o ddrws i ddrws mewn ardal ddyeithr lle ni'm hadwaenid, am nad allaswn feddwl am fyw yn y dref lle y cyflawnais y fath weithred ddychrynllyd; meddyliwn fod pawb yn cyfeirio eu bysedd ataf, a adwaenent fy amgylchiadau; ac yn ddiatreg, ar foreu teg yr haf, gadewais y dref; ac yr wyf wedi bod yn crwydro oddiamgylch hyd yn hyn. Daethym i'r dref hon ddydd Gwener; a myfi a'r plant fuom heb un math o luniaeth o

foreu ddydd Sadwrn hyd yr amser y gwelsoch ac y cynnorthwyasoch chwi ni mor garedig.

Ddarllenydd, mae fy adroddiad o drueni a gofid wedi ei orphen. Gallaswn helaethu ac esbonio arno; ond nid oes eisiau esboniad—mae y ffeithiau yn ddigonol i gymhell unrhyw berson rhesymol i ddyfod yn llwyr-ymattaliwr. Hawdd y gelli feddwl na ddeui byth yn feddwyn; ond pwy ar y ddaear fuasai yn tybied y buasai gwrthddrych yr hanes hwn yn caffael beddrod meddwyn? O! chwi fenywod, cymerwch rybudd—mae eich dylanwad yn anwrthwynebol, naill ai am ddaioni, neu ddrygioni. O! bydded am ddaioni! Gochelwch bob math o ddiodydd meddwol, ac nac ofnwch wneuthur eich egwyddorion yn hysbys. Os mynwch wŷr sobr a da, gosodwch iddynt esiampl teilwng o efelychiad. A chwithau sydd genych wŷr diodgar, ymresymwch â hwynt, ac amcanwch eu dwyn drosodd i ochr llwyr-ymattaliad. Ond daliwch mewn golwg—cyn y gellwch, gyda chysondeb, annog eich gwŷr, rhaid i chwi eich hunain lawnodi yr ymrwymiad—"*Teetotal Times*."

## Y TAFARNWR.

PAN aeth y Parchedig Mr.——, i'r wlad i weinidogaethu, torfeydd mawrion o bobl a ymgasglasant i wrandaw o'r trefydd cymydogaethol; yn un o'r rhai hyn yr oedd yn byw hen dafarnwr, yr hwn oedd yn arfer a bod yn lled rydd gyda ei ddiod gadarn, fel yr oedd yr arwyddion i'w gweled yn amlwg yn ei wynebryd. Clywodd yntau son am y torfeydd oedd yn cyrchu i wrandaw ar y gweinidog newydd, ond bob amser byddai yn tyngu yn ofnadwy na cheid mo hono ef byth yn mhlith yr ynfydion oedd yn rhedeg i droi yn *Fethodistiaid*: ond wrth glywed son am y canu hyfryd a phleserus a arferid yn yr addoliad (yr hyn oedd testyn siarad y cyffredin), ennynodd hyny chwant arno yntau i fyned i glywed y rhan hono o'r addoliad, ond gyda llw arswydus na wrandawai byth un gair o'r bregeth.

Un Sabboth, ar ol ciniaw, yn lle eistedd i yfed gyda'i gymdeithion, daeth i'r addoliad prydnawnol: yr oedd yr hin yn boeth iawn, daeth i mewn, yn llawn chwys o herwydd ei fod yn dew o gorffolaeth, a thrwy anhawsdra cafodd fyned i *seat* lled gul; pan ddarfu y gynnulleidfa ganu Emyn

o flaen y bregeth, yr hyn a wrandawodd gydag astudrwydd mawr, fe wyrodd yn mlaen gan ddodi ei benlinoedd ar yr eisteddle gan fwriadu cau ei glustiau â'i fysedd. Ni bu nemawr o fynydau yn yr ystum hon cyn darfod gweddio, ac i'r bregeth ddechreu. Darllenai y gweinidog ei destyn, "Yr hwn sydd ganddo glustiau i wrandaw gwrandawed." Y foment hono, gwybedyn a ddisgynodd ar drwyn yr hen dafarnwr gan ei bigo yn annyoddefol. Gyda brys mawr fe dynai ei fys o'i glust, i ymlid yr ymwelydd colynog ymaith, aeth y testyn fel saeth lem trwy ei glust i'w galon, yr oedd y geiriau yn adsain fel taran ddychrynllyd ar ei feddwl. O'r fynyd hono cyfnewidiad amlwg a weithiwyd ynddo; ni ddychwelodd at ei hen arferion pechadurus. Ni welwyd ef mwy yn feddw, ni chlywyd ef yn tyngu; dechreuodd weddio, gwrandawai air y bywyd, cerddai trwy bob tywydd chwe' milldir o ffordd i'r lle y derbyniodd wybodaeth gyntaf am Brynwr, ac Iachawdwriaeth yn ei enw Ef. Wedi proffesu oddeutu deunaw mlynedd, bu farw mewn gobaith bywyd tragywyddol, gan fendithio yr hwn a ddanfonodd ei was i'w droi o'i ffyrdd pechadurus.—*O'r Geiniogwerth.*

---

## YMLIWIAD HYNOD.

ADRODDWYD yr hanes canlynol wrth y diweddar Barch. John Howe gan yr enwog Dr. Thomas Goodwin. Pan yn ŵr ieuanc yn astudio yn Nghaergrawnt, wedi clywed llawer o gamoliaeth i Mr. Rogers o Dedham, efe a aeth yn bwrpasol o Gaergrawnt i wrando arno yn pregethu ar y dydd y byddai yn arfer darlithio. Yr oedd y darlithoedd y pryd hyny mor hynod o boblogaidd, fel nad oedd yn bosibl cael lle yn yr eglwys, er cymaint ydoedd, heb fyned yno yn bur gynar. Testyn darlith Mr. Rogers oedd *Yr Ysgrythyrau;* ac yn ei bregeth efe a ddechreuodd ymliwio a'r bobl oblegid eu hesgeulusdra o'r Beibl. Gan bersonoli Duw efe a ddywedai wrth y bobl—"Wel, tyr wyf wedi ymddiried i chwi cyhyd am fy Meibl; ac yr ydych wedi ei ddibrisio, y mae yn gorwedd yn y tai a'r tai wedi ei orchuddio â llwch a gwe'r pryf copyn; nid ydych yn gofalu am edrych i mewn iddo. Ai felly yr ymddygwch at fy Meibl? Wel, ni chewch

fy Meibl i ddim yn rhagor." A chymerai y Beibl i fyny oddiar glustog y pulpud, a chymerai arno fyned ymaith gan ei ddwyn oddiarnynt; ond yn ebrwydd efe a droes drachefn. a chan bersonoli y bobl wrth Dduw, efe a syrthiai ar ei liniau, gan lefain a dadleu gyda'r taerineb mwyaf, "Arglwydd, beth bynag a wneloch i ni, na chymer dy Feibl oddiarnom; lladd ein plant, llosga ein tai, dyfetha ein meddianau, yn unig arbed i ni dy Feibl, yn unig na chymer dy Feibl ymaith." Ac yna personolai Dduw wrth y bobl drachefn, "A ddywedwch chwi felly? Wel, mi a'ch profaf am ychydig eto, a dyma fy Meibl i chwi; edrychaf pa fodd y defnyddiwch ef, pa un a wnewch chwi ei garu yn fwy, pa un a werthfawrogwch chwi ef yn fwy, pa un a sylwch chwi yn fwy arno, pa un a ymarferwch chwi ef yn fwy, a byw yn fwy yn ei ol." A thrwy y dull yma o lefaru efe a ddug yr holl gynulleidfa i'r agwedd ryfeddaf a welodd y Doctor erioed; yr oedd y lle drwyddo fel Bochim, y bobl yn foddfa o ddagrau; a phan aeth ef ei hunan allan o'r eglwys, ac ar ddychwelyd yn ei ol, bu raid iddo ymhongian ar wddf ei geffyl, ac wylo am chwarter awr, cyn iddo gael nerth i ddringo ar ei gefn; mor ddwfn oedd yr argraff a wnaed ar ei feddwl ef, ac ar y bobl yn gyffredinol, wrth i was yr Arglwydd ymliwio a hwy fel hyn am ei hesgeulusdra o'r Beibl.—*Drysorfa.*

---

## MANYLEDD Y GREADIGAETH.

MAE un awdwr celfydd yn ddiweddar, wedi casglu yn nghyd y cyfrifon cywrain canlynol mewn perthynas i fân ranau y greadigaeth;—Y mae rhai pryfedach (*animalculæ*) mor fân, fel y gall amryw filoedd o honynt gael eu cynnwys mewn can lleied lle ag y gellir dodi blaen nodwydd. Y mae Larwenhork yn dywedyd, fod mwy o greaduriaid yn ngrawn (*spawn*) un o'r pysgod a elwir *Codfish*, nag sydd o ddynion ar wyneb yr holl ddaear, a bod un tywodyn yn fwy na phedair mil o'r creaduriaid hyn. A dywedir drachefn, fod un rhenyn (*particle*) o waed y creaduriaid hyn gymaint yn llai na defnyn o ddegfed rhan modfedd o drawsfesur, ac ydyw y defnyn hwnw yn llai na'r ddaear yr ydym yn byw arni. Mae efe yn dywedyd yn mhellach, fod tywodyn can-

fed ran modfedd o led, yn ddigon mawr i orchuddio 125,000 o'r tyllau chwys (*pores*) sydd yn nghroen dyn; a bod rhai pryfedach yn llai dair mil o weithiau na thywodyn. Mae gwallt dynol yn amrywio o 250fed hyd 6,000fed ran o fodfedd o braffder. Y mae blewyn o'r gwlan brasaf yn nghylch 500fed ran o fodfedd o braffder; ond y meinaf ddim dros 1,500fed ran. Yr edau a nyddir gan y pryf sidan sydd yn nghylch 5,000fed ran o fodfedd o braffder; ond y mae edau y pryf copyn yn feinach chwech o weithiau; ac yn wir, mor fain, fel y byddai un pwys o'r cyfryw edau yn ddigon o hyd i gyrhaedd o amgylch y ddaear. Eilwaith, wrth son am aroglau, y mae yr un awdwr yn sylwi, ddarfod caffael profion y gwna un gronyn o'r perarogl a elwir Mŵsg, arogli ystafell am ugain mlynedd; a gadewir i'r darllenydd ystyried pa sawl gwaith y cyfnewidir awyr y gyfryw ystafell yn hyny o amser! Yn ol y cyfrif brasaf a ellir wneuthur, yr oedd raid i'r gronyn mŵsg gael ei ddosbarthu yn 320 miliwn o filiynau, o filiynau o filiynau (*quadrillions*) o gyfranau, a phob un o'r cyfranau hyny yn ddigon grymus i effeithio ar beiriannau arogliadol dyn. Drachefn, gellir ffurfio rhyw feddyl-dyb am wasgariad aroglau, pan ystyrir ddarfod i brofion gael eu gwneuthur na wna telpyn o *assafœtida* a adawer mewn awyr agored leihau dim ond un gronyn mewn saith wythnos. Yn mhellach eto, megys y mae yn hysbys fod cwn yn ymlid ysgyfarnogod, &c., wrth eu trywydd, y mae yn eglur fod traed y creaduriaid hyny yn gadael o'u hol ryw gymaint o arogl yn mhob man y cyffyrddant â'r llawr; a rhyfedd mor fân y rhaid bod dosbarthiad yr arogl hwnw, pan ystyriom gymaint o dir y mae rhai o'r cyfryw greaduriaid yn rhedeg drosto cyn eu goddiweddid. Pe tybid nad oes dim ond mil o dyllau chwys yn mhob modfedd ysgwar o groen dyn, a bod croen dyn o faintioli cyffredin, yn mesur 16 troedfedd ysgwar, yna fe fydd yn ei holl groen ddim llai na 2,304,000 o dyllau chwys; ac y mae'r tyllau hyn fel geneuau i gynnifer o lestri arlloesawl (*excretory*), y rhai sydd yn cyflawni swyddau arbenig yn nghyfundraeth anifeilaidd dyn, sef yn gysylltiedig â'r peirianwaith dirgelaidd hwnw sydd yn cael ei ddwyn yn mlaen yn ddiarwybod i ni; sef bwriad allan y chwys, neu y tarth o'r corff, ac attaliad pa un sydd yn achos o gynnifer o'r anhwylderau sydd yn blino dynolryw.

## DAMMEG YR ESGYRN SYCHION.

ALLEIRIAD.

Y BYD sy' megys dyffryn llawn
O esgyrn sychion, sychion iawn:
Yn aml ar wyneb noeth y tir,
Yn un gelanedd farw'n wir.

Gwêl arnynt olwg drist a syn!
Gwêl, a fydd byw yr esgyrn hyn?
Tydi a wyddost, f' Arglwydd Dduw,
A fyddant ai ni byddant byw.

Hyn ydyw ei orchymyn Ef,
Prophwydo a chyfodi llef;
O esgyrn sychion, meirwon, mud,
Clywch air yr Arglwydd, clywch i gyd!

Efe rydd anadl yn eich ffroeu,
A'ch gwisg â giau, cnawd a chroen;
Hyn oll a wna fel byddoch byw,
I wybod mai Efe sy' Dduw

Ond er i sŵn a chynhwrf fod
Ac asgwrn at ei asgwrn dd'od;
Cael cig a chroen, nid digon yw;
Heb anadl byth ni byddant byw.

Wel, hyn yw'r gamp yn awr fel gynt,
Prophwydo'n ddyfal tua'r gwnyt;
O anadl, tyred i fywhau
Y lladdedigion hyn yn glau!

Yr anadl a rydd wrês, a rydd
Ysgogiad, teimlad byw, lle bydd;
Gwna dorf fu'n gorwedd yn eu gwaed,
I brydferth sefyll ar eu traed.

Hyn ydyw cyflwr dynolryw;
Drych o'u sefyllfa aethus yw;
Heb obaith ganddynt cymain'un;
Colledig byth o'u rhan ei hun.

Daeth Duw i'w codi, fel o'r bedd,
I fywyd, rhyddid, gras, a hedd;
Anadla 'i Ys bryd ynddynt hwy,
Fel byddont byw, i'w foli mwy.

# GWERSI Y TEULU.

## Y BACHGEN DRWG.

Y MAE yr un mor bwysig dyweyd am gymeriadau drwg ag ydyw am gymeriadau da. Dyledswydd rhieni yw hysbysu am rai o'r fath i'w plant, er mwyn iddynt eu gochelyd ; . oblegid gofid i rieni yn ol llaw fydd cofio yr esgeulusdod fu ynddynt gyda golwg ar eu plant. Yr wyf yn cofio i mi ddarllen yn ddiweddar am fachgen drwg. Cafodd ddigon o gyfleusderau i fod yn un da; ond drwg ac annuwiol fu efe. Dyn annuwiol oedd ei dad tebygol, ychydig o'i hanes sydd genym, bu farw pan oedd ei fab yn ieuanc. Y mae tad ambell i fachgen drwg fel bachgen da yn marw. Daeth y dyn ieuanc hwn yn un lled gywrain, yr oedd yn weithiwr da, ac yn arolygwr medrus ar weithwyr. Efe mae yn debyg oedd yn cynnal ei fam, a thebyg fod hono yn rhoddi llawer cynghor drwg yn ei ben. Cafodd y bachgen fyned yn was i wr boneddig, a hwnw yn un doeth iawn. Yn mhen amser meddyliodd y bachgen am gyrhaedd eiddo y boneddwr, gan godi yn ei erbyn a'i ladd. Mynegwyd i'r dyn doeth amcan y gwas; oblegid hyn gorfu arno ffoi, a bu ar ffo hyd farwolaeth y gwr mawr. Yr oedd yr Arglwydd wedi dyweyd wrth y bachgen, os buasai efe yn un da, y cawsai le y boneddwr ar ol iddo farw. Pechod y gwr ieuanc oedd, meddwl myned a bywyd ei feistr yn gynt na phryd. Gan fod yr Arglwydd yn meddwl ei ddercbafu, yr oedd rhwymau arno i fawrhau y Goruchaf. Yn lled fuan wedi marw ei hen feistr, gwnaed ef yn ben gwlad o bobl, a defnyddiodd bob dyfais a fedrai yn erbyn yr Arglwydd, gan ddwyn yr holl bobl oedd dan ei awdurdod yn groes i ddeddfau y nef. Yr wyf bron yn credu fod ei fam yn ei annog yn y pethau hyn; oblegid un rhyfedd yw dylanwad mam, anaml i fab a dry allan yn ddrwg os arfera y fam bob dylanwad o'i heiddo i'r gwrth-

wyneb. Perswadia hyn fi i feddwl fod mam y bachgen drwg hwn yn un ddrwg fel yntau. Ar ol iddo gael pob llywodraeth i'w law, aeth i ddychymygu pa fath dduwiau oedd oreu i'w haddoli yn lle Arglwydd y lluoedd. Cariodd hyn i weithrediad, a throdd galonau pawb yn wyr a gwragedd i'r un ffordd ag ef ei hun. Yr oedd dynion da yn yr ardaloedd hyny; ond dysgodd yr un annuwiol hwn hwynt i bechu yn erbyn Duw. Cafodd ei rybuddio gan lawer, ond nid oedd na rhybudd na cherydd yn cael un sylw. Bu fyw trwy ei oes yn ddrygionus, a bu farw yn yr un cymeriad. Y mae ei enw wedi myned mor adnabyddus, fel nad yw neb yn caru ei glywed; ac y mae yn cario enw ei dad gydag un ei hunan, yr hyn a ddengys fod ei dad wedi ei roddi ar ben ffordd annuwioldeb.

Dadau a mamau, na fyddwch awdwyr annuwioldeb eich plant, gwnewch bob ymdrech i'w hanog i geisio duwioldeb, fel na byddo eich henwau yn gysylltedig â hwynt yn eu drygioni. Cofiwch am y bachgen drwg, mab i weddw o'r enw Serfah, ei enw ef yw Jeroboam, mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.

TACITUS.

---

## DEUWCH AT IESU.

FE ddichon fod rhai o ddarllenwyr ieuainc yr "ARWEINYDD" heb ufuddhau i'r gwahoddiad anwyl hwn.

Gwrando, fy anwyl gyd bechadur, ar wahoddiad a chymhelliad mor anwyl a hwn. Mae yr Arglwydd yn llefaru, ac yn llefaru wrthyt ti. Mae y Tad, yn dyweyd "deuwch," y Mab yn dyweyd "deuwch," yr Ysbryd Sanctaidd yn dyweyd "deuwch." Ddarllenydd ieuanc, cymer dy breswadio i roi blynyddoedd dy ieuenctyd i'r Arglwydd. Mae addewid neillduol i ti, "Y sawl am ceisiant yn foreu, a'm cânt." Dichon dy fod ti yn meddwl fel hyn, yr wyf fi yn rhy ieu-

angc i fod yn grefyddol eto: bydded i mi fwynhau y byd am dipyn, y mae genyf ddigon o amser o'm blaen. Rhy ieuanc i fod yn crefyddol! Ond nid wyt yn rhy ieuanc i bechu, nac yn rhy ieuanc i gael dy daflu i uffern: efallai na fyddi byw i gyraedd canol oed. Mae lluaws wedi meirw mor ieuanc a thithau. Pe bait yn myned i'r gladdfa, ti gait weled fod yno nifer mawr o ieuenctyd yn gorwedd yn dawel. Yr wyt yn meddwl y gwnaiff crefydd di yn ddigalon ac yn anghysurus. Yr wyt yn cyfeiliorni yn fawr; crefydd yn unig a all dy wneyd yn hapus.

Mae llawer o ieuenctyd wedi ei threio, pa rai a ddywedant wrthyt fod pleserau duwioldeb yn tra rhagori ar hyfrydwch a digrifwch pechod ac oferedd, a chai weled fod hyn yn wirionedd os deui at yr Iesu. A ydyw yn debygol y gwnaiff ef adael i'w ganlynwyr fod yn llai eu hapusrwydd a'u dedwyddwch na gwasanaethwyr y byd? Nac ydyw yn ddiamheu. Y mae yn gorchymyn i ni ar unwaith gredu ac ufuddhau iddo. Pob diwrnod ydwyt yn adael i fyned heibio heb gredu, "yr ydwyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd digofaint." Yr wyt yn dyweyd y gwnai gredu pan yn hen, ond cofia mae arnom eisiau Ysbryd yr Arglwydd i'n cynnorthwyo i gredu. Ac os wyt yn dyweyd, "Tra fyddaf ieuanc mi a wasanaethaf y diafol, a phan yn agos i farw, mi a droaf at yr Arglwydd," a wyt yn meddwl y rhydd yr Arglwydd ei Ysbryd Sanctaidd i ti o gwbl? Onid yw hyn yn diffoddi yr Ysbryd? Oni elli di fyned yn ddiofal ac yn annhueddol, ac yn anewyllysgar i gredu? Os na ddeui at yr Iesu pan yn ieuanc, nid oes lle i obeithio yn gryf y deui o gwbl. Tra byddi di yn aros, mae y diafol yn gweithio. Y mae ef yn brysur wrth y gwaith o rwymo cylymau, a thithau ydwyt ei garcharor, ac y mae yn gwneyd y rhaffau pa rai sydd yn dy rwymo yn sicrach, sicrach; pa bryd bynag y gwnai bechu, mae yn rhoddi cwlwm yn chwaneg; ac os na ddiengi yn awr, pa fodd y gelli di ddysgwyl dyfod yn rhydd

pan fyddi wanach, a'th garcharau yn gryfach? Gan hyny, "Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd."

UN O DDARLLENWYR IEUAINC YR "ARWEINYDD."

---

## Y PWYSIGRWYDD O BEIDIO ESGEULUSO EIN CYD-GYNNULLIAD.

[*Parhad o du dal.* 284.]

II. CYMERIAD y rhai sydd yn esgeuluso, pa fath grefyddwyr ydynt. Yn

1. Rhai bwhwmanllyd, plentynaidd iawn ydynt. Weithiau bydd pob peth yn ddifyr iawn ganddynt. Y pregethwr, yr ysgol, y brodyr oll, fel y baban a'i degan yn ei gofleidio dros dipyn, ond yn fuan yn blino arno, yn ei daflu efallai i'r tân neu i'r lludw. Felly hwythau, fel tòn y môr, heddyw bydd pob peth yn hyfryd ganddynt, ond yfory bydd y peth oedd hyfryd o'r blaen fel tegan y baban yn y tân neu yn y lludw.

2. Rhai esgeulus yn mhob man ydynt—gyda y weddi deuluaidd, a'r weddi ddirgel. Felly nid rhyfedd eu bod mor dyner eu harchwaeth ar y Sabboth, yn methu archwaethu dim o ymborth y tŷ.

3. Edrychwyr a barnwyr ydynt, yn gadael eu cartref eu hunain a myned i lygadrythu ar breswylfeydd eraill. A phan fyddo eraill yn eu gweled yn dod i'w cynnulleidfaoedd meddyliant yn union, Dyma y barnwyr wedi dod, y llwynogod i ddifa ein hegin grawn, gwyliwch rhagddynt, &c.

4. Rhai diofal a difater ydynt. Rhai diog (a dyweyd y gwir) yn gadael maes gweithio i eraill. Efallai y bydd y gweinidog oddi cartref, yna ni welir hwy yno i ddwyn rhan o'r baich, ond arosant gartref y Sabboth hwnw i hepian ar eu gwelyau, ac wedi blino yno ant i dŷ cymydog i siarad am bob peth ond am bethau yr enaid; ond yn gymaint ag nad

oes nemawr o sylw yn cael ei wneyd o hyn, ceir eu gweled wrth Fwrdd Cymundeb fel o'r blaen heb ddim galar am y bai. O! frodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly. Cofiwn fod pob cyfryw bechod yn pwyso yn drwm yn nghlorianau Duw, a bod dydd y cyfrif yn dyfod.

5. Rhai yn llawn o esgusodion ydynt. Byddant wedi blino, yn glaf, er yn iach ddydd Sadwrn a dydd Llun; bydd peswch drwg y plant a'r eu ffordd, er y gallant fyned i rodio a'r plant gyda hwy, &c., &c. Y gwir yw, crefyddwyr claiar, hannerog ydynt, canlynwyr o hirbell, ac achos i ofni y try eu crefydd yn siomedigaeth tuag awr marw ac yn y farn a ddaw. O! frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr, fel y trefner i chwi fynediad helaeth i mewn i dragywyddol deyrnas yr Arglwydd Iesu Grist.

III. Anogaethau i fod yn ffyddlon gyda ein cyd-gynulliad. Bydd ffyddlon. Yn

1. Er cysur i'r teulu oll dy fod yn eu caru, &c., bydd iddynt hwythau dy garu dithau, felly byddwch wedi eich seilio mewn cariad, yn un yn cynnyddu mewn gras a gwybodaeth yr Arglwydd Iesu Grist, fel nas gall pyrth uffern ddim eich gorchfygu.

2. Bydd mwy o le i ddysgwyl bendith a llwyddiant. Wrth fod o un ysbryd ac un enaid, oll yn gytun yn yr un lle, y cawsant yr Ysbryd Glan ar ddydd y Pentecost.

3. Bydd yn gysur i chwi yn angeu i allu dyweyd, Mi a ymdrechais ymdrech teg.

4. Bydd y teulu yn y nef. Canodd y prydydd yn felys,

"Mae pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes;
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes."

*Symes' Creek.* *Cyfl. gan* J. W. Hughes.

## DADL Y TRI PHREGETHWR.

### DYDD, NOS A BEIBL.

SALM xix. "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth." Ond, "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid."

NOS. A fyddi di, y *Dydd*, yn arfer pregethu?

DYDD. Byddaf, "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd." A fedri di bregethu, y *Nos?*

*Nos.* Medraf, "Nos i nos a ddengys wybodaeth." Beth yw dy destyn di?

*Dydd.* "Datgan gogoniant Duw" y byddaf fi.

*Nos.* Syndod! yr un peth yw fy nhestyn inau.

*Dydd.* Myfi yw y pregethwr egluraf, a goreu.

*Nos.* Ni wn i ddim. Clywais am y *gwrandawyr* yn ymddadleu yn nghylch y pregethwr goreu. Gwell genyf fi Paul, medd hwn. Gwell genyf finau Apolos, medd y llall. Cephas yw fy mhregethwr i, medd y trydydd. O na, Crist yw y goreu, medd y pedwerydd. Y *cyntaf* yw fy mhregethwr i, wedi yr holl ddysgwyliad am yr olaf, medd y gonest. O na, yr olaf yw y llefarwr goreu, medd yr hunanol difarn. Prisia un y pregethwr wrth ei *lais.* Barna y llall ef wrth ei *sychder.* Y mae y sych yn sicr o fod yn *gall.* Pwysa y llall y pregethwr wrth ei *dywyllwch.* Y mae y tywyll yn rhwym o fod yn *ddwfn* a *mawr.* Mesura y llall y pregethwr wrth ei *eglurder.* Ond barna y lluaws y pregethwr wrth yr hyn a glywant gan ryw un a dybiant hwy yn oracl. Y mae ymrysonau fel hyn rhwng gwrandawyr yn bethau cyffredin; ond ni chlywais erioed am bregethwyr yn ymddadleu â'u gilydd, pa un yw y goreu; a byddai yn gallach i ni beidio?

*Dydd.* Wel, myfi yw y goreu am "ddatgan gogoniant Duw." A ydwyt ti yn roddi i fyny i mi?

*Nos.* Nac wyf fi, yn wir, o ran hyny.

*Dydd.* Rhaid i ti addef mai myfi yw yr *hynaf.* Gwnaed dydd o *flaen* nos, onide edrych yn Gen. i. Myfi yw yr hynaf o greaduriaid Duw—myfi yw y cyntaf fu erioed yn datgan ei ddoethineb. Daethost tithau ar fy ol, ac yn olaf yr ydwyt hyd yr awr hon. Dywedwn dydd Sul, a nos Sul yn *canlyn,* ac felly am holl ddyddiau a nosweithiau yr wythnos.

*Nos.* Na, myfi yw yr hynaf.

*Dydd.* Dyna hi!

*Nos.* Wel, yn Gen. gosodir yr hwyr o flaen y boreu, fel hyn, "Yr *hwyr* a fu, a'r boreu a fu, y dydd cyntaf;" ac heblaw hyny, yr wyf fi yn hŷn na chreadigaeth. Y mae y gwagle a'r *tywyllwch* yn bod erioed. Yr ydwyf fi mor hyned a'r Crëwr.

*Dydd.* Ië *tywyllwch* oedd dy enw di cyn cread, ac nid *nos.*

*Nos.* Yr ydym ein dau yn ddigon hen o ran hyny. Buost ti yn "traethu ymadrodd," a minau yn "dangos gwybodaeth," yn nyddiau Bunyan, a chyn hyny; yn nyddiau Pedr, a chyn hyny; yn nyddiau Job, a chyn hyny; yn nyddiau Adda, a chyn hyny. Buom yn pregethu ein dau i'r hen Gymry, yn amser y Derwyddon; i'r Rhufeiniaid, yn amser y Cesariaid; i'r Aiphtiaid yn amser Pharaoh; i'r cynddylifiaid, yn amser Enoch; ac i "angelion Duw," cyn amser Adda.

*Dydd.* Pregethwr *teithiol* wyf fi. Y *mae* rhai o bregethwyr natur yn deithiol, ac eraill yn sefydlog. Dyna y dderwen, sefydlog yw hi, oddyeithr ei bod yn ysgwyd ei breichiau pan ddaw yr awel heibio. Dyna y mynydd, sefydlog yw yntau. Teithiol yw yr afon, a sefydlog yw y môr, oddyeithr ei fod yn cynhyrfu, yn brochi, ac yn bloeddio pan y ca hwyl. *Teithiol* wyf finau, y *Dydd.* Y mae fy ymdaith o amgylch y ddaear. Byddaf yn gwneyd fy nhro mewn *pedair awr ar hugain*, gan roddi fy nghyhoeddiad ar bob cyfandir ac ynys, mynydd a dyffryn; ïe, pregethaf ar bob craig ar y ddaear; a phob tòn yn y môr; ac yn wir, y mae yn well genyf fi weinidogaeth deithiol, na bod o hyd o hyd yn yr un fan.

*Nos.* Y mae yn ddifyr genyf wrando arnat yn ymresymu, a dy glywed yn canmol y *weinidogaeth deithiol*, canys teithiol wyf finau. Gwir na byddaf byth yn myned ochr yn ochr â thi. Nis medrem gytuno felly. Ni waeth addef, ni buom erioed yn gyfeillion; canys "pa gymundeb sydd rhwng goleuni a thywyllwch?" Ond a wyddost ti ddim, y Dydd, fy mod inau, y Nos, yn dilyn dy sodlau di? Ar ol i ti gilio o'r esgynlawr, yr wyf finau yn cymeryd dy le. Gydag i ti orphen "traethu ymadrodd" mewn gwlad, yr wyf finau yn dechreu "dangos gwybodaeth" yno; ac felly dilynwn ein gilydd o amgylch y ddaear, a gwnaf finau y cwbl mewn pedair awr ar hugain fel tithau.

*Dydd.* Ni ddarfu i mi erioed *dori fy nghyhoeddiad*, na

bod *eiliad* ar ol fy amser, er fy mod bob blwyddyn er creadigaeth y byd, yn rhoddi *tri chant, triugain a phump, a chwarter,* o droiau o amgylch y ddaear. Yr wyf yn goleuo i rai a arferant dori eu cyhoeddiadau, ac i eraill sydd yn ddiareb am fod yn rhy ddiweddar. Dylai y gynnulleidfa a'r pregethwr fod yn eu lleoedd erbyn yr amser. Y llefarwr sydd i fod yn olaf o'r ddau. Y mae yn annuwiol i'r gynnulleidfa drystio, pan fydd ef wedi dechreu; ac y mae yn anonest i'r pregethwr gadw y cannoedd i ddysgwyl wrtho yntau; ond her i holl erlidwyr daear fy nghyhuddo i o dori un cyhoeddiad, na bod un foment yn rhy ddiweddar, er ys chwe' mil o flynyddau. Gwir fy mod yn codi yn foreuach yr haf na'r gauaf. Y mae fy nghyhoeddiad am *bedwar mynyd ar hugain wedi pedwar* yr unfed ar hugain o Fehefin, ac am *un ar bymtheg ar hugain o fynydiau wedi saith* yr unfed ar hugain o Ragfyr. Ond ni ddarfu i mi erioed fethu amrantiad. Gallai y neb a fyno wystlo ei fywyd ar fy mod yn fy mhwlpud 4a. 24m. ar y dydd hwyaf. Y mae fy ngwaith yn cadw amser yn "*dadgan gogoniant Duw.*" Am hyny, nid er mwyn ymffrost yr wyf yn dywedyd y pethau hyn.

*Nos.* Gallaf wrando yn llawen ar hyn eto. Yr wyf wedi cadw fy nghyhoeddiad cystal a tithau. Daw y nos mor rheolaidd a'r dydd. Os wyt ti yn dechreu yn gynt, ac yn pregethu yn hwy, yr haf, yr wyf finau yn dechreu yn gynt, ac yn pregethu yn hwy, y gauaf. Y mae fy nghyhoeddiad i yn Rhagfyr am *bedwar mynyd ar hugain* [illegible] *war y prydnawn,* ac yn Mehefin am *un mynyd ar bymtheg ar hugain wedi saith.* Pan mae dy bregeth di yn ymestyn, y mae fy un inau yn byrhau; a phan y byddi di yn pregethu *deunaw* awr, byddaf finau yn gorphen mewn *chwech*; canys y mae yn rhaid i ni ein dau ddyfod i ben ein hoedfa yn y *pedair awr ar hugain.* Dyrysai creadigaeth pe ddarfyddem foment yn gynt, neu, pe y parhäem foment yn hwy. Gellir argraffu fy nghyhoeddiadau inau am dro blwyddyn yn mhob dyddiadur o dan haul; a gall holl drigolion daear wystlo eu bywydau, ar i mi eu cadw oll hyd y filfed ran o eiliad.

*Dydd.* A fedri di ffurfio rheswm?

*Nos.* Na fedraf fi.

*Dydd.* A fedri di gyfansoddi broddeg?

*Nos.* Na fedraf fi.

*Dydd.* A fedri di dori geiriau?

*Nos.* Na fedraf fi.

*Dydd.* A fedri di Gymraeg, neu Roeg, neu Hebraeg, neu ryw iaith?

*Nos.* Na fedraf.

*Dydd.* Syndod! yr wyt yr un math a minau yn union. Byddaf yn siarad y cwbl drwy *awgrymiadau*, ac y mae pawb yn fy neall, er na feddaf iaith. Deallir fi gan y Cymry, y Saeson, y Ffrancod, y Rhufeiniaid, y Persiaid, yr Indiaid, y Chineaid, llwythau Ynysoedd Môr y De', a phawb drwy'r byd. Dywedir y medrai Dr. Carey bregethu mewn llawer o ieithoedd, ond medraf fi anerch cynnulleidfaoedd mewn mwy. Os yw trigolion y byd yn ddeg can' miliwn, tybiwn fod pedair rhan o bump o'r rhai hyny mewn oedran i sylwi. Felly, yr wyf fi, bob dydd, yn codi fy areithle yn yr uchelderau, ac yn pregethu i wyth can' miliwn! Nid yw trigolion Cymru oll, ond un rhan o wyth cant o'm cynnulleidfa ddyddorol i! Dywed y Salmydd am danaf, "Nid oes iaith nac ymadrodd, lle ni chlybuwyd ei leferydd ef. Ei linyn a aeth drwy'r holl ddaear, a'i eiriau hyd eithafoedd y byd."

*Nos.* Y mae fy nghynnulleidfa inau yr un mor luosog; ac y mae pob un, o bob gwlad, ac iaith sydd yn dy ddeall di, yn fy neall inau; ond aros, fy nghyfaill, yr wyt yn haeddu cerydd llym. Un o droseddau anfaddeuadwy dadleuwyr yw, camddyfynu a darnguddio. Yr wyf yn dy gyhuddo di o wneyd hyn. Ni ddywedaist eiriau y Salmydd yn iawn. Y mae ef yn llefaru am danom ein *dau*, ac yn dywedyd, "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a *nos* i *nos* a ddengys wybodaeth. Nid oes iaith nac ymadrodd, lle ni chlybuwyd eu lleferydd *hwynt*." Dylit ti a phawb o'th gyffelyb wrido am hyn.

[*I'w barhau.*]

---

## TRIOEDD Y GWRAGEDD.

1. TRI pheth canmoledig ar wraig; ei hwyneb yn ddawnus, ei hymddyddan yn synwyrus, a'i harferion yn ddaionus.

2. Tri pheth a barant i wraig gael tybied yn dda am dani:

ci gŵr a'i phlant yn lân olchedig eu dillad, ei dwyfron yn lân a threfnus, a'i bod yn ymgadw gartref.

3. Tri pheth a barant i wraig gael tybied yn ddrwg am dani; bod yn chwanog i gytgam â gwŷr a gweision, yn amheuthyngar, a dyweyd yn ddrwg am ei chymydogesau.

4. Tri pheth a wnant wraig yn dda ei chymeriad: sywder yn ei gwisgoedd, gwylder yn ei hymadroddion, a rhadlondeb yn ei hymarweddiad.

5. Tri pheth a ddangosant wraig yn anniwair: ei bod yn chwerthingar heb wybod pa'm, yn falch ar ei phryd a'i gwedd, ac yn achwyngar ar ei gŵr.

6. Tri pheth hoffaidd gan ŵr ei gweled ar ei wraig; ei bod yn rhinweddus, yn cadw ei thŷ yn drefnus, ac yn ei gorchwyl yn fedrus.

7. Tri pheth a ennillant barch i ŵr o'u bod ar ei wraig: yn dda ei chynneddfau, yn anaml ei geiriau, ac yn aml ei gwybodau.

8. Tri pheth a wnant ŵr yn oludog: ei hunan yn ddiwyd, ei wraig yn llywodraethus, a'i dylwyth yn ffyddlawn iddo.

9. Tri pheth a wnant ŵr yn hoenus: ei dda byd yn mwyhau, ei wraig yn ei garu, a'i Dduw yn ei nerthu.

10. Tri pheth a wnant ŵr yn anghenus: tylwyth gwallus, gwraig foethus. ac yntau yn afradus.

11. Tri pheth gweddus i ŵr eu bod yn ei dŷ: ei glustog yn ei gadair, ei delyn yn iawn gywair, a'i wraig yn ddiwair.

12. Tri pheth anghysurus i ŵr fod hebddynt: tân yn ei aelwyd, arian yn ei bwrs, a gwraig yn ei wely.

13. Tri pheth a wnant ŵr yn foddlawn iddei ginio: ei gylla yn iachus, ei fwyd yn foethus, a'i wraig yn fedrus.

14. Tri pheth a barant i ŵr hoffi cartref: ei deulu yn ddosbarthus, ei orchwylion yn llwyddiannus, a'i wraig yn gariadus.

*New York.* *Cyfl. gan* E. G.

---

## HANES Y MOR FARCH (*WHALE*).

Y MOR-FARCH yw yr ymlusgiad mwyaf a ganfyddir yn y dyfroedd: ac y mae yn briodol iawn cyfrif y flaenoriaeth iddo ar holl greaduriaid y dyfnder mawr.

Mae y Mor-farch i'w ganfod mewn amryw fanau o'r eig-

ion, eithr tybir mai yn nyfnderoedd cyfagos i ddau begwn y ddaear y mae ei breswylfod mwyaf dewisol.

Yn y trigfanau oerion hyny yn mhlith rhew ac eira gwastadol, y mae yr anghenfil anferth hwn yn prifio i faintioli rhyfeddol, y cyfryw yn wir, ag a fyddai yn anghredadwy. Ceir ef yno weithiau yn ddeg a phedwar ugain o droedfeddi o hyd, ac yn ddeg ar hugain yn ei ganol. Dywed Mr. Adamson fod rhai o honynt eto i'w gweled yn wyth ugain o droedfeddi o hyd, mewn lleoedd nad ydys yn eu haflonyddu a'u dinystrio. Er hyny, nid yw y maintioli diweddaf hwn i'w gydmaru a'r un a gyfrifir i'r Mor-farch gan haneswyr yr hen oesoedd gynt, pryd y cymerid hwynt yn anamlach, ac yr oedd gan y pysgodyn amser i brifio i'w gyflawn faintioli.

Nid oes ganddo ddim asgell ar ei gefn. Mae y pen yn drydedd ran o'r holl bysgodyn, ac yn hanner y pwysau. Mae yr ên isaf yn lletach o lawer na'r uchaf, y tafod sydd oll yn un brasder meddal ysbyngaidd, yr hwn a rydd bump neu chwech baril o olew. Mae y cornpori o'r tu fewn yn fychan iawn i greadur mor fawr; nid yw ond pedair troedfedd o led. Yn ei ben y mae dau safndwll (*orifices*) priodol iddo ei hun, trwy y rhai y pistylla ddwfr i uchder dirfawr a chyda thrwst hynod, yn enwedig pan wedi ei glwyfo. Mae ei lygaid o ran maint yn debyg i'r eiddo eidion, ond pan y sychir hwynt i fyny, wedi ei farw ymddengys yn ddim mwy na physen. Mae ei lygaid wedi eu gosod mor bell yn ei ben fel y gallo yn gyfleus weled yn ol ac yn mlaen, ac hefyd i fyny. Y mae yn dra llygad-graff o ran ei olygiad, a'i lygaid a amddiffynir gan amrantau yn yr un modd a dynion a phedwar carnolion. Y mae ei glyw yn dda odiaeth, ac efe a ddeall o hirbell pan fyddo perygl yn agosau. Y mae y glust yn guddiedig, gan ei bod wedi ei gorchuddio a chroen teneu, ond can gynted ag y symudir hwn canfyddir brycheuyn du y tu ol i'r llygaid, a than hwnw y mae holl beirianau clyw sydd arferol i greaduriaid eraill. Asgwrn y Môr-farch, yr hwn a elwir yn *whalebone*, ag sydd mor ddefnyddiol ar amryw achosion a geir tu fewn i'w enau yn perthyn i arr yr ên uchaf, o ansawdd cyffelyb i gorn yn dra ystwyth ac yn cynnwys amryw ddalenau, neu resi teneuon, y naill ar y llall. Y mae y dalenau asgyrnaidd hyn yn rhedeg o amgylch garr yr ên yn yr un modd a dannedd. Mae eu maintioli yn amrywio yn ol eu sefyllfa yn y genau,

rhai yn fyrion, ac ereill yn 14 neu 15 troedfedd o hyd. Mae cynffon y Môr-farch yn llydan ar lun hanner lloer, a phan y bydd yn gorwedd ar ei ystlys, ei hergyd sydd rymus ac ofnadwy. Y gynffon yw yr offeryn a'r hwn y bydd yn ymsymud yn mlaen yn y dwfr, a rhyfeddol yw gyda pha egni a chyflymdra y rhuthra ei anferth gorffolaeth trwy yr eigion. Ni wneir dim defnydd (medd rhai) o'r esgyll, ond i droi yn y dwfr, ac i gyfeirio yma a thraw yn ol ei ewyllys. Y fenyw er hyny a'u harfera hwynt pan erlidir hi, i ddwyn ymaith ei chenawon, gan eu dodi ar ei chefn a'u cynal â'i hesgyll rhag iddynt syrthio.

Mae amrywiaeth yn lliw y pysgodyn hwn, cefn ambell un sydd goch, a'r bol ran fwyaf yn wyn, ereill sydd yn dduon, ac ereill yn wynion oll, a'r lleill yn frithion. Dywedir fod eu lliwiau yn y dwfr yn brydferth, a'r croen yn llwfn a llithraidd.

Nid yw croen uchaf y Môr-farch ddim tewach na memrwn, ond wedi symud hwnw dyna y gwir groen yn amlwg, yn fodfedd o dewdwr, ac yn gorchuddio y brasder (*blubber*) sydd dano. Mae hwn drachefn o wyth i ddeuddeng modfedd o dewder, a'i liw yn dlws felyn, pan fyddo y pysgodyn yn gwbl iach. Dan y brasder gorwedd y gewynau, y rhai ydynt gochion a garw, megys mewn anifeiliaid pedwar carnolion.

Yn eu carwriaeth dywedir mai y fenyw sydd yn dilyn y gwrryw, a hyny unwaith mewn dwy flynedd. Eu ffyddlondeb [illegible] at eu gilydd a'u cariad sydd ragorol iawn hyd y gellid eu cammol megys esiampl i greaduriaid rhesymol. Tarawodd pysgotwyr unwaith (medd Mr. Anderson) un o ddau fôr-feirch gwrryw a benyw, y rhai oeddent gyd-gymdeithion. Gwnaeth y pysgodyn archolledig ymdrech hir ac enbyd, a tharawodd i lawr ar un ergyd â'i gynffon fâd oedd a thri o ddynion ynddo, y rhai a suddasant oll i waelod y môr. Eto parhau a wnaeth y pysgodyn iach i lynu trwy yr holl amser wrth ei gyfaill a'i amddiffyn hyd y gallai yn ffyddlon a charedig, a phan drengodd y naill yn archolledig gan aml friwiau, bwriodd y llall ei hun gydag ochain mawr ar ei gydymaith, ac ymfoddlonodd i farw gydag ef.

Ysbaid beichiogiad y fenyw sydd naw neu ddeng mis, ac y mae hi ar yr amser hwnw yn frasach nac ar un amser arall, yn enwedig pan fo ei thymp i esgor yn nesau. Un yn

unig a ddwg hi ar unwaith yn fwyaf cyffredin, ac nid un amser yn fwy na dau, canys doeth drefn rhagluniaeth ar fôr a thir ydyw bod y creaduriaid bychain egwan sydd yn ysglyfaeth i eraill yn amlhau yn dra ffrwythlawn, pryd nad oes gan y rhai mawrion a rheibus hyny ond ychydig epil a hyny yn anfynychach. Pan fyddo yr un fenywaidd yn rhoddi sugn i'r un bychan, hi a orwedd ar ei hystlys ar wyneb y weilgi, ac yna ymeifl y cenaw yn y dêth. Y mae y fam yn serchog a gofalus am ei hepil, gan eu dwyn ar ei hesgyll, pa le bynag yr elo, a pha faint bynag fyddo ei pherygl ei hunan. Ac wedi ei harcholli gan waewffyn y pysgotwyr hi a bery i gofleidio ei rhai bychain, a phan y bydd yn soddi i eigion y dyfnfor er dianc rhag enbydrwydd y mae yn eu cymeryd hwy gyda hi, eithr esgyn i fyny ychydig yn gynt er mwyn cael gwynt iddynt. Hysbys i'r rhan fwyaf o'n darllenyddion cyfeillgar sydd yn gydnabyddus a'r Saesonaeg yw yr hanes canlynol a adroddir gan Dr. Goldsmith, ac amryw awduron eraill yn yr iaith hono. Daethai dau o'r pysgod hyn, sef y fam a'i chenaw, i gainc o fôr, lle wedi dyfod y trai, disgynodd y môr gymaint rhyngddynt a'r dyfnder fel nas gallasent nofio ymaith drachefn. Am hyny ymgynullodd pysgotwyr a phreswylwyr eraill y gymydogaeth yn dyrfa luosog, a rhuthrasant ar y pysgodyn mewn cychod gyda thryferi a phig-ffyrch, a phob erfyn cyfleus oedd nesaf at eu llaw. Clwyfwyd yn fuan greaduriaid anghenfilaidd y dyfnder, a chochwyd y dwfr gan eu gwaed hwy. Wedi llawer ymgais i ddianc, y fam a ruthrodd trwy y rhydle i'r cefnfor. Ond er ei bod ei hunan mewn diogelwch, nis gallai oddef fod ei chenaw mewn cymaint perygl, gan hyny hi a ddychwelodd i'r llyn lle yr oedd y Môr-farch bychan yn nghanol ei elyn ddynion, gan fwriadu os na allai ei achub, bod o leiaf yn gyfranog o'r cwbl a ddygwyddai iddo, ond erbyn hyn daethai y llanw drachefn; y pysgod a ymdrechasant ymdrech fwy llwyddianus fel y chwanegodd y dwfr, ac o'r diwedd er eu clwyfo yn drwm ac yn aml cawsant y ffyniant o ddianc o ddwylaw yr erlidwyr. Y mae y cenawon yn parhau i sugno am un flwyddyn, ac yn yr amser hwnw geilw y llongwyr hwynt yn fyr bennau (*short heads*). Y pryd hyn y maent yn fras odiaeth ac yn cynnwys 30 baril o frasder. Y mae y fam ar yr un pryd yn deneu iawn ac yn gul iawn o gig. Pan ddelo y rhai ieuainc i oedran dwy flynedd, gelwir

hwynt corbysgod (*slunts*), oblegid mai bychan, yw eu twf wedi eu dyddyfnu, ac nis ceir oddiwrthynt fwy nag 20 neu 24 baril o olew. Wedi darfod y flwyddyn hono nid oes dim nodau wrth y rhai y gellir yn sicr adnabod eu hoedran.—*Arweinydd.*

## PA FODD I RODDI.

MEWN Cyfarfod Cenadol a gynnaliwyd yn mysg y Negroaid, yn un o Ynysoedd yr India Oorllewinol, y tri phenderfyniad hyn a gytunwyd arnynt. Yn

I. Ni a roddwn rywbeth bawb o honom.

II. Ni a roddwn oll megys y llwyddodd Duw ni.

III. Ni a roddwn bawb yn ewyllysgar.

Can gynted ag yr aeth y cyfarfod drosodd, un o'r dynion duon, sef yr arweinydd, a gymerodd ei eisteddle wrth y bwrdd gyda phapyr, pin ac inc i roddi i lawr yr hyn a ddeuai pawb i'w roddi. Llawer a ddaethant yn mlaen ac a roddasant, rhai fwy a rhai lai. Daeth yn eu mysg un hen Negro cyfoethog, agos mor gyfoethog a'r lleill oll ynghyd, ac a daflodd ar y bwrdd fathodyn arian bychan.

"Cymerwch hwn yna yn ei ol," ebe derbyniwr yr arian, "gall fod yn ol y rheol gyntaf; ond nid yn ol yr ail."

Yn ganlynol, yr hen ŵr cyfoethog a'i cymerth i fyny ac a gerddodd yn gloff i'w eisteddle yn ol mewn gorddigter mawr. Un ar ol y llall a ddaethant yn mlaen a'u rhoddion, ac agos bawb wedi rhoddi mwy nag a gynnygiasai efe, nes yr oedd ef wedi ei gywilyddio yn deg o hono ei hun, a thrachefn a ddaeth ac a daflodd ddarn o arian ar y bwrdd, gan ddywedyd, "dyna! cymerwch hwn yna!" Yr oedd hwn yn ddarn o aur gwerthfawr; ond yr oedd wedi ei roddi mewn tymer mor ddrwg, fel yr atebodd y Negro ef eilwaith, "Na! ni wna hwn yna mo'r tro eto! gall fod yn ol y penderfyniad cyntaf a'r ail, ond nid yn ol yr olaf." A gorfu arno gymeryd y bathodyn hwn i fyny. Yn parhau yn ddigofus ato ei hun a'r lleill, efe a eisteddodd i lawr am hir amser, nes yr oedd agos i bawb wedi myned ymaith, ac yna a ddaeth i fyny at y bwrdd, a chyda gwen ar ei wyneb, ac yn dra ewyllysgar a roddodd swm mawr i'r trysorydd.

W. G.

## YMADRODDION DRWG YN LLYGRU MOESAU DA.

Y MAE afon fawr yn neheudir Ewrop a elwir y Rhone, yn codi yn Switzerland, ac yn ymarllwys i fôr y Canoldir. Y mae y Rhone yn rhedeg yn gyflym a mawreddus, a'i dyfroedd yn bur a dysglaer; ar ei thaith y mae yr afôn Arve, yn rhedeg iddi, yn fawr ei swn, yn orwyllt ei rhediad, ac yn aflan ei dyfroedd. Y maent yn uno, *ond nid yn cymysgu.* Ar yr ochr aswy, y mae y dyfroedd yn fudron; ar y dde', y mae y Rhone yn cadw ei phurdeb a'i gloewder. Ond yn mhen amryw filldiroedd y mae y Rhone loyw yn culhau, a'r Arve aflan yn lledu. O'r diwedd y mae yr aflan yn cymeryd meddiant hollol o wely yr afon, a gloywder y Rhone wedi cilio am byth: ac yn y cyflwr llwydaidd, bawlyd hwn yr ymgyll yn Môr y Canoldir. Ddarllenydd; *gochel gymdeithion drwg*, gochel arferion drwg. Tyred at afon bur o ddwfr y bywyd os llychwinwyd di, ac iacheir dy ffrydiau.—*Athraw.*

---

### "PWY A DDEALL DARANAU EI GADERNID EF?"

Pwy ddeall daranau cadernid Duw'r nefoedd?
Pwy olrhain ei lwybrau? pwy draetha'i fawr nerthoedd?
Gan ŵr o wlad Us y rhoed y gofyniad;
Ond heriwn holl anian i roddi atebiad.
  Mynega di, *ddaear*, os gelli gael allan
Daranau cadernid y Duwdod ei hunan:
"Ah! gormod yw'r gorchwyl, nis gallaf oddiwrtho;
O flaen ei gadernid fy seiliau sy'n siglo.
Cyn gwawrio dydd amser, draw, draw, yn y dechre
Pryd nad oedd un defnydd i'w ganfod yn unlle,
Ag un gair o'i enau fe greodd fy sylwedd,
Fe'm crogodd ar ddyddim, fe'm trefnodd yn rhyfedd!
Fel pelen fe'm taflodd i'r dirfawr eangder,
I deithio fy nghylchdaith â rhyfedd gyflymder.
Trwy rym ei air "BYDDED" y ffurfiwyd mynyddau,
A'r rhai'n a orchuddiwyd â choed a gwyrddlysiau:
Do, llanwodd fy wyneb â myrdd o drigolion:
Y morfarch a'r morfil a nofiant fy eigion!
Na! traethu cadernid y Perydd anfeidrol
Nis gallaf—'rwy'n tewi!—pa iaith sy ddigonol?"
  Ti *ddyn*, tyred allan i ateb yr holiad,
Ac na fydd lwfr-galon, ond derbyn f' apeliad;

"Ust! na! mae yn holiad nas gellir yn gyson
Ei ddeall na'i ddirnad byth, byth, gan feidrolion!
Os sylwaf i'w hanfod, mae'n llawn o ddirgelwch,
Os tremiaf i'w orsedd, mae'n nghanol tywyllwch!
Yn ol, os ymdeithiaf i chwilio ei oedran,
Rhaid gadael bro rheswm—dychymyg â ei hunan;
O'r golwg disgyna dros glogwyn serth amser,
Olrheinia bell fanau'r anhygyrch ëangder.
Ond wedi hir ymdaith nes darfod o'i gallu,
Draw, draw yn y cefnfor, Ah! wele, mae'n boddi
Trof eilchwyl at reswm, 'r ol colli dychymyg,
Am oed yr Anfeidrol âg ef gwnaf ymgynnyg:
Ond d'rysu mae rheswm, a synu 'n aruthrol,
A dywed am dano "Y mae yn dragwyddol!"
Beth yw tragwyddoldeb, ni feddaf ddarluniad
Ond enw ar gyfnod heb iddo amseriad;
Beth yw anfeidroldeb, nis gallaf byth ddirnad
Ond enw ar allu heb iddo derfyniad.
Canfyddaf ryw dremyn o'i allu trag'wyddol
Yn creu ac yn cynnal y cread aruthrol.
Ond gwanaidd ac eiddil yw'r cyfan ganfyddir
I ddangos gwir nerthoedd y "y Duw nid adwaenir"
Fel hyn, gan ei fawredd, wyf yn ymddyrysu;
Gan rym anfeidroldeb fy neall sy'n pallu."
*Angelion* y nefoedd! mynegwch *chwi* allu
Y Duw Hollallnog, mae dyn wedi methu.
"Ni ddichon meidrolion byth ddirnad ei fawredd,
Na cherub na seraph amgyffred ei nerthedd.
Am allu'r gair "Bydded" yn creu gallwn gofio.
Pan hyrddiwyd miliynau o fydoedd i deithio.
Yn eglur canfyddwn ryw heirdd gyfundraethau
Yn filoedd o filoedd ar wasgar drwy'r gwagle;
Mil myrddiwn o heuliau a'u gosgordd blanedau
Yn britho ardaloedd y maith uchelderau.
Gallwn olrhain y rhai'n â chyflymder aruthrol;
Ond byth ni chanfyddwn holl waith y Tragwyddol!
Er cymaint ein gallu er maint ein gwybodaeth,
Ni welwn byth derfyn i'w faith ymherodraeth.
Canfyddwn gydmariaeth rhwng byd a thywodyn,
A gwelwn raddoliaeth rhwng môr a dyferyn:
Ond gradd a chydmariaeth ddiflana'n drag'wyddol!
Rhwng Ior a'i weithredoedd—'r Anfeidrol a'r meidrol!
Os ydyw *meidroldeb* yn d'rysu meidrolion,
Beth wna *Anfeidroldeb*! fe'u bawdd yn ei eigion!
Er cymaint gwybodaeth a gallu nefolion,
I nerthoedd y Duwdod nid ŷm ond ynfydion!"
O gadarn Jehofa! pwy ddichon dy ddirnad!
Rhy fyr yw ein deall a'n holl amgyffrediad.
O! ddyfnder ar ddyfnder! mewn dyfnder y boddir
Y cread yn nghefnfor y "Duw nid adwaenir"—***Traethodydd.***

## MYFYRDOD.

### LLYTHYR II.

MR. "ARWEINYDD"—Mae rhai pethau yn ein byd yn gwneyd eu hymddangosiad yn lled fynych, pethau eraill yn fwy anaml, ambell beth prin y gwelir ef unwaith mewn blwyddyn; ac ymddengys mai i'r dosbarth olaf y perthyn fy llythyrau i, oblegid y mae tua blwyddyn er pan ysgrifenais o'r blaen.

Yr wyf yn meddwl mai y rhyfeddodau uwch ben oedd wedi tynu fy sylw y tro o'r blaen, ond erbyn heno, gwelaf fy mod wedi dringo yn rhy uchel i ddechreu, oblegid y mae rhyfeddodau yn nes ataf.

Mae ymdeithydd, fel y gwyddost, yn gweled llawer peth, ac yn cyfarfod â llawer math o bobl.

Cyfarfyddais yn fy ymdaith â dyn oedd yn byw yn nhywyll leoedd y ddaear. Dywedodd wrthyf ei fod wedi clywed son am grefydd, a'i fod yn awyddus am feddu un, ond ei fod mewn petrusder pa un i feddu. Dywedai fod Mahomet ac eraill wedi bod yn canmol yr eiddynt hwy iddo, ac felly gofynai fy marn inau. Dywedais iddo mai crefydd Iesu Grist oedd y grefydd oreu yn y byd; a chymhellais hi iddo. Yr oedd hon yn newydd iddo, felly ymholodd yn fanylach yn ei chylch. Dygwyddodd fod y llyfr oedd Iesu wedi ei ysgrifenu am natur a ffrwythau ei grefydd genyf yn fy llogell. felly darllenais iddo ddarluniad o honi yn neillduol yn ei ffrwythau bendithiol yn enaid ac ymarweddiad y rhai sydd yn ei meddu—yn gwneyd i'r gwr garu ei wraig, ac yn gwneyd i'r wraig barchu ei gwr—y plant ufuddhau i'w rhieni, a'r rhieni i fod yn dirion wrth eu plant—yn attal y tafod rhag traethu twyll nac absenu ychwaith—yn rhoi cadwraeth ar y glust rhag derbyn enllib—yn ei wneyd yn hunanymwadol pan fyddo lles eraill yn gofyn hyny—yn caru ei elyn—yn gweddio dros yr hwn a wnel niweid iddo—yn

onest yn ei fasnach, yn gywir yn ei eiriau, ac yn ffyddlon i'w addewidion, &c.

Cafodd ei foddhau yn fawr ar y darluniad oeddwn yn roi o honi, a dywedodd os oedd fy llyfr yn rhoddi darluniad cywir o honi, y mynai efe ei chael.

Pa fodd y gallaf wybod, meddai, pa un ai twyllodrus ai cywir yw tystiolaeth Iesu am ei grefydd? A oes neb yn ei phroffesu, fel y gallaf weled a yw y ffrwythau hyn i'w gweled ynddynt? Dywedais wrtho fod llawer o honynt, ac yn adnabyddus wrth eu henwau, sef Cristionogion.

Gofynodd a wnawn roddi benthyg y llyfr iddo, a'i gyfeirio i wlad ac ardal lle yr oedd Cristionogion yn byw. Gwnaethum felly, ac ymadawsom.

Yn mhen ychydig cyfarfuasom eilwaith, ac adroddodd ei hanes wrthyf. Aethym, meddai, i'r ardal lle y cyfeiriasoch fi, a chyfarfum â dyn yno, a gofynais iddo a oedd yno Gristion yn byw yn yr ardal? Dangosodd i mi dŷ un oedd yn proffesu bod yn Gristion. Aethym yno, a dygwyddodd ei fod ar gychwyn i daith lled bell, meddyliais wrth ei drwsiad. Sylwais ar ei anifail, yr oedd arwyddion amlwg o eisiau ymborth arno, ac o herwydd hyny nis gallai deithio yn gyflym. Ond gwelais fod yno beth i'w gynnorthwyo, sef gwialen anferthol, a llawer gwaith y mesurodd yr anifail truenus â hi tra yn fy ngolwg. Arosais yno nes ei ddychwelyd. Yr oeddwn wrth yr ysgubor ar ei ddychweliad, a phan ddaeth yno gwelodd ei fod mewn esgeulusdra wedi gadael y drws heb ei gau, ac yr oedd rhai o'r anifeiliaid wedi cymeryd mantais o'r amgylchiad i helpu eu hunain â pheth o'r ŷd. Pan eu gwelodd, ymaflodd yn y peth nesaf at ei law, sef darn o bren creulon, a chyd ag ef, efe a'u dyrnodd nes y meddyliais fod eu hesgyrn yn ddrylliau. Agorais fy llyfr a darllenais, "Y cyfiawn a fydd drugarog wrth fywyd ei anifail." "Na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu."

Dywedais, os yw crefydd Iesu gan hwna, yna mae tystiol-

-aeth yr Iesu am dani yn ddychrynllyd. Gadewais ef, ac aethym at un arall. Yr oeddwn yno cyn boreufwyd, ac yr oedd yn lled brysur, ac ni welais yno un weddi. Arosais yno hyd yr hwyr, dim gweddi ar ol swper; dilynais ef i'r ystafell wely, dim gweddi yno. Yna edrychais i fy llyfr, a darllenais, "Pob duwiol a weddia." Yr un oedd fy mhenderfyniad gyda hwn a'r llall, felly gadewais ef. Aethym at un arall, a gwyddwn fod ganddo elyn mawr yn ei gymydogaeth. Bum yno am hir amser yn gwrando arno yn gweddio, ond ni roddodd un erfyniad dros ei elyn. Troais i'm llyfr, drachefn, a gwelais, "Gweddiwch dros y rhai a wnel niweid i chwi." Nid yw crefydd Iesu gan hwnw, neu y mae tystiolaeth Iesu am dani yn dywyllodrus meddwn. Un arall, gwr cyfoethog oedd hwn, a daeth ato wr tlawd angenus, a gofynodd yn ostyngedig am gardod. Dywedodd yntau fod cynniter yn dyfod heibio iddo ac nas gallai roi iddynt oll Daeth un arall ato, am gymhorth i anfon y Beibl i'r pagan. Dywedodd wrth hwn fod y Gymdeithas yn camddefnyddio yr arian, ac am hyny nid oedd yn barnu y dylai roi iddo. Agorais fy llyfr, a darllenais, "Yr hael a ddychymyg haelioni." "Yn gwneuthur daioni na ddiffygiwch." "Gwr da sydd gymwynasgar."

Arall, yr oedd ef wedi gwerthu ei ymenyn, ond heb fyned ag ef i ffordd. Cododd ei bris yn y farchnad, a daeth prynwr arall heibio iddo, a chynygiodd fwy am dano. Nid oedd ei werthiad i'r cyntaf fel y gallai cyfraith ei wlad ymaflyd ynddo, wrth dynu yn ol, felly efe a'i gwerthodd eilwaith i hwn. Meddyliais am fy llyfr, a gwelais ynddo. "Y cyfiawn a dwng i'w niweid ei hun, ac ni newidia." "Bydded eich ïe chwi yn ïe, a'ch nage yn nage." Aethym at un arall ac yr oedd efe yn enllibio ei gymydog. "Heb absenu â'i dafod," medd fy llyfr. Un arall oedd yn gwerthu anifail, a dywedodd wrth ei gymydog am dano bethau y gwyddwn na ddylasai. Felly edrychais beth oedd fy llyfr yn ei ddyweyd, " Meibion ni

ddywedant gelwydd." "Ac a ddywed wir yn ei galon." "Dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog."

Un arall, adroddais i hwnw amryw bethau am ei gymydog nad oeddent o un derchafiad iddo. Ond yr oedd ef yn cael ei foddhau yn fawr wrth wrando arnaf. Darllenais yn fy llyfr, "Heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymydog." Aethym i dŷ un arall, yno yr oedd y gwr yn angharedig wrth ei wraig, a'r wraig yn ddibris o'i gwr, y plant yn gyndyn ac anufudd.

Yn awr yr wyf yn cyflwyno y llyfr i chwi yn ol, ac yn ddiolchgar am ei fenthyg. Yr wyf yn caru rheolau crefydd Iesu o'm calon. Ond ar ol barnu o honwyf yn fanwl, yr wyf yn gweled nad yw ei grefydd yn gweithio allan mewn ymarferiad yr hyn y mae ef yn briodoli iddi, felly yr wyf yn gorfod credu mai twyllodrus yw tystiolaeth Iesu am dani; am hyny yr wyf yn ei gwrthod!

Mr. "Arweinydd." mae hyn wedi pwyso yn ddwys ar fy meddwl, sef mai bywyd pwysig i'r byd yw bywyd y crefyddwr, oblegid mai yn ei ymarweddiad ef y mae yr unig fantais a all byd gael i farnu rhagoriaethau crefydd Iesu, a phriodol cymhwyso geiriau yr Ysgrythyr at lawer o honom, "Enw Duw o'ch plegid chwi a geblir yn mysg y cenedloedd."

Ymdeithydd.

---

## Y TEULU DEDWYDD.

Ioan xi. 5. "A hoff oedd gan yr Iesu Martha a'i chwaer, a Lazarus."

Y MAE holl ddarllenwyr y Testament Newydd yn dra chyfarwydd â'r ddwy chwaer, a'u brawd hyny oedd yn byw yn Bethania. Tref fechan oedd Bethania; yr oedd llawer o drefydd yn fwy enwog; ond daeth hon i sylw mawr, oblegid i Iesu Grist fod yn llettya llawer noswaith yno, pan wedi gwaith blin o ddysgu y bobl trwy y dydd yn heolydd

Jerusalem; ac yn Bethania, hefyd y gwnaeth efe y penaf o'i wyrthiau. Rhoddodd rybydd i angeu lawer tro am ymbarotoi, ond yn Bethania y daliodd efe frenin y dychryniadau ar ei dir ei hun, canys yr oedd y bachgen a gyfodwyd o farw wedi bod yn nhiriogaeth angeu am ddyddiau rai. Y bachgen hwnw a'r ddwy chwaer oedd yn wylo ar ei ol, ydyw y teulu dedwydd ag ydym yn myned i son am danynt. Rhaid fod dedwyddwch rhyfedd yno pan oedd y tri yn nghyd, a'r Iesu yno hefyd gyda hwynt. Nid oedd ei ofn arnynt, oblegid eu bod yn ei adnabod, ac nid oedd un ofn arno yntau ddyweyd wrthynt, am ei fod yn deall eu calonau. Yn awr rhai nodiadau ar y teulu dedwydd, gan obeithio y byddant yn foddion i ddwyn llawer teulu yn fwy dedwydd.

I. Rhai yn anwyl o'u gilydd. Nid oes dim dedwyddwch os na fydd anwyldeb. Yr oedd y tri hyn yn hynod am eu gilydd. Gan fod y tad ar fam wedi meirw, ni chyfododd anghydfod rhwng y plant. Y brawd trwy ei ymdrech oedd yn cynnal y ddwy chwaer, ac yr oeddent hwythau a'u holl egni i wneyd eu brawd yn ddedwydd. Nid fel hyn y mae pob teulu, ceir plant yn aml yn grwgnach, ac yn anfoddlon i gynnorthwyo eu rhieni, barnant fod hyny yn groes i reol natur a moesoldeb; ac mai oddiar drugaredd yn unig y gwnant yr hyn y maent yn ei wneyd; ond am deulu dedwydd y mae y naill yn astudio dedwyddwch y llall, a phob un yn cyduno i ddwyn yn mlaen yn gysurus eu hamgylchiadau tymhorol, fel hyn yr oedd teulu bychan Bethania gynt. Yr oedd Lazarus yn dyfod gyda'r hwyr oddiwrth ei orchwyl, Martha yn parotoi trugareddau natur ar ei gyfer, a Mair yn melysu y gyfeillach âg ymddyddanion crefyddol. Yr oedd y gwahanol bethau a dynodd sylw Lazarus yn y dydd yn cael eu cadarnhau ag addysgiadau gan Mair, a Martha yn rhoddi Amen, ei bod yn cydfyned â'r hyn oedd mewn llaw; oblegid fod y tri yn anwyl o'u gilydd; gan hyny, "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

II. Rhai yn anwyl o Iesu Grist. Nid oes dim gwir ddedwyddwch, os na fydd Iesu Grist y blaenaf yn meddwl pob aelod o'r teulu. Nis gellir dyweyd hyn gyda golwg ar bob teulu; ond am yr un hwnw yn Bethania, dyma yr awyr foesol oeddent yn anadlu. Lazarus yn adrodd barn rhai eraill am y Ceidwad, Mair a Martha yn cymeradwyo barn rhai, am eu bod o'r un golygiad a hwythau; ac yn anghymeradwyo barn y rhai oedd yn dyweyd yn isel am Iesu Grist, yn nghyda dwyn rhesymau mai efe oedd y gwir Fessiah, a byddai Lazarus yn cadarnhau y rhai hyny â gwirioneddau o'r Hen Destament. Y siarad mwyaf cyffredin yn y tŷ oedd am y Gwr a anwyd yn Bethlehem. O! mor ddedwydd oeddent, oblegid Iesu Grist oedd eu gwrthddrych anwyl. Ei gablu oedd efe yn gael mewn llawer teulu yn y pentref hwnw, ei gablu y mae llawer teulu o'n cenedl ninau. Gwyn fyd na b'ai mwy o ymddyddan am dano yn y teuluoedd, gan efelychu teulu dedwydd Bethania gynt, nes gweled Iesu Grist fel y rhai hyny "yn rhagori ar ddeng mil."

III. Rhai anwyl gan Iesu Grist. Un peth yw dyweyd ein bod yn anwyl o hono; ond peth arall ydyw bod yn anwyl ganddo. Cawn brawf o'i ofal yn ein testyn; "A hoff oedd gan yr Iesu Martha, a'i chwaer a Lazarus." Yr oedd y tri yn meddu gwir dduwioldeb, oblegid y maent yn cael eu henwi. Martha tebygol oedd yr hynaf, hi oedd pen y teulu; ond nid yw yn cymeryd arni uwchafiaeth ar ei chwaer a'i brawd. Y mae rhai yn meddwl oddiwrth Luc pen. x., nad oedd fawr o grefydd gan Martha; eto, rhydd ein Harglwydd ei henw yn mlaenaf yma yn ei anwyldeb, er dangos ei bod mor grefyddol â Mair. Nid cariad neu hoffder dynol yn unig sydd gan Iesu Grist at y teulu hwn; ond ei gariad tragywyddol, y cariad hwnw ag sydd yn ras i enaid pechadur. Dyma yr hoffder sy'n cael ei ddangos yn y testyn. Yr oedd eu henwau yn llyfr y bywyd, fel nad oeddent yn prisio fawr am gael eu henwau ar hen groniclau

gwlad Judea. Yr oedd undeb rhwng Adda yr Ail a'r teulu hyny, y mae yr un fath at bob teulu duwiol, a dyna yr unig deuluoedd a ellid ystyried yn ddedwydd. Cafodd y bachgen fu yn pwyso a'r fynwes yr Iesu wybod gan ei Geidwad am y ddwy chwaer a'r brawd hyny yn Bethania, eu bod yn dderbyniol gan yr Hwn fu farw er eu mwyn. Gwnaeth Ioan hysbysu hyny i ni; diolch iddo am hyn, ond diolch fil mwy i'r Iesu am garu pechaduriaid, a bod modd cael ei anwyldeb i rai fel ni.

Yr oedd Martha, Mair a Lazarus yn cael llawer nefoedd fechan yn eu henaid yn Bethania pan oedd ein Harglwydd yn aros gyda hwynt. Tebyg i lawer noswaith fyned heibio, heb i gwsg na gofalon eraill gael eu teimlo; oblegid presenoldeb Iesu oedd yn llanw y lle, a'i bresenoldeb ef yn unig yw eu nefoedd yr ochr draw. Cawsant y peth goreu a allesid gael yn y byd, bod yn anwyl gan Iesu Grist. O! na b'ai miloedd yn fwy tebyg i'r teulu dedwydd hyny yn Bethania gynt.

Yr Arglwydd o'i ras a ddygo ddynion yn anwyl o'u gilydd —yn anwyl o Iesu Grist—fel y byddont yn anwyl byth gan ein Harglwydd Iesu Grist.

TACITUS.

---

## CEISIWCH YMBORTH ADDAS I'R ENAID.

GRESYN yw meddwl fod lluoedd o'n cyd-greaduriaid yn cynnyg ymborth nad oes un cymhwysder ynddo i lanw angenion enaid. Y maent, oddiar eu tueddiadau anianol, yn tybied y gwna pleserau gwael a gwageddus lanw diffygion eu heneidiau. Un felly oedd y gwr goludog, pan ddywedodd, "Fy enaid, y mae genyt dda lawer, wedi eu rhoddi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, yf a bydd lawen." Yn wir, y mae lle i ofni fod llawer o'r cymeriadau yma yn y byd yn awr. Hefyd y maent yn ceisio dar-

bwyllo eu heneidiau i fyw mewn glythineb a meddwdod. Ceir gweled lluoedd o lanciau a llancesau yn myned i'r *parties*, i gynnal y crechwen a'r coeg-ddigrifwch. Nid yw y rhai'n ond moddion i grebychu eneidiau ac i rydu pob cynneddf ag sydd yn perthyn iddynt.

Gan mai Duw sydd wedi gosod ynom anadl einioes, mae yn rhesymol i ni gofio ei fod wedi trefnu ymborth addas er ein cynnydd, a'n gwneyd yn fras. Y mae Duw wedi rhoddi ei air fel cyfrwng i ni geisio yr ymborth a drefnodd ef ar gyfer enaid. "Ceisiwch y pethau sydd uchod." Ceisiwch y grasusau sydd yn harddu ac yn prydferthu yr enaid, ac a'i ffrwythlona, ac a fydd yn tarddu allan yn ffrwythau gwyrddleision.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

---

## Y SYNAGOGAU.

NID oes genym mewn hanesyddiaeth un gwybodaeth am ddechreuad y Synagogau. Ymddengys, modd bynag, iddynt ddyfod i arferiad wedi dychweliad y gaethglyd o Babilon. Barna rhai mai Ezra, yn gweithredu dan gyfarwyddyd Ysbryd Duw, a barodd iddynt gael eu sefydlu i'r dyben o sicrhau gwybodaeth o'r gyfraith sanctaidd yn mhlith y genedl yn gyffredinol, er mwyn eu diogelu a chael moddion mwy effeithiol i'w cadw rhag eilunaddoliaeth; oblegid yr oedd gan Ezra gommisiwn o'r nef i adferu yr eglwys Iuddewig, ac i ail sefydlu y gwasanaeth cysegredig wedi y dyryswch i ba un y taflwyd hwynt yn amser y caethgludiad.

Ystyr y gair Synagog yn briodol a arwydda gyfarfod, neu gynnulleidfa. Daeth, modd bynag, i gael ei arferyd am y man, neu y tŷ lle y byddai y gynnulleidfa yn ymgyfarfod. Ar y cyntaf ymddengys fod cyfarfodydd synagogaidd, yn cael eu cynnal naill ai mewn tai neillduol, neu yn yr awyr agored; eithr ar ol i ychydig amser fyned heibio, adeilad-

wyd tai i'r dyben hyny yn neillduol. Yn y dechreu arferent eu hadeiladu allan yn y caeau, ryw bellder oddiwrth dai eraill; eithr wedi hyny cyfodid hwy yn y trefydd, ac yr oedd yn ofynol eu bod yn y manau uchelaf, ac yn uwch na'r holl dai o'u hamgylch.

Ni fyddai dim llai na deg o wyr cyfrifol yn gwneyd i fyny Synagog, gan y tybiai yr Iuddewon fod y nifer hwn o ddynion hyddysg yn y gyfraith yn angenrheidiol i drin achosion y lle a chadw i fyny yr addoliad Dwyfol. Gan hyny, lle nes gellid cael y nifer hwn, nid adeiledid un Synagog; ond gallai fod llawer o Synagogau mewn dinas neu dref, os byddai yn boblogaidd. Dywedir fod yn Jerusalem 480 o honynt.

Y prif bethau perthynol i Synagog oeddent, Yn

1. Yr arch, neu y gist, wedi ei gwneyd yn ol dull arch y cyfammod, yn cynnwys pum llyfr Moses.

2. Yr areithfa a'r ddarllenfa yn nghanol y Synagog, ar ba un y safai yr hwn a ddarllenai neu a esboniau y gyfraith.

3. Yr eisteddleoedd, neu y corau, i'r gwyr, ar lawr; a'r orielau i'r gwragedd uwchben.

4. Y lampau, i oleuo yn y gwasanaeth hwyrol, ac ar wyl y cysegriad.

5. Ystafelloedd i'r dodrefn a'r elusen gistau.

*Youngstown, O.* ADAM PARKER.

---

## CHWILFRYDEDD YN LLOFRUDDIO NATUR.

WEL, fy mlaut, gadewais chwi i dderbyn gwahanol wersi buddiol trwy yr "Arweinydd," heb i mi ddyweyd gair er ys tro. Yn awr galwaf eich sylw at olygfa dra thorcalonus, o waith gormesydd calon galed, o'r enw *Chwilfrydedd Ynfyd*, yn ymosod gyda grym ei holl fyddinoedd ar bendefiges urddasol a gwir foneddigaidd, o'r enw *Chwant*. Nid oedd ei harglwydd (yr hon a adwaenir wrth yr enw

Rheswm, neu Synwyr Cyffredin) gartref ar y pryd; a daeth y fintai druenus yn mlaen, ac ymosodasant arni yn ddigywilydd. Gwrthwynebodd hwynt nes oedd yn llesmeirio yn yr ymdrech. Ond gan na ddaeth neb i'w hamddiffyn, darostyngwyd hi; ac o'r dydd hwnw allan nid yw ei harglwydd ond megys gwas, a'r estroniaid creulawn wedi darostwng yr un dyner, fel nad oes ganddi mwyach allu i farnu er dewis y da na gwrthod y drwg. Cyn iddi gael ei darostwng yr oedd yr holl gorff dan amgeledd dda ganddi: os deuai un gormeswr dros y trothwy, bwriai ef allan gyda dirmyg. Ond wedi i'r gorthrymwyr aflan hyn gael meddiant o'r corff, gwelwch y wedd sydd arno, y mae y dannedd oedd fel yr ifori dysglaer wedi myned fel hoelion o'r simnai, a'r genau mor ddrygsawrus a'r domen, &c. Hyn oll, ac ychwaneg, o ddifrod a wneir ar gorff dynol gan y tywysog mwyaf ei fri o'r gormeswyr hyn, sef Mr. Ffwgws, neu Dybaco. Digon ar hyn o bryd, efallai, yw galw eich sylw ato ef fel yr uchaf ei fri o'r fyddin, dan lywyddiad y tywysog Chwilfrydedd.

Fy neges benaf yw eich cael chwi, fy mhlant, i wrthsefyll ymosodiad y gormeswr hwn arnoch chwi eich hunain. Gan y gwyr ef eich bod chwi am chwareu, fe ddaw yn mlaen dan wenu, i ofyn i chwi ddyfod i chwareu codwm ag ef; a dengys y dorf sydd ganddo dan ei faner, ac yn eu plith y dynion goreu—y cyfreithwyr a'r crefftwyr, y ffermwyr a'r masnachwyr, y beirdd a'r efrydwyr, a gweinidogion yr efengyl!! Gellwch benderfynu (meddai) na fuasai y gwyr dysgedig, yna, a'r gwyr cynnil draw, a'r dosbarth anturiaethus hyn, a'r doethion ymchwilgar yna, ac yn enwedig gweinidogion yr Arglwydd, pa rai a ddysgant y bobl mewn moesau a rhinwedd, byth yn chwareu oni b'ai ei fod yn ddiniweid hollol. Yn awr, cyn ufuddhau iddo, ymofynwch ai dysg y cyfreithiwr, diwydrwydd yr amaethwr, craffder y llenor, a duwioldeb y pregethwr, a'u dygodd i'r chwareufa annuwiol,

gwaradwyddus a gwastraffus hon. Nage, meddaf i chwi, ond arglwydd y palas, sef Synwyr Cyffredin, a aeth oddicartref, a daeth y gormeswr i mewn, ac a wnaeth ymosodiad beiddgar ar Chwaeth dyner, ac a'i gorchfygodd; ac ymostyngodd hithau i lywyddiaeth aflan yr anghenfil daurywiog. O! resyn, y bendefiges fwyaf tyner a diwair a feddai ein natur ni wedi myned yn butain. Pwy sydd yn ei darostwng, ai y llenor ymchwilgar, sydd yn gwybod beth yw gwerth synwyr heb ei lethu? Ai y Cristion goleuedig, sydd yn deall ei gyfrifoldeb? Ai yr athraw defnyddiol, sydd i gyfeirio ei ddosbarth at rinwedd a chrefydd? Pwy, ai y duwinydd, yr esboniwr, y pregethwr, y gweinidog efengylaidd —dysgawdwr y bobl—bugail ac esgob eneidiau? Ow! och! os felly, pwy a geir yn y tir cysegredig i sefyll o blaid rhinwedd, ac yn wrthwynebydd i aflendid?

Wel, fechgyn gwrol a chwaethus, sydd eto heb ymhalogi trwy yr ymgyfeillach isel a ffiaidd â'r ffwgws, deuwch allan, ac ymddidolwch medd yr Arglwydd, medd rheswm, medd natur, medd rhinwedd, &c., a deuwch i wrthwynebu yr ymarferiad ynfyd. Nid oes braidd ddim nad ellwch chwi ei gwblhau, ond i chwi ymaflyd ynddo yn egniol. Nid wyf yn gofyn i chwi ddyfod yn erlidwyr, ond yn ddiwygwyr. Pe dygwyddai i chwi weled gweinidog doniol a duwiol yn mwgdarthu i'r Baal hwn, ewch ato yn siriol, a gofynwch iddo, ai o ddifrif y mae yn eich cynghori i ymadael ag arferion llygredig, ai ynte cellwair y mae. Os proffesa ei onestrwydd, gofynwch iddo reswm am ei arferiad gwarthus; ac â pha ryw galon y cynghora ddynion i gilio oddiwrth ddrwg, ac yntau ei hun yn dilyn un o'r arferion mwyaf isel, anfad, ffiaidd, lladradaidd, drwgnwydawl, trahaus, &c. Dywedwch wrtho, er fod ei gynghorion yn dda, ei weinidogaeth yn oleu a grymus, ac ynddi feddwl a llafur, eto, mai dyn dan lywodraeth ei chwant ydyw, a'i fod yn gosod magl ar eich llwybr; ïe, gofynwch i'r pregethwr, yr athraw a'r

Cristion (sydd yn dilyn yr hen fusnes) pa le y gallant roddi prawf eu bod yn croeshoelio y cnawd, ei wyniau a'i chwantau, os yw y blys ynfyd hwn yn cael perffaith ryddid ganddynt, heb un gwaharddiad; ïe ar ddydd Duw y porthant eu nwydau aflywodraethus. Mynai Paul gosbi ei gorff, a'i ddwyn yn gaeth, rhag, wedi iddo bregethu i eraill, fod ei hun yn anghymeradwy. Os oedd ef, o dynerwch at ei frawd gwan, yn ymattal oddiwrth bethau cyfreithlon a llesol, ai gormod gan Gristionogion yr oes hon ymgadw oddiwrth beth sydd, nid yn unig yn ddiangenrhaid, ond hefyd yn afradlonedd, yn eilunaddoliaeth, yn ysbeiliaeth, yn aflywodraeth a llofruddiaeth. Wel, rhoddwch ef iddynt yn gwestiwn; ac os byddant yn galw arnom i brofi fod y pethau hyn felly, deuwn at y gwaith yn galonog; a thybiwn y bydd yr "Arweinydd" yn barod i'n pleidio.

Tybiwyf mai edrych arno yn bwnc yr ymddifyru a'r chwareuon y mae y dosbarth lluosog a'i dilynant. Ond, atolwg, a yw ymddifyru gyda'r fath arferiad ffiaidd yn briodol i Gristionogion, yr oes oleu hon? Na, os honant eu rhyddid i chwareu, tybiwyf na feddant ryddid i ymdrythyllu â Diana fawr llygredigaeth yr oes, yr hon sydd a'i phrif eisteddle yn ngloddest y fasnach feddwol. Mewn gair, y mae yn gwestiwn i'w ddwyn ger bron, a yw y cyfryw wedi eu llwyr argyhoeddi o werth arian, amser, glanweithdra, prydferthwch, chwaeth o'r iawn ryw, &c., ac hefyd o'u cyfrifoldeb pwysig i Dduw fel bodau rhesymol, i wneyd iawn ddefnydd o bob trugaredd a dderbyniant, a gadael y llywodraeth i reswm, ac nid i flys anfoddiog a digywilydd.

Os yw dyn yn ddigon taeog ei egwyddor i ymwthio ar ol ei flys bastarddaidd i dilyn y gyfeddach gyda'r ffwgws, nid hawdd ei ymddiried gyda'r ddiod feddwol; canys y nwydau aflywodraethus ydynt arweinyddion y naill fel y llall.

Yr wyf yn ymwybodol fy mod yn cyffwrdd â llinynau tyneraf calon y dosbarth rhinweddol o'n cyd-ddynion wrth

ddywedyd fel hyn. Ond cymeraf fy argyhoeddi gyda theimlad gostyngedig, os gellir profi yn amgen. Ond gwir a addefir gan y mwyafrif o ddilynwyr y myglys, fod yr arferiad yn ddrwg; ac eto dilynant ef gyda sêl a diwydrwydd. Gwir fod llu mawr o ddynion nad oes ganddynt bris na theimlad atynt eu hunain na'u cyd-ddynion, a fyddai yn werth ganddynt ymwadu â dim er eu llesad eu hunain ac eraill. Ond y mae miloedd yn y tir a broffesant beth arall yn uchel iawn. Ai rhagrithio yn ddigywilydd y mae y bobl? Ai meddwl yr ydych fod eich cyfrifoldeb yn llai pwysig am fod eich rhifedi yn lluosog? Nag ydyw, meddaf i chwi. Pa mor urddasol a chysegredig bynag y tybio dynion eu hunain a'u gilydd, tra yn aros i ymlygru gyda'r arferiad isel a gwaharddedig hyn, y maent yn berffaith bell o gyflawni cyfraith Crist.

Gwelwch, blant, aethym at deimladau llu o wyr grymus wrth redeg i lawr anwylyd eu blys trachwantus. Wrth eich help chwi y dysgwyliaf yn bryderus; a gobeithiaf na'm siomir.

Eich hen gyfaill ar ei daith,

*R—e.* DIFRIWR MYGLYS.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. D. CHARLES.

### AT MR. WILLIAM MORRIS, ROME.

ANWYL FRAWD—Derbyniais eich llythyr a da iawn oedd genyf gael clywed eto oddiwrth hen gyfaill sydd mor gu genyf. Yr oedd yn dda genyf glywed eich bod yn iach a chysurus, yr wyf o'm calon yn dymuno i chwi iechyd a llwyddiant tymhorol ac ysbrydol. Y llwyddiant gwerthfawrocaf yw, "Bod yr enaid yn llwyddo." Mater enaid ddylai gael y blaen genym beunydd. Y mae genym ni gorff ac enaid i ofalu am danynt, ac amser a thragywyddoldeb i ymbarotoi ar eu cyfer. Diau fod angenrheidiau y corff yn bethau y dylid gofalu am danynt; eto, cymhellir ni yn y Beibl i dalu y sylw blaenaf i fater enaid, a cheisio pethau tragywyddol yn

mlaenaf. "Llafuriwch," medd Iesu Grist, "nid am y bwyd a dderfydd, eithr am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol." "Na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwytaoch, neu pa beth a yfoch; neu am eich corff pa beth a wisgoch. Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg."

Yr wyf fi yn lled wael fy iechyd er ys rhai misoedd. Cefais lawer o b yn fy *mrest* y flwyddyn hon; ac yr wyf wedi myned mor llesg a gwan fel nad wyf yn gallu myned oddi cartref y Sabbothau er ys dau fis i'r Sabboth nesaf. Y mae cofio pwy sydd yn llywodraethu, yn rhoi cymorth i mi ymdawelu. "Yr Arglwydd a barotodd ei orseddfa yn y nefoedd, a'i freniniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth." Y mae cystuddiau a phob peth dan ei lywodraeth ef. Y mae amcan grasol a daionus gan yr Arglwydd yn mhob peth sydd yn ein cyfarfod, a gall beri i bob peth gyd-weithio er daioni i ni. Heb. xii. 5—12. Y mae cyfarwyddiadau y Beibl yn werthfawr iawn genyf. O! am gymorth i ymddarostwng dan alluog law Duw—ac ymnerthu beunydd yn y gras sydd yn Nghrist Iesu. Yr wyf yn gwellau yn dda yn bresenol. Yr wyf yn gallu myned i'r capel y *dydd*. Y mae y Meddyg yn gwhardd i mi fyned allan y *nos*. Yr wyf yn gobeithio y byddaf yn alluog yn fuan i ddilyn moddion gras yn gyflawn fel eynt; a dymunwn ddiolch i Dduw a chymeryd cysur.

Y mae fy mam a fy chwaer yn iach, ac yn cofio atoch yn fawr.

Diau eich bod wedi clywed am y diwygiad crefyddol sydd yn y gwledydd yma y misoedd hyn. Y mae yr achos crefyddol yn llwyddianus iawn, miloedd lawer yn cael eu "chwanegu beunydd at yr eglwys" mewn gwahanol wledydd. Y mae y diwygiad wedi dechreu yn rymus iawn mewn rhai manau yn Sir Fon yr wythnosau diweddaf. Yn y Dwyran a Niwbwrch clywir sain cân a moliant, a llef gorfoledd, fel yn y dyddiau gynt; ac y mae ugeiniau o'r newydd wedi ymuno â'r eglwys yn y tair wythnos diweddaf. Y mae y cyfarfodydd gweddiau yn lluosogi yn Gwalchmai, a llawer o fanau eraill—ac y mae aml un o'r newydd yn dyfod i'r eglwys; a gobeithiwn "nad yw hi eto ond dechreu gwawrio." Bu y Parch. John Jones, Blaenanerch, trwy y sir yma y mis o'r blaen. Yr oedd yn pregethu

yn dda iawn; yr oedd tyrfaoedd lluosog iawn yn ei wrando. Dywedir na bu neb yn y sir yma mor boblogaidd ag ef er amser y Parch. John Jones Talysarn. Ei destyn ef yn Gwalchmai oedd yn Esay xlv. 22.

Y mae Rowland Williams, Tŷ Mawr, yn glaf heb allu dyfod o'r tŷ er ys llawer o fisoedd. Y mae Mrs. Ann Thomas, y *Shop*, wedi marw er ys tair wythnos i'r Sabboth diweddaf, sef Medi 18fed, 1859. Fel yna anwyl frawd, os bydd i chwi ddyfod i Gwalchmai eto, chwi a gewch weled lle llawer yn wâg. Mae yn debyg eich bod yn cael pob newyddion gan eich chwaer yn ei llythyr atoch.

Y mae capelau mawrion a theg yn cael eu hadeiladu mewn amryw fanau yn Sir Fon, yn Elim, Llandegfan, Gorad; ac y mae amryw eraill i gael eu hadeiladu y flwyddyn nesaf. Y mae capel yn cael ei adeiladu wrth efail William Mark, gynt. Fel yna, anwyl frawd, chwi welwch fod teyrnas yr Arglwydd Iesu yn llwyddo yn ein gwlad.

Bellach rhaid i mi derfynu, gan obeithio y caf eich gweled eto, ac ymddyddan wyneb yn wyneb.

Wyf, anwyl frawd,

Yr eiddoch,

DAFYDD CHARLES.

*Gwalchmai, Hyd.* 13, 1859.

---

## GLYN WRTH DDARLLEN.

MEDDYG yn India, wedi brwydr waedlyd a ymwelai â'r ysbytty, a llefarai air o gydymdeimlad a chysur wrth bob dyoddefydd. Cyn gadael y clwyfedigion, darllenodd bennod o'r efengyl yn ol Ioan wrth wely un o honynt. Gwrandawai y clwyfedig yn astud, a diolchai yn wresog i'r darllenydd. Ar ei ail ymweliad, dywedodd yr ail feddyg wrtho y dymunai y clwyfedig y darllenwyd y bennod iddo gael ei weled eilwaith. Wedi myned ato, ymddangosai yn llawen ei weled, a dywedai, "Myfi ydyw yr unig Brotestant sydd yma. Pan oeddwn yn fachgenyn, awn i'r ysgol Sul. Yr oedd fy rhieni yn ofni Duw, ond yr oeddwn i yn fachgen gwyllt, anufudd, a drygionus; troais fy nghefn arnynt, ac ar eu Duw; bu darlleniad y bennod yn foddion i ddwyn fy mhechodau ger fy mhron, a fy hen droion o flaen fy wyneb.

Yr wyf yn canfod fy mod yn bechadur truenus, ond gobeithio y cymer yr Iesu drugaredd arnaf. O Syr! a fyddwch chwi mor garedig ag ysgrifenu at fy mrawd sydd yn y gatrawd sydd yn M——, a dymuno arno feddwl am ei enaid a dyfod at yr Iesu?" Y mae y meddyg hwn wedi myned at ei wobr, i'r wlad lle nad oes neb yn glaf, wedi bod yn offeryn i droi llawer yma at gyfiawnder a Cheidwad. Ddarllenydd ieuanc, yn mha sefyllfa bynag y byddi yn y byd hwn, ymdrecha ddefnyddio pob cyfleusdra i ddyweyd gair am Iesu wrth bechaduriaid, ac am olud ei ras, a rhinwedd ei waed a gwerth ei aberth i golledigion y ddaear.—*Athraw.*

---

## Y DDIOD FEDDWOL.

Y mae'r ddiod gref i'r meddwyn
Fel yr abwyd i'r pysgodyn;
Porthi'i flys wrth fodd ei galon,
Nes bo'r bach yn ei goluddion.

Peth peryglus iawn yw hyny,
I ryw un gael gan sarff ei frathu;
Eto miloedd gwaeth yw'r sorod,
Sydd yn dod trwy yfed gwirod.

Peth peryglus bod 'mysg bleiddiaid,
Ganol nos heb neb yn gweled;
Eto gwaeth yw cadw cwmni
Rhai o'r wyn sy'n arfer meddwi.

Bum yn gwel'd yr ych yn llamu,
Gan y cigydd wedi—i beagi;
Ac yn chwareu nid yn ara',
Pan yn myned tua'r lladdfa.

Felly'r meddwyn ffol annyddan,
Pan yn yfed yn y dafarn,
Er dynwared bod yn hoyw,
Mae ei dynged ef i farw.

Gwrando air, O feddwyn aflan,
Cymer gyngor, gad y cwpan;
Ond os yfi heb ymattal,
Byddi'n uffern yn *deetotal!*

*Sardis.* R. H. Evans.

## Y TEULU ANNEDWYDD.

**Esther v. 13. "Ond nid yw hyn oll yn llesâu i mi, tra fyddwyf fi yn gweled Mordechai yr Iuddew yn eistedd yn mhorth y brenin."**

LLYFR yn cynnwys hanes gweithrediadau Rhagluniaeth yn rhyfedd iawn yw llyfr Esther. Y mae rhai am ei wrthod am nad yw yr enw Duw ynddo; eto, dangosir ynddo yn amlwg fod a fyno Duw a'r holl amgylchiadau. Os nad yw y gair Duw yn ein iaith ni, y mae yn y Groeg, yn pen. ii. 20. "Nid oedd Esther yn mynegi ei chenedl: megys y gorchymynodd Mordechai iddi i ofni Duw, a chadw ei orchymynion fel yr oedd hi yn gwneuthur pan gydag ef."

Hanes rhai yn ofni Duw sydd yn rhan fawr o'r llyfr, yn nghyda gelynion i'r rhai hyny. Brenin annuwiol oedd Ahasferus, ond yn meddu teimlad pan fyddai galw. Dynes gall, dduwiol oedd Esther. Dyn ag ofn Duw yn ei galon oedd Mordechai; ond dyn heb deimlad na chrefydd oedd Haman. Yr oedd ei wraig a'i geraint o'r un egwyddorion ag yntau, ac oblegid hyny, yr oeddent yn hollol annedwydd. Gall na fyddai dau neu dri sylw ar deulu o'r nodwedd yma, ddim yn annerbyniol yn yr "Arweinydd."

I. Rhai yn cynllunio dinystr eraill. Yr oedd Haman o dylwyth drwg, rhai yn dinystrio eraill oedd ei hen hynafiaid. Dywedir mai Agagiad oedd Haman; tebygol ei fod yn un o ddisgynyddion yr Agag hwnw, brenin yr Ameleciaid. Dywedodd Samuel wrtho mai lleiddiad oedd, a'i fod wedi rhoddi llawer gwraig yn weddw. Gall fod gelyniaeth gan Haman at yr Iuddewon oblegid i Samuel ladd ei hen-hen-daid ef. Yr oedd rhywbeth efallai o'r llinach freninol yn Haman. Yr oedd yn cyduno a'r ddau swyddog (wyf yn meddwl) i ddwyn bywyd y brenin, fel y cawsai efe yr orsedd; ac oblegid i Mordechai ddadguddio twyll y rhai hyny, penderfynodd Haman ei ladd, rhag ofn i'w dwyll yntau dd'od i'r amlwg. Nid mewn un dydd yr oedd efe a'i deulu yn tynu eu cynllun-

iau, graddol barotoi oeddent; iawn y galwyd ei enw ef Haman, sef *Parotowr*.

Yr oedd y teulu hwn mor annedwydd fel nas gallent fod am awr yn eu hanedd heb gynllunio pa fodd oedd symud rhywrai eraill trwy y pared i fyd ar ol hwn. Os buasai rhyw rwystr bychan ar eu ffordd, O! yr annedwyddwch oedd yn eu mynwes. Y mae llawer o deuluoedd Hamanaidd yn y byd yn awr, dinystrio eraill a ystyriant hwy yn ddedwyddwch. Nid oes dim gwahaniaeth ganddynt beth a wnant, neu beth a ddywedant, os bydd hyny er dinystr i eraill; ac nid oes deulu dan y lloer mor annedwydd a'r teulu sydd yn astudio pa fodd i ddrygu eraill. Haman oedd yn dyweyd yr amgylchiad. Zeres a'i wraig oedd yn tynu y cynllun pa fodd i wneyd, a'r plant oll yn selio y peth. Yr oedd y plant yn cael digon o addysg i fod yn llofruddion; oblegid fod eu rhieni yn cynllunio pa fodd oedd difetha miloedd o hen genedl etholedig Duw. Y mae teulu annedwydd yn galw yn uchel am gywiru cyfriion. Gocheler bod yn debyg i Haman a'i deulu.

II. Rhai am gael yr holl glod iddynt ei hunain. Yr oedd Haman am gael ei gydnabod yn uwch na dyn, ac oblegid na ddarfu i Mordechai roddi iddo'r clod, digio wnaeth efe. Nid oedd yr Iuddew am y clod ei hun, ond am ei roddi i'w Dduw; a chan wired ag fod Haman yn fyw fe ofala ei Dduw am yr Iuddew ryw ddiwrnod. Wrth gynllunio drwg i eraill, edrych am hunanol clod y mae y teulu annedwydd.

Gan na phlygai yr Iuddew i fab Agag, neu addoli delw Haman medd rhai, yr oedd yn rhaid edrych am ffordd i'w ladd, oblegid fod hyny yn peryglu clod Haman a'i deulu. Nid oedd dim bai ar Mordechai, oblegid fod deddf ei Dduw yn erbyn addoli neb ond y Goruchaf. Gan hyny Haman oedd yn y cam, a Mordechai ar yr uniawn. Annedwyddwch yn unig oblegid anrhydedd a barodd i Haman i feddwl am ladd yr holl Iuddewon. Y mae y rhai sydd o'r un egwyddor ag ef

yn gwbl o'r un amcan y dydd heddyw, fel y gellir pridodoli yr holl annedwyddwch i glod teuluol neu uchelgais annuwiol. Os am gael teulu dedwydd gocheler efelychu teulu Haman. Gwir y dywediad hwnw, mai y rhai addfwyn a etifeddant y ddaear.

III. Rhai heb un meddwl am Dduw a'i waith. Nid oedd Haman na'i deulu yn cymeryd arnynt eu bod yn adnabod Duw, er byw holl dyddiau eu bywyd ar ei daioni. Yr oedd y teulu hwn fel teulu Pharaoh yn rhy ffroen-uchel i gymeryd eu dysgu yn llwybrau y nefoedd, oblegid fod eu calon wedi rhedeg ar y gogoniant a ddylasai y Creawdwr gael. Y mae bron yn ddieithriad os na fydd Duw yn cael y flaenoriaeth mewn teulu, fod hwnw yn annedwydd, ac yn edrych yn gwbl am y clod, yn nghyda dinystr eraill. Fel hyn oedd Haman, gwyddai efe am Dduw yr Hebreaid, am weithredoedd mawrion a rhyfeddol y Duw hwnw yn Nghanaan; ac fod addolwyr hwnw yn well deiliaid na neb yn llywodraeth Ahasferus, eto yr oedd rhagfarn yn meddwl Haman (y mae rhagfarn yn meddwl pob un annedwydd), fel nad oedd yn llesâu iddo weled addolwyr neb yn y llys ond rhai iddo ei hunan. Dyn drwg i'r pen draw oedd efe; pe am i'r brenin gael ei addoli, gwnai hyny y peth yn wahanol; nid hyn, am y clod iddo ei hun oedd y gŵr. Y mae rhyw duedd am fod megys Duw yn y dyn annedwydd. Nid oedd allor i Dduw na chyfraith y Jehofah yn ei anedd, oblegid ei fod ef a'i deulu yn llanw hyny; ac yr oedd yn eu bryd ymlid gorsedd gras o'r wlad; ond yr oedd Duw yn ei erbyn, ac y mae yn erbyn pawb sydd o'i egwyddor. Yr Arglwydd a'n cadwo rhag bod yn debyg i deulu Haman yn annedwydd.

CASGLIADAU.

1. Fod dyn drwg yn cael ei dderchafu yn aml. Y mae Duw yn goddef hyn fel y byddo y cwymp yn rhybudd i eraill.

2. Fod dyn da yn cael ei ddarostwng yn fynych, fel y

gall eraill weled ei amynedd; ond cyfyd Duw ef ryw ddiwrnod, os nad yr ochr hyn, daw i fyny tu draw i angeu, a bydd byth mewn anrhydedd yn y Ganaan nefol.

TACITUS.

## GWERSI Y TEULU.

### MYNYDD YR OLEWYDD.

RHAN I.

Y MAE y rhan fwyaf braidd o ddarllenwyr y Beibl wedi gweled enw y mynydd hwn yn y dwyfol groniclau. Nid anfuddiol fyddai ysgrifenu gair neu ddau arno i'r "ARWEINYDD," a hyny er lles teuluoedd Cymreig.

Yr oedd mynydd yr Olewydd yn sefyll ar y tu dwyrain i Jerusalem. Yr oedd dyffryn Jehosaphat, afon Cedron, a gardd Gethsemane rhyngddo a'r ddinas sanctaidd. Cafodd yr enw am fod coed Olewydd yn tyfu arno, yr oedd yn agos iawn i'r ddinas, ac yn sefyll ar uwch tir na Jerusalem. Dros y mynydd hwn y cymerai teithwyr eu gyrfa tua'r dwyrain. Drosto y daeth y doethion hyny i gyflwyno eu hanrhegion ar enedigaeth y Ceidwad. Yr wyf fi yn meddwl mai rhai o ddisgynyddion yr hen batriarch Job oeddent, er fod beirniaid eraill yn credu fel arall. Ar wastadedd y tu draw i'r mynydd y saif pentref bychan Bethania. Dros fynydd yr Olewydd oedd ein Harglwydd Iesu yn myned i dŷ y ddwy chwaer a'r brawd hyny, a thros y mynydd hwn yr oedd ffordd Jericho. Y mae y ffordd sydd yn rhedeg drosto yn gam fel nas gellir gweled Jerusalem o'r rhan bellaf o hono; ond pan yn y troad uwchben y dyffryn ceir cyflawn olwg ar y Gaersalem ddaearol. Yr ydys yn barnu mai yn y fan hono yr oedd Iesu Grist pan yn mynegu am ddinystr y deml; ac mai o'r fan hono yr esgynodd i'r Gaersalem fry.

Gadewch i ni dybio ein bod yn sefyll ar droad y ffordd. Dyma ni yn awr ar fynydd yr Olewydd! Fechgyn ieuainc

peidiwch rhegi, ferched ieuainc peidiwch chwerthin; oblegid dyma y fan y bu y Messiah yn wylo wrth feddwl am gyflwr Jerusalem. Yr oedd mwy galwad ar y trigolion wylo o herwydd eu pechodau, nag i'r Duw-ddyn wylo yn eu hachos. A allwn ni sefyll yn y lle sanctaidd hwn heb wylo oblegid ein beiau ein hunain? Yr oedd ein Harglwydd wedi ffarwelio a'r deml pan yn eistedd yn y fan hon. Y mae yn debyg na roddodd efe un tro ar ol y waith yma trwy gysegr preswylfeydd y llwythau. Nid godidogrwydd y palasau, gwychder y tyrau, na holl addurniadau hen deml ei Dad fu yn achos iddo wylo; ond cyflwr moesol plant Adda, y rhai o drugaredd yn unig gawsant y wlad hyfryd hono. Yr ydym ninau wedi cael aneddau diogel, sefyllfaoedd llonydd, a gwlad dda; ond a ydym yn fwy gwrthddrychau i lawenydd fod o'u plegyd yn y nef, nag i fod yn rhai i'r Iesu golli dagrau o'n herwydd. Myfyriwn lawer am hyn. Dangosodd Iesu Grist deimlad rhyfedd ar fynydd yr Olewydd, pan ystyriom mai efe yw Arglwydd pawl oll, WYLODD; yn y fan hon lle y mae ein ffydd wedi ein cario yr oedd efe yn wylo. Nid oes dim yn fwy hynod yn mynydd yr Olewydd na rhyw fan arall; ond oblegid i'n Iesu bendigedig ni fod yn wylo arno, ac iddo esgyn oddiarno i'r nef. Y mae rhywbeth yn werthfawr iawn ynddo, yn enwedig yn ein golwg ni.

TACITUS.

---

## MARWOLAETH YR ANFFYDDWYR.

PAN gafodd Volney ei ddal mewn tymhestl ar un o'r llynau, efe oedd y cyntaf i roddi allan yr arwydd o berygl, a chwympo ar ei liniau; eto, pan aeth y dymhestl heibio, i esgusodi ei hun, fe ddywedodd am y gweddiau a ddysgodd ei fam iddo, eu bod wedi rhoddi y fath feddwl yn ei ben, ac nad allai gael gwared o honynt.

Voltaire, yr apostol mawr anffyddaidd, pan yn ymyl marw yr oedd mewn arswyd mawr. Pan ddaeth y meddyg ato fe

ddywedodd, "Yr wyf fi yn ammodi ger bron Duw a dyn doctor, os rhowch i mi hanner blwyddyn, mi a roddaf i chwi hanner fy nghyfoeth." Y meddyg a atebodd, "Syr, ni ellwch chwi fyw chwech wythnos." Voltaire a atebodd, "Bydd yn rhaid i mi fyned i uffern, a chwithau a ewch gyda mi." Ac efe a ddiflanodd.

Diderot a D'Alembert a fuant feirw yn agos, a dim llai arswydus.

Paine a fu farw yn llawn o drueni, yn rhegu Duw, ac yn gweddio ar Iesu Grist am gymhorth.

Emereson, tua diwedd ei oes, oedd yn llusgo ar hyd y llawr un amser yn gweddio, bryd arall yn rhegu.

Geiriau diweddaf Newport oeddent, "Och! ddyoddefiadau, gloesion uffern a damnedigaeth!"

*Oak Hill.* *Cyfl. gan* L. PHILLIPS.

---

## Y PYSGOTWR A'I LUSERN.

AR un adeg, preswyliai pysgotwr ar lan y môr, mewn bwthyn bychan ar ben craig uchel. Gerllaw, yr oedd cilfach fechan dlos, yn meddu traethell dywodlyd esmwyth, lle y byddai yn arfer tynu ei gwch i'r lan, ac yn yr hwn y byddai yn myned allan bob dydd i ddilyn ei orchwyl llafurus ar ddyfroedd y môr cynhyrfus. Aeth allan un diwrnod, fel arferol, i bysgota. Llafuriodd yn ddiwyd a llwyddianus hyd y prydnawn, pryd y gwelodd, wrth edrych i fyny tua'r ffurfafen, arwyddion bygythiol o ystorm. Tynodd ei rwyd i'r cwch, yn uniongyrchol, gan benderfynu, os oedd yn bosibl, cyrhaedd gartref cyn i'r dymhestl agosaol ei oddiweddyd. Ond yr oedd efe yn mhell o'r lan, y gwynt yn ei erbyn, y môr yn gynhyrfus, yr ystorm yn agosau yn brysur, a'r dydd wedi myned heibio o'r bron. Er hyny, gyda chalon ddewr a hyderus, trodd ei gwch i'r cyfeiriad priodol, a dechreuodd rwyfo tua chartref. Tynai yn y rhwyfau yn wrol, a llithrai ei gwch yn gyflym dros y tonau brigwynion. Ond tywyllach tywyllach yr äi y ffurfafen uwch ei ben; a chyn hir, ciliodd goleuni y dydd ymaith yn hollol. Diflanodd y lan o'i olwg, ac nis gallai weled dim o'r nodau hyny ar y tir wrth ba rai yr oedd wedi arfer cyfeirio ei lwybr. Aeth mor agos ag y gallai at y lan, heb fyned i'r perygl o gael ei chwythu yn

erbyn y creigiau danneddog. Yna, rhwyfodd yn mlaen hyd nes y diffygiodd; ond nis gallai weled un arwydd o'i fwthyn, nag o'r gilfach fechan oedd yn ei ymyl. Cynnyddodd y dymhestl, ac aeth y nos yn dywyllach. Llanwyd ef gan anobaith, a hylldremiai angeu yn ei wyneb. Ofnai bob eiliad i'w gwch gwan gael ei lyncu i fyny gan y dyfroedd tymhestlog. Ond ar hyny, canfu belydryn bychan o oleuni. Adnewyddwyd ei nerth. Rhwyfodd yn mlaen yn fwy calonog. Yn bur fuan, deallodd mai o ffenestr ei fwthyn bychan ei hun y deuai y goleuni. Arweiniwyd ef gan y goleuni i'r gilfach fechan y byddai yn arfer myned iddi. Tynodd ei gwch yn ddiogel i'r lan; a chan ei fod yn ddiolchgar am ei waredigaeth, cyn myned i'w wely, efe a daclusodd y llusern, a llanwodd hi âg olew, a gosododd hi yn ffenestr ei fwthyn, er mwyn i'w goleuni lewyrchu ar y cefnfor tymhestlog, ac arwain, efallai, ryw deithiwr blinderus arall i le o ddiogelwch. A pharhaodd i wneuthur hyn tra y bu byw. Ymddygai yn dra phriodol wrth weithredu yn y dull hwn. Gwnaeth ddefnydd priodol o'r llusern ei hunan, ac yna ymdrechodd estyn ei manteision i eraill. A dyma y peth y dylem ninau ei wneuthur. Y mae llusern hynod Duw genym. Y mae yn llewyrchu ar ein holl lwybrau. Y mae yn dangos i ni pa fodd y gallwn hwylio dros fôr tymhestlog bywyd, fel ag i gyrhaedd porthladd gorphwysder parhaus a diogelwch yn y pen draw. Ond y mae tyrfaoedd lluosog o'n cydgreaduriaid yn cael eu taflu yn ol ac yn mlaen ar y môr tymhestlog hwn, heb un pelydryn o oleuni i gyfarwyddo eu llwybrau. Pa beth ydyw ein dyledswydd? Oni ddylem ni ddanfon iddynt y llusern hynod hon? Dyma y cwbl y mae arnynt ei angen. Y mae yn gyflawn alluog i'w harwain i'r unig le yn yr hwn y cânt ddiogelwch. A phan y byddom yn cyfranu ein rhoddion at yr achos cenadol, yn rhoddi ein harian at anfon y Beibl i'r paganiaid tywyll, a phan yn gweddio am i Dduw fendithio ein hoffrymau, yna, byddwn yn dal i fyny y llusern hon, fel y bydd i'r rhai sydd mewn tywyllwch weled ei goleuni, a dilyn ei chyfarwyddyd, a bod yn ddedwydd dros byth. Y mae dau beth, fy anwyl blant, y dylech weddio yn ddifrifol am danynt. Un peth ydyw, am i Dduw roddi gras i chwi i wneuthur defnydd priodol o'r llusern hon eich hunain; a'r llall ydyw, am iddo eich cynnorthwyo i wneyd gymaint a alloch er mwyn ei hanfon i eraill. Pan oedd yr

Iesu ar y ddaear, dywedodd wrth y bobl, "Tra y byddo genych y goleuni, rhodiwch yn y goleuni, fel na ddalio y tywyllwch chwi." Ac y mae yn dyweyd yr un modd wrthym ninau. Os esgeuluswn ddefnyddio y llusern hon yn briodol ein hunain, byddwn drwy hyny yn cyflawni pechod mawr, ac yn gwneyd ein hunain yn agored i berygl mawr. A gwnawn hyny hefyd os esgeuluswn ei hanfon i eraill; canys y mae adnod yn y Beibl, a ddywed, "I'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo."—*Rills from the Fountain of Life.*

---

## TRIOEDD ATHRYLITH.

TAIR sylfaen athrylith; rhodd Duw, ymdrech dyn, a dygwyddiadau bywyd.

Tri anhebgor awen; llygad i weled anian, calon i deimlo anian, a glewder a faidd gydfyned ag anian.

Tri peth anhebgorol i athrylith, deall, myfyrdod, a dyfalbarhad.

Tri pheth a urddant athrylith; ymegniad, dyspwyll, a gwybodaeth.

Tri o nodau athrylith; gwybodaeth anarferol, ymddygiad anarferol, ac ymdrech anarferol.

Tri peth a gynnaliant athrylith; ffyniant, cyfeillion cymdeithasol, a chymeradwyaeth.

---

## DADL Y TRI PHREGETHWR.

### DYDD, NOS A BEIBL.

[*Parhad o du dal.* 321.]

DYDD. Gwell i ni roddi engreifftiau i'r gynnulleidfa o'r hyn fedrwn wneyd. Dechreuaf fi. Boed i'r gwrandawwyr ymgasglu i'r mynydd, yn y tywyllwch, ac aros i mi ddyfod i'r golwg. Y mae y Nos yn cilio, a'r wawr yn tori; ar hyny dacw y bryniau a'r creigiau yn ymddangos, dacw y môr, a'r coedydd, a'r meusydd ïe, dacw yr haul fel olwyn o dân, ac y mae pob peth a ddangosaf fi "yn dadgan gogoniant Duw." Deued y gynnulleidfa y noson nesaf i'r ardd. Wrth edrych o amgylch, yn y *tywyllwch*, y mae pob peth o'r

un lliw, a hwnw yn *ddu;* ond aroser yno nes i mi ymddangos. Yn fy ngoleuni i, y daw miloedd o laswellt i'r golwg, a gwlithyn ar ben pob un. Wedi hyny, y mae peth aneirif o flodau yn ymddangos, a'r oll yn "datgan gogoniant Duw." Gofyner yno, pa un ai Dydd ai Nos yw y pregethwr goreu? Ac wrth fyned oddiyno, gofyner i adenydd hyfryd y paunod, ac adar eraill..

*Nos.* Nid yw yn ddrwg genyf dy glywed yn galw am *engreifftiau.* Yr wyt ti, y Dydd, yn dangos mwy o bethau ar hyd ein daear fach ni, ac o amgylch ein traed; ac yr ydwyt yn fwy manteisiol i drigolion y llawr; ond am y pregethwr goreu yr ymofynwn ni, pa un sydd yn dangos mwyaf o wybodaeth o Dduw? Dacw yr haul yn machludo yn ddiweddglo i bregeth y Dydd, ac addefaf ei fod yn oruchel, ac effeithiol iawn. Ond fel yr wyt ti, y Dydd, yn cilio, daw rhyfeddodau y Nos i'r golwg. Dacw y seren hwyrol, dacw un arall, ac un arall, dacw gannoedd o honynt. Y Nos sydd yn egluro seryddiaeth—yn fy ngholeuni i y gwelwyd y bydoedd fry; ac nid yw ein pelen fechan ni, a'r oll sydd ynddi, ond megys defnyn o gelwrn mewn cydmariaeth i'r rhai hyn. Y mae yr *haul* yn dangos ei hun, ac yn claddu, yn ei belydrau, y pethau sydd o'i ol, ac o'i amgylch, a thrwy hyny yn cuddio gogoniant eu Creawdwr; ond yr wyf *fi*, y Nos, yn myned o'r golwg fel yn delo y pethau hyn i'r golwg. A'r pregethwr goreu, yn ol tystiolaeth pawb, yw yr un sydd yn cuddio ei hun, ac yn dangos ei Dduw. Y mae y beirdd ysbrydoledig yn cyfeirio yn amlach at yr hyn a welir y *Nos.* Yr wyf yn sicr mai myfi oedd pregethwr y Salmydd. Y Nos yr aeth ef allan, ac y dywedodd, "Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd: y lloer a'r ser, y rhai a ordeiniaist; pa beth yw dyn, i ti yw gofio? a mab dyn i ti ymweled ag ef?"

*Beibl.* Tewch ill dau. Yr ydych wedi siarad yn rhy uchel—pregethwyr gwael iawn i *bechaduriaid* yw pob un o honoch. Er mai Duw yw eich testyn, gwybodaeth anmherffaith hollol roddwch o hono *Ef.* Dywedwch ill dau yn lled eglur am ei allu, ei ddoethineb, a'i gymwynasgarwch; ond ychydig ddywedwch am ei gyfiawnder eu sancteiddrwydd, a'i faddeugarwch. Buoch yn pregethu i Baganiaid bob yn ail er diwrnod cyntaf creadigaeth. Dywedwch mai y Creawdwr sydd Dduw, ac nad oes Duw ond efe. Er hyny,

y mae rhifedi duwiau y ddaear yn dangos anmherffeithrwydd eich dysgeidiaeth. Nid oes neb ond fy ngwrandawyr i wedi peidio gwneyd duwiau, ac addoli eilunod.

*Dydd* a *Nos* (ar unwaith). Arnynt hwy y mae—

*Cadeirydd.* Eistedded un o honoch i lawr.

*Dydd* Ar y cenedloedd y mae y bai, "canys ei anweledig bethau ef er craedigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod; hyd onid ydynt *yn ddiesgus.*"

*Beibl* Wel, ni wyr yr un o honoch chwi am *fyd arall.* Appeliaf atat ti. y *Nos.* Yr wyt yn dangos yr wybrenau. Medri ddadguddio ser, y naill ar ol y llall, a dynodi lluoedd o honynt wrth ei henwau; a medri ddangos bydoedd heb rifedi tu hwnt i ser y llygaid noeth, ond cael yspiadur; a medri ddangos pellafoedd sydd tu hwnt i allu ffugrau ein byd ni eu gosod allan. Ond, Nos, a wyddost ti rywbeth am wlad tu draw i farw?

*Nos.* Gwlad tu draw i farw! na, ni chlywais i erioed son am dani.

*Beibl.* A fedri di ddangos y seren oleu ddysglaer, lle mae seintiau, angelion, a Gwaredwr, yn byw?

*Nos.* Na, nid wyf yn deall ddarfod i mi erioed weled y fath le.

*Beibl.* A fedri di ddangos y byd du tanllyd, lle mae annuwiolion yn cael eu cosbi?

*Nos.* Na, na, ni welais i mo hwnw chwaith, ac ni chlywais i erioed air o son am dano.

*Beibl.* Wel, gan na fedr y *Nos* ddangos y byd draw, ofer gofyn i'r Dydd, canys pethau yn ymyl ddangosa efe; ond a wyr un o honoch ddim am *enaid?* Cyfeiriaf y gofyniad hwn atat ti, y *Dydd.* Tydi sydd yn "traethu ymadrodd" am y pethau bychain sydd o'n hamgylch. Yr wyt yn dadguddio mynyddau, moroedd, coedydd, a dyffrynau. Medri di ddangos y rhosynau, y glaswellt, a'r gwlith. Medri ddangos pethau mor fychain a phrydferthion a blodeuyn y glaswelltyn; a medri ddarllen gwersi pwysig am Awdwr anian oddiar ddalenau y rhai hyn oll. Ond a fedri di ddangos *enaid?*

*Dydd.* Enaid! ni welais i erioed y fath beth. Corff yn unig a ganfyddaf fi.

*Beibl.* Felly, gan na wyddost ddim *fod* enaid, ofer gofyn

i ti o ba le y daeth? pa beth yw ei natur? pa beth ddaw o hono pan y bydd marw y corff? ydyw efe yn farwol, neu yn anfarwol?

*Dydd.* Ië, hollol ofer. Ni waeth i ti ofyn i'r plentyn anwyd heddyw am hanes cylchoedd y ser gwibiog.

*Beibl.* A wyr un o nonoch ddim am *Iesu?* A fedri di, y Nos," ddangos gwybodaeth" am Waredwr!

*Nos.* Myfi! na, ni wyddwn i ddim fod ar neb eisiau Gwaredwr.

*Beibl.* A wyddost ti, y Dydd?

*Dydd.* Na wyddwn i.

*Beibl.* A wyddost ti am le a elwir Jerusalem?

*Dydd.* Gwn yn dda. Yr wyf yn myned heibio i'r hen dref enwog bob pedair awr ar hugain.

*Beibl.* A wyddost ti am le yn y gymydogaeth hono a elwir Calfaria?

*Dydd.* Gwn, byddaf yn gweled hwnw hefyd.

*Beibl.* Wyt ti yn cofio am ddim rhyfedd gymerodd le yno ar y Pasc, o gylch deunaw cant a chwech ar hugain o flynyddau yn ol?

*Dydd.* Aroswch chwi. O, ydwyf, yr wyf yn cofio yn burion i mi weled rhywun yn cael ei ffiangellu trwy heolydd Jerusalem.

*Nos.* Gwelais inau hwnw yn myned dros afon Cedron. Gwelais ef ar ei wyneb yn yr ardd, a'i chwys fel dafnau o waed yn disgyn ar y ddaear. Gwelais dyrfa â lampau, lanternau, ac arfau, yn dyfod yno i'w ddal. Pan nesaodd efe atynt, syrthiasant oll yn wysg eu cefnau. Gwelais ryw ddyn bach gwyllt yn tori clust un o honynt, a'r Gŵr fuasai yn chwysu yn ei godi oddiar lawr, ac yn ei gosod wrth ei ben yn ol, mor naturiol fel na fedrai neb weled y cydiad.

*Dydd.* Taw di, y *Nos*, gad i mi fyned yn mlaen. Gwelais ef yn cario ei groes i Galfaria, ac yno hoeliwyd ef, a dau eraill. Cymerodd hyn le am 12 ar gloch, ac ar hyny, crynodd y ddaear, holltodd y creigiau, agorodd y beddau, a daeth rhyw lèn dros wyneb fy haul inau—aeth yn nos, a nos a fu am dair awr. Erbyn i mi ddyfod i'r golwg yr oedd y tri wedi meirw.

*Beibl.* A wyddost ti y Dydd, ddim neillduol am y Gwr oedd yn cano!?

*Dydd.* Na wn i.

*Beibl.* Beth yw dy farn am dano, goleuni natur?

*Dydd.* O, rhyw ddrwgweithredwr ydoedd, yn cael ei roddi i farwolaeth am lofruddiaeth, neu ladrad, neu gabledd, neu rywbeth.

*Beibl.* A ddarfu i ti un amser feddwl mai *Gwaredwr* ydoedd?

*Dydd.* Na ddarfu i mi.

*Beibl.* A soniaist ti erioed ar dy deithiau wrth neb am Waredwr?

*Dydd.* Myfi! naddo erioed. Pa fodd y medrwn i?

*Beibl.* Wel, yn wir, y mae'n dda fod gwell pregethwr yn niwedd y bedwaredd Salm ar bymtheg, nag sydd yn ei dechreu. Amcan Dafydd yn rhoddi "Dydd i ddydd i draethu ymadrodd, a nos i nos i ddangos gwybodaeth," ar y cyntaf yw, dangos, ar y diwedd, fel y mae "cyfraith yr Arglwydd" yn eu curo. Y mae ambell bregethwr yn olaf, am y myn fod felly; y mae eraill yn olaf, o herwydd henaint; ac y mae eraill yn olaf, am fod y Cymry yn dewis cael y gwin goreu ar y diwedd. Felly y mae y Salmydd yn fy rhoddi fi yn olaf, canys myfi yw y pregethwr goreu mewn gwironedd. Esgusoder fi am ymffrostio. Nid yw yn briodol i ddyn ganmol ei hun; ond y mae yn eithaf gweddus i Dduw, ei air, a'i weithredoedd wneyd hyn.

*Nos.* A wyddost *ti* rywbeth am *fyd arall?*

*Beibl.* Gwn. Oddiyno y daethym, ac yr wyf yn gwbl mor gyfarwydd yno ag ydwyf yma.

*Dydd.* A wyddost *ti* rywbeth am *enaid?*

*Beibl.* Gwn, gystal ag y gwyddost dithau am yr haul. Gwn, yr wyf wedi talu mwy o sylw i'r enaid nag i'r corff. A sylwais di ddim ar y Salmydd yn dywedyd, "Cyfraith yr Arglwydd sydd *berffaith*, yn *troi'r enaid.*"

*Y ddau.* A wyddost *ti* rywbeth am *Waredwr?*

*Beibl.* Gwn. Dyma fy mhrif bwnc. Darllenwch Esay, a'r Efengylwyr.—Yn Nghalfaria yr ydwyf gartref.

*Dydd.* Wel, yn wir, rhaid i ni roddi y goreu i ti.

*Beibl.* Gynnulleidfa hoff! Os yw gwrandawyr Dydd a Nos yn ddiesgus, pa faint fydd eich cyfrif chwi? Yr ydych chwi yn mwynhau gweinidogaeth Paganiaid, a fy ngweinidogaeth inau; ac y mae pregethau Dydd a Nos yn fwy eglur ac effeithiol i chwi, nag ydynt iddynt hwy, am fy mod i yn eu hesbonio i chwi. Y mae y Beibl yn agoriad i bregethau

Dydd a Nos; ond cofiwch, wrandawyr, bydd eich cyfrif yn cyfateb i'ch breintiau, ac nid i echryslonrwydd eich troseddau. Y mae gair segur yn fwy pechod y dyddiau hyn, nag a fuasai cablu yn oes y Derwyddon. Y mae meddwl ofer yn fwy pechod yn Nghymru, nag ydyw llofruddio y diniweid, ac ymborthi arnynt, yn rhai o Ynysoedd Môr y De. Y mae cymuno yn annheilwng yn awr, yn fwy pechod nag ydoedd croeshoelio Gwaredwr yn Jerusalem, ddeunaw can mlynedd yn ol. Gwna Iesu i bechod y croeshoelwyr ymddangos yn lled fychan, o herwydd tywyllwch y troseddwyr. "O Dad," ebai Ef, "maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn wneuthur." Ni fedr yr Eiriolwr ddadleu fel hyn drosoch chwi.—*Cronicl.*

---

## CENFIGEN.

PWY sydd â'i lygaid yn agored na wel y genfien hon yn llanw y byd; yn ennyn tân o ryfeloedd yn erbyn breninoedd y ddaear, yn gosod myrddiynau o bobl yn ysglyfaeth i'r cleddyf, ac yn gwlychu y ddaear â gwaed dynion fel gwlawogydd mawrion yn nhir y dwyrain! Gwelwch yr ysbryd hwn yn ennyn ymryson mewn tref a gwlad—yn y bwth lleiaf cystal a'r palas auraidd—yn mhlith y begeriaid cystal a'r swyddogion penaf; ac yn fam i fil o bechodau duon, megys llofruddiaeth, anudoniaeth, trais, gorthrymder, a chelwydd, y rhai a dynodd ddialedd ar y byd fel dyfroedd Noah. Rhowch dro i'n heglwysi, a gwelwch bob gradd, swydd, ac enw; pob doniau a chymhwysiadau, yn methu bod yn rhydd oddiwrth y genfigen hon. Paham y mae cymaint o rwygiadau, ymrysonau, a therfysgoedd mewn cynnulleidfaoedd, ond am fod yr ellyll hwn eto heb ei ladd? Gwelwch weinidogion ag sydd o'r un athrawiaeth a dysgyblaeth, yn oer ac yn anserchog y naill i'r llall. Paham nas gall un gweledydd yma ddyoddef canmawl gweledydd arall acw, ond fod y gwreiddyn hyn eto heb ei farwhau? Paham nas gall gwr Duw yma laweuhau yn llwyddiant gwr Duw acw, onid am yr un achos? A pha'm nas gall yr holl eglwys lawenhau yn nghodiad a derchafiad y naill y llall ond am yr un peth? Yn fyr, os yw'r esgobion yn rhydd, eto mae yr offeiriaid a'r presbyter, y diacon a'r cyngorwr, y clochydd a thorwr y

beddau yn fynych yn cwympo i genfigenu dedwyddwch y naill y llall.—*W. Williams, Pant-y-celyn.*

## DWFR.

MAE syniadau athronwyr am yr elfen ddwfr yn ddyfyrus dros ben. Barna rhai am ei natur ei fod yn ei ansawdd wreiddiol yn hylif rhedegog. Dadleuir yn dŷn o'r tu arall, mai defnydd caled ydyw yn ei ansawdd gyntefig, ac mai cael ei yru i ansawdd hylifawl y mae gan wres, oblegid bob amser lle y byddo absenoldeb gwres, mae y dwfr yn dychwelyd o'i ansawdd hylifawl i ansawdd galed a sefydlog, yr hon ansawdd yn gyffredin a elwir yn iâ.

Mae yn debygol mai peth anhawdd iawn yw cyfarfod â dwfr pur, heb ymgymysgu â rhyw sylweddau eraill. Mae dwfr afonydd a ffynnonau yn gyffredin yn llawn o sylweddau dyeithr; gan fod y dwfr hwn yn rhedeg dros a thrwy wahanol ddefnyddiau, felly y mae yn naturiol iddynt gyfranogi o'u natur. Nid yw dwfr afon ond math o drwyth dros wreiddiau coed, a chlai, pridd, a gwrtaith anifeiliaid, &c., ac nid yw dwfr ffynnon eilwaith ond isgell dros wahanol fwngloddiau, megys *sulphur*, halen, haiarn, glô, ceryg calch, a gwahanol ddaear. Cyfranoga pob dwfr yn helaeth o natur y defnydd ag y byddo yn rhedeg drosto.

Y mae dwfr gwlaw yn burach na'r rhai hyn; ond nis gellir dyweyd bod hwn hefyd yn bur, oblegid y mae hwn yn dyfod drwy yr awyr, a hono yn fynych yn llawn iawn o fŵg a tharth afiach, yn enwedig o gylch y trefydd: ac o ganlyniad, mae yn naturiol i'r gwlaw, pa un yn ei sefyllfa gyntefig sydd yn wlith, ac felly yn aros yn hir yn yr uwch ben cyn ymffurfio yn ddyferynau, a dysgyn ar y ddaear, i gyfranogi o natur yr awyr ag sydd uwch ein penau. Dangosir hyn yn amlwg yn nghymydogaeth gweithfeydd copr, fel ag y mae y gwlaw a ddisgyn drwy y mwg hwn yn angeu i bob llysieuyn.

Y dwfr puraf, yw dwfr eira. Os cesglir hwn mewn hinsawdd oer ar ben mynydd uchel, wedi iddo ddisgyn y nos o'r blaen, a'i fwgdarthu mewn *alembic* wydr, bydd hwn yn agos iawn a bod yn bur. Peth hynod iawn a berthyn i'r dwfr yw, ei fod drwy holl natur. Ceir dwfr yn y sylweddau caletaf, megys y coed sychaf, ac esgyrn wedi sychu am ugain

ac ychwaneg o flynyddau, a roddant hanner eu pwysau o ddwfr; corn hŷdd, wedi sychu am ddeugain mlynedd, a chaledu i'r fath raddau fel y tarawai dân o'r gallestr, rhydd pob owns o hwn, wrth ei fwgdarthu ddram o ddwfr. Y ceryg caletaf wedi eu briwio a'u mwgdarthu, a roddant ddwfr. Y metelau caletaf, megys yr haiarn, yr arian, a hyd yn nod yr aur ei hun, wrth ei fwgdarthu a rydd ryw gymaint o ddwfr.

Mae y dwfr yn fwy treiddiol nag un hylif arall. Treiddia trwy dyllau bychain iawn; aiff trwy dyllau ddeg llai nag awyr; deil chwysigen awyr am flynyddau, ond treiddia y dwfr trwyddi mewn ychydig fynydau; deil lledr cyffredin awyr, ond treiddia y dwfr trwyddo; ïe, treiddia trwy y coed mwyaf durfin, a thrwy ronynau y metelau caletaf wrth ei wasgu. Fel hyn y treiddia trwy gorff pob llysieuyn i'r gwreiddyn. Treiddia trwy bob rhan o'r gwybedyn, er mor annirnadwy fychan yw ei bibellau.—*Arweinydd.*

## Y DIRWESTWR YSGRYTHYROL.

DYWEDIR fod yr Esgob Doane, o Jersey Newydd, yn hynod o wrthwynebol i ddirwest; a bod ei fyrddau yn llwythog o *gin*, *brandy*, gwin, &c. Ychydig amser yn ol, yr oedd y Parch. Mr. Perkins, o urdd "Meibion Dirwest," yn ciniawa gyda'r Esgob, yr hwn, gan dywallt gwydraid o win, a ddymunodd arno yfed gydag ef; ond efe a atebodd, "Nis gallaf wneyd, o herwydd 'gwatwarus yw gwin,'" "Cymerwch wydriad o frandy, ynte," meddai yr Esgob. Atebodd Mr. Perkins, "Nis gallaf wneyd hyny, o herwydd 'terfysgaidd yw diod gadarn.'" Yr Esgob wrth hyn, wedi myned yn lled gynhyrfus, a ddywedodd wrth Mr. Perkins, "Chwi a estynwch y gostrel i'r gwr boneddig sydd nesaf atoch." "Na," meddai yr offeiriad dewr, "nis gallaf wneyd hyny ychwaith, o herwydd, 'Gwae a roddo ddiod i'w gymydog, yr hwn ydwyt yn rhoddi iddo dy gostrel.'" Beth oedd agwedd meddwl yr Esgob yn wyneb hyn, ni ddywedodd ein hysbysydd i ni.

## MAE Y DARLLENYDD IEUANGAF YN RHYWUN.

NI bydd celwrn yn llawn wedi tynu ymaith un defnyn o'i gynnwysiad; un dafn o ddwfr a gynnorthwya i chwyddo y cefnfor; un wreichionen o dân a gynnorthwya i oleuo y byd. Tydi, yr hwn wyt fachgenyn bychan, yn ymsymud yn mhlith y lluaws yn ddisylw, a feddi ddefnyn neu wreichionen o'th fewn a fydd mewn sylw am dragywyddoldeb. A wyt ti yn credu hyn? dod y defnyn hyny mewn gweithrediad, dod adenydd i'r wreichionen, a gwel y canlyniadau. Gelli fod yn adnewyddiad i'r byd. Nid oes neb yn rhy fychan, yn rhy wan, yn rhy dlawd i fod o ddefnydd; meddwl hyn a gweithreda. Nid gwagedd yw bywyd. Cyfod gan hyny, ddarllenydd bychan! a pharotoa i fyw o ddifrif. Gofala am dy lyfr, am dy athraw, am dy rhieni.—*Athraw.*

---

## CWYN UN MEWN TRALLOD.

Yn y dyfnder 'r wyf yn gorwedd
  Dan euogrwydd heb un wawr,
Methu codi'm gwedd i fyny
  Dan y llwyth sy'n ail i'r llawr;
Dwfn ydwyf mewn anwiredd
  Bedd a gloddiais im' fy hun,
'D oes dim a all fy ngodi fyny
  Ond yr Iesu, Duw a dyn.

Tew gymylau y'nt o'm hamgylch,
  Twllwch fel y fagddu fawr,
O! na ddeuai gwynt yn nerthol
  I chwalu'r caddug yma'n awr;
'Rwyf fi bron a rhoddi i fyny.
  Methu gweled p'le mae'm rhan;
Eto cofiaf yr addewid,
  Fod yr Iesu'n ffrynd i'r gwan.

*Bothelle, Wis.* TEITHIWR CALED.

## DUW YN GALW AR DDYNION.

BARN. iii. 20. "Gair oddiwrth Dduw sydd genyf atat ti."

Y MAE y geiriau wedi eu llefaru gan Ehwd mab Gera, mab Jemini, gŵr llaw chwith, un o farnwyr Israel. Llefarodd ef wrth Eglon brenin Moab, pa un oedd yr amser hwnw yn llywodraethu ar Israel. Fe gafodd y testyn ei lefaru yn ymyl marwolaeth Eglon. Fe anfonodd Israel Ehwd ag anrheg i Eglon, i gael hawddgarwch yn ei olwg ef. Gwnaeth Ehwd ddagr daufiniog o gufydd ei hyd, ac a'i gwregysodd dan ei ddillad, dan ei glun ddeau. Yna aeth at Eglon, ac fe gyflwynodd yr anrheg iddo, ac a ddywedodd wrtho, "Y mae i mi air o gyfrinach â thi O frenin." Ac fe nesaodd yn mlaen at y brenin, gan ddywedyd, "Gair oddiwrth Dduw sydd genyf atat ti heddyw."

Ond yn awr yr ydwyf yn galw sylw pawb o ddarllenwyr yr "ARWEINYDD." Y mae genyf finau air oddiwrth Dduw atoch chwithau bron ar ddiwedd y flwyddyn.

I. At y dyn ieuanc anghrefyddol. "Y mae genyf fi air oddiwrth Dduw atat ti." Yr hyn wyf yn dywedyd wrthyt yw ,"Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd.' Ceisia yr Arglwydd yn awr. Rho dy wddf o dan yr iau yn moreu dy oes; y mae Duw yn gorchymyn i ti ymofyn am grefydd pan yn ieuanc. Fe wna ddaioni i'th gorff, i'th amgylchiadau, i'th gymeriad, a mwy na dim i'th feddwl, adfera dy feddwl i ddelw Duw, a gwna dy feddwl yn ddedwydd. Os wyt ti am ddedwyddwch yn y byd, y mae yn rhaid i ti ymofyn am grefydd. Ac y mae Duw yn galw arnat bob dydd. Ystyria pan yn darllen yr "ARWEINYDD," fod gair oddiwrth Dduw ynddo atat ti yn bersonol. Nid gair atoch chwi, ond gair atat ti. Y mae gair Duw yn dy ddwylaw, a llawer o hono yn dy gof. Ystyria mai gair oddi wrth Dduw ydyw.

II. Yr hen bobl ddigrefydd. Y mae genyf air oddiwrth Dduw

atoch chwi. Ystyria dy gynllun. Y mae y pren almon blodeuo, a'th droed megys yn y bedd. Ond y mae y cyflwr druenus iawn. Yr wyt yn felldith yn mhob man lle yr wyt yn trigo, yn felldith yn dy deulu, yn yr ardal, ac yn mhob man lle yr wyt yn myned. Ystyria, yr ydwyt mewn cyflwr truenus. Yr wyt yn annhebyg iawn i ddyfod i ymofyn am grefydd. Ond y mae Duw yn galw arnat heddyw. Gair oddiwrth Dduw sydd yn galw arnat; ac y mae ef yn barod i dy dderbyn. Dywedodd yr Iesu, "Yr hwn a ddel ataf fi, ni bwriaf ef allan ddim." Mae Duw yn drugarog iawn. Digon o rinwedd yn ngwaed Iesu Grist i lanhau pob pechod: am hyny gwrando ar ei air gyda brys, nid oes genych fynyd i golli. Y mae yr amser wedi myned yn mhell. Ein gwrandawyr gwnewch ddianc am eich bywyd.

III. Y mae yn y testyn air at yr hen Gristion, yn dywedyd wrtho am fod yn ddiwyd ar y maes, &c., &c.

IV. Gair oddiwrth Dduw at y Cristion ieuanc. "Chwantau ieuenctyd ffo oddiwrthynt." Gochel gellwair â phrofedigaethau. Paid a bod fel pryf y ganwyll yn chwareu oddeutu y fflam. Nid ar unwaith y mae proffeswyr ieuainc yn myned i'r fagl, ond yn raddol o gam i gam. Gochelwch gellwair â phrofedigaethau, a bod yn ddifraw gyda'r gwaith. Cysgu ar liniau Dalila wnaeth Samson ar y cyntaf, yna colli saith gudyn o'i wallt, yna ei lygaid, yna yn myned yn wawd i'r Philistiaid.

Y mae Duw yn galw arnoch am beidio a chellwair â'r diafol, ond ei wrthwynebu a dyfod yn llwyr o'r Aipht. Nid pawb a ddaethant o'r Aipht oedd wedi llwyr adael yr Aipht, medd Paul. Er melysed oedd y manna, ac er hyfryded oedd y dwfr o'r graig, yr oedd blas ffrwythau gwylltion yr Aipht yn eu geneuau. Er i Orpha ddyfod i hebrwng Naomi a Ruth, yr oedd ganddi ryw bethau yn ol yn Moab, ac i Moab yr aeth. Gwelwyd llawer o grefyddwyr ieuainc fel yna yn dyfod i'r eglwys, ac heb ymadael yn llwyr ag arferion y byd, ac o'r

diwedd yn troi yn ol. Gristion ieuanc, y mae genyf air oddi wrth Dduw atat ti. Gofala. Ystyria lwybr dy draed.

V. Gair oddiwrth Dduw at yr hwn sydd wedi gadael ei grefydd. Gwrando, y mae Duw yn dyweyd, "Nad yw ei enaid yn foddlon i ti," o herwydd toraist dy lw ag ef, ail-groesoeliaist ei Fab. Rhoddaist drymach ergyd i grefydd nag a roddodd yr anffyddiwr erioed. Y mae dy gyflwr yn druenus. Yr wyt yn myned yn galetach, galetach bob dydd—yn ddigon caled i gablu yr enw rhagorol, ddigon caled i gablu yn nghlyw y bobl a'th glywodd yn gweddio, &c. Ond gwrando, y mae genyf air oddiwrth Duw atat. Cyfod yn ddioed o'r fan lle yr wyt ti, a dywed fel yr afradlon, "Pechais yn erbyn y nef," &c., &c.

VI. Gair oddiwrth Dduw at yr hwn sydd yn cloffi rhwng ddau feddwl, &c., &c.

VII. Gair oddiwrth Duw at bawb.

Gweddiwn am gymhorth yr ysbryd i'n cyfarwyddo i gerdded y ffordd yn uniawn.

*Richville.* THOMAS D. REES.

## MYFYRIA DROS UN AWR.

UN o'r prif achosion fod dynion mor bell o'u lle mewn ystyr foesol yw anystyriaeth. Y cam cyntaf er dyfod i dir uniondeb yw ystyried; yr ail yw teimlo; a'r trydydd yw gweithredu. Yna dyna ddyn yn ei le. 'id oes dim modd rhoddi yr ail a'r trydydd heb roddi y cyntaf; ac os rhoddir y cyntaf, byddir yn debyg iawn o roddi yr ail, ac os rhoddir yr ail, byddir yn sicr o roddi y trydydd. Fel hyn mae yr Hollwybodol wedi ein dysgu ni. Yr oedd eglwys Ephesus wedi gwrthgilio; ac er ei hadferyd i'w chariad cyntaf, rhoddodd yr Athraw Mawr y tri chyfarwyddyd canlynol:—"Cofia gan hyny o ba le y syrthiaist, ac edifarha, a gwna y gweithredoedd cyntaf." Ystyried oedd y peth

cyntaf oedd ganddi i wneyd. Felly hefyd am ddyn anystyr-iol. Os myn gael ei ddychwelyd, y peth cyntaf sydd ganddo yw ystyried—meddwl am ei sefyllfa druenus, ac am drugaredd Duw.

Darllenais ysgrif yn ddiweddar dan y peniad uchod, ag sydd yn brawf o'r gwirionedd dan sylw. Cyfieithaf hi, er dyben o lesâu darllenwyr yr "ARWEINYDD." Gweinidog parchus sydd wedi ei hysgrifenu.

"Yn ystod tymhor o ddyddordeb crefyddol yn mhlith fy mhobl yn C——, yr oedd dosbarth o ddynion ieuainc, y rhai a arosent yn ddiofal a difater yn nghylch iachawdwr-iaeth eu heneidiau. Mewn cyfarfod gweddi, lle yr oedd llawer o honynt yn bresenol, cynghorwyd hwy i ystyried eu ffyrdd, ac i fod yn ddoeth. Pan yn nghylch gadael tŷ gweddi, yr hwn sydd mor ddifrifol a thŷ marwolaeth, go-fynwyd yn garedig i'r ieuenctyd hyny fyned adref a medd-wl dros *un awr* am iachawdwriaeth eu heneidiau. Un dyn ieuanc anystyriol, a benderfynodd y talai ef sylw i'r deisyf-iad, ac yr ystyriai y pwnc am un awr cyn myned i orphwys dros y nos. Wedi myfyrio am awr ar ei gyflwr euog a cholledig, ac ar drugaredd Duw tuag ato, fe feddalhaodd ei galon, ac fe ddechreuodd weddio yn bryderus am faddeuant o'i bechodau. Ac ni pheidioddd a myfyrio a gweddio pan ddaeth yr awr i fyny, eithr parhaodd hyd doriad y dydd i feddwl am ei fywyd o wrthryfelgarwch, ac i weddio am faddeuant gan Dduw, ac ni chafodd orphwysdra i'w enaid ychwaith nes iddo roddi ei galon i Dduw, a chredu yn Nghrist. Er fy mawr syndod, fe ddaeth y dyn ieuanc oedd wedi bod mor annuwiol ataf dranoeth i adrodd yr hyn a wnaeth Duw i'w enaid. Ar y cyntaf, meddyliais ei fod yn newydd rhy dda i fod yn wir, oblegid ymddangosai, os oedd yn wir, fel adgyfodiad oddiwrth y meirw; ond wrth ym-ddyddan âg ef mewn perthynas i'w sefyllfa ysbrydol, cefais ef yn ddyn dychweledig. Dywedodd wrthyf, 'Aethym

adref o'r cwrdd neithiwr, a meddyliais fel y dywedasoch chwi, am un awr yn nghylch ceisio iachawdwriaeth fy enaid, ac ni chysgais nes rhoddi fy nghalon i'r Gwaredwr, a dyfod yn greadur newydd yn Nghrist Iesu.' Ymdaenodd y newydd am ei ddychweliad fel tân gwyllt drwy y pentref a'r dref, a dygwyd rhai o'i gymdeithion drygionus ac anystyriol i geisio a chael yr Arglwydd drwy ei esiampl.

"Arweiniodd hyn fi i ofyn, paham y mae cynnifer o ieuenctyd yn esgeuluso iachawdwriaeth eu heneidiau, a byw yn anedifeiriol yn y wlad Gristionogol hon? Oddiwrth dystiolaeth y dyn ieuanc hwn a ddychwelwyd at Dduw, arweiniai fi i gredu mai am nad ydynt yn meddwl am eu ffyrdd. Nid yw yr ieuenctyd anedifeiriol yn myfyrio dros un awr am eu sefyllfa euog a llygredig, ac am yr hyn a wnaeth Iesu Grist er eu gwaredu oddiwrth ganlyniadau ofnadwy eu pechodau. Y pechod o anystyriaeth yw pechod mawr a gwaeddfawr y mwyafrif o ieuenctyd ein gwlad. Yn yr olwg arno, nis gallaf lai na gwaeddi, 'O na baent ddoethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd!' O na fyfyrient dros un awr!"

*Summit Hill.* JOHN E. JONES.

---

## ARAETH AR Y FEIBL GYMDEITHAS,

A draddodwyd, gan y Parch. R. H. EVANS, Sardis, yn Oak Hill, O., Nadolig, 1857.

GWEINIDOG unwaith pan yn casglu at y Beibl Gymdeithas, a aeth at ryw dŷ, a gwelai hen wraig yn sefyll yn y drws, a gofynai ei hewyllys da. Yr hen wraig, gan ei bod yn hwyrfrydig i roddi, a ddymunai gael ei chymeryd yn esgusodol. "Fe allai y carai yr hen ŵr roddi peth," meddai y gweinidog. "Na, nis gall un o honom roddi dim," atebai yr hen wraig. "Paham felly?" meddai y

gweinidog. "Wel Syr," atebai hithau, "yr ydym wedi bod yn golledwyr lawer gwaith wrth roddi," ac yn dymuno cael cydsyniad ei gwr, tröai ei gwyneb i'r tŷ, a gofynai, "onid ydym ni, Thomas?" Daeth yr hen ŵr i ben y drws dan gosi ei gernau, ac mewn modd arafaidd, atebai, "Ydym Mary, yr ydym wedi colli llawer iawn wrth roddi at achosion da. Yr ydwyf fi wedi colli llawer cyn i mi ddechreu rhoddi at achosion da. Yr wyt yn cofio, Mary, yr oedd genyf hen lestr mawr, yn yr hwn y gwnawn gario dwfr, ac yr wyf wedi colli hwnw er ys llawer dydd. Hefyd, yr oedd genyf hen het dyllog, hen hugan garpiog, a hen esgidiau tyllog, co ais y rhai hyn hefyd. A! Mary, yr wyt yn cofio er ein bod yn hynod dlawd fy mod yn arfer meddwi weithiau, a chynenu â thi ar ol dyfod adref, ac mae hyny wedi myned ar goll. Yr wyf wedi cael fy mlino gan ofnau ac amheuon lawer gwaith; ond diolch i'r nefoedd, mae hyny wedi ei golli. Yr wyt tithau Mary, wedi colli cryn lawer hefyd. A wyt ti yn cofio am yr hen *fashion* golchi hyny oedd genyt i wneyd dy fywioliaeth wrtho? ond yn awr yr wyt wedi ei golli. Ac a wyt ti yn cofio am yr hen *frock*, a'r hen *fonet* hono, heb ddim i'w newid; ond yn awr, yr wyt wedi eu colli, ac yr wy wedi colli llawer o anghysur hefyd o fy herwydd i; ond nid wyt wedi colli cymaint a fi, neu fe fuasit wedi colli dy anmharodrwydd i gyfranu."

Yr ydym ninau, pobl Gallia a Jackson, wedi colli llawer er pan ydym wedi dechreu rhoddi at y Gymdeithas Feiblaidd. Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd *log cabins* yn britho y gymydogaeth; ond yn awr, yr ydym wedi eu colli, a byddai yn gryn gamp cael gafael yn un o honynt. Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd dillad *jeans* yn britho ein holl gyfarfodydd; ond yn awr yr ydym wedi eu colli, a'r merched wedi colli eu *calico dresses*. Nid wyf am enwi yr holl bethau, ond arwain eich meddwl i edrych faint ydych wedi e golli. Yn lle *log cabins, frame houses;* yn lle *jeans*, brethi

yn; yn lle *calico*, *silk* a *satin*; yn lle *sleds*, *buggies*; yn lle rhawiau, erydr *patent lever*.

Ond mi ddychymygaf glywed rhywun yn barod i siarad yn lle arian, *trade*; beth meddwch chwi am hyny? Wel, yr wyf wedi bod yn meddwl yn ddiweddar am Job, dyn duwiol iawn, ac yr oedd Satan wedi myned i lygadu arno. "A ddeliaist ti ar fy ngwas Job," meddai yr Arglwydd, "yr hwn nad oes gyffelyb iddo ar y ddaear?" "Ai yn ddiachos?" meddai Satan. Ni welodd Job yr un caledi erioed. Dwg di ef i dlodi, fe a'th felldithia o flaen dy wyneb. Wel Satan, dyna ei feddianau yn dy law di, a chyda hyny, dyna hwy o law Job i gyd. "Bendigedig," meddai Job. Ennillaist ti ddim, Satan. "Croen am groen," meddai Satan, "a'r hyn oll sydd gan ŵr a ddyry efe am ei einioes." Cyffwrdd â'i esgyrn a'i gnawd. Dyna ef yn dy law; ond parhaodd Job yn ei berffeithrwydd. Mae Satan yn elyn pob daioni, ac yn edrych ar gyfraniadau pobl Gallia a Jackson, yn peri iddo golli ei ddeiliaid, a rhoddi testyn canu i angelion, yn edifeirwch cannoedd o baganiaid. A'r Arglwydd yn dywedyd, a weli di Gymry Gallia a Jackson, nid oes gyffelyb iddynt ar y ddaear am roddi at y Feibl Gymdeithas. Ai yn ddiachos? meddai Satan, yr wyt yn eu llwyddo mor dda; ond nid oes fawr o egwyddor rhoddi ynddynt hwy. Wel, myner prawf arnynt. Yr oedd yn bur anhawdd cael arian y llynedd; eto, rhoddwyd $900 i'r Fam Gymdeithas. Caiff fod yn anhawddach eleni eto i gael prawf teg o honynt. Beth a roddai fwy o siomedigaeth i'r cythraul, feddyliech chwi, nag i ni ymdrechu? Mae llawer un yn ymdrechu fwy nag y gallo o ran *spite* i ryw un arall, mae hyny yn bechadurus; ond rhinwedd yw *spitio* y gwr drwg. Pan y gwneir rhyw *spite* i ddyn cas, fe bair i ddynion chwerthin. A phan y gwneir *spite* i'r diafol, os goddefwch yr ymadrodd, fe bair i angelion chwerthin. Fe roddaf fi fwy eleni nag un flwyddyn i siomi y gwr drwg. A gydunwch chwi â mi? Ond

nid dyna i gyd, y mae dynion yn meirw o eisiau Beiblau. Edrycher ar y byd, pa mor ëang yw adenydd Pabyddiaeth, yn gweithu maddeuant, gan dwyllo y bobl, trwy ddywedyd, y gellir meddiannu dawn Duw er arian, ac y gellir dianc o fynwes Dalila i fynwes Abraham. System sydd yn attal rhyddid, yn rhwymo cydwybodau, a damnio eneidiau. Lle mae iawnderau wedi syrthio yn mysg lladron, a'r offeiriaid yn myned heibio o'r naill du. System ydyw sydd yn amcanu gwthio Gwaredwr y byd o'i swydd gyfryngol, a gosod Pabau a seintiau yn ei le. Dyma fam puteiniaid, a ffieidd-dra yr holl ddaear, a chanddi fwy na chan' miliwn o blant yn marw dan ddwylaw cigyddion creulawn. Mae eisiau Beibl arnynt. Ni saif Pabyddiaeth lle byddo Beiblau, a gŵyr yr offeiriaid hyny yn ddigon da.

Edrychwch ar y gau brophwyd eto. gwneyd dysgyblion oedd ei amcan cyntaf. Yr ail beth, yw eu llanw â chreulondeb. A'r trydydd peth, yw sathru dan draed bawb a wrthodo eu ffydd. Cawsant fod iant o'r rhanau prydferthaf a ffrwythlonaf o'r greadigaeth. a throisant hi yn anialwch, ac angyfanedd-dra moesol; ond mae cyw dlorion y Beibl yn dechreu gweithio dan orsedd y gau brophwyd. Mae y *bombardment* wedi cymeryd lle, ac mae galwad am ragor o'r *bombshels* yma, *Beiblau*! BEIBLAU!! BEIBLAU!!!

Trown ein llygaid eto i faes Paganiaeth. Pwy all beidio wylo. Dyma drigiogaeth annudduwiaeth, lle y ymgynullant a i gablu Duw y nefoedd, yn gosod aberthau ar allorau y duwiau, yn unig i ychwanegu euogrwydd. a chasg'u tanwydd i'r gydwybod. Yr ydwyf yn cofio am beth ddywedodd bardd Saesonig ar mater hwn:

> *"Oh could I picture out the full effect,*
> *Of that soul-withering power distress?*
> *I'd write a page which whose dared to read,*
> *His eyes, instead of tears, in crimson drops should bleed."*

O drueiniaid! Darllenaf ddesgrifiad Paul o honynt.

Rhuf. iii. 10—18. Mamau yn lladd miloedd o'u plant bob blwyddyn er mwyn peidio cael y drafferth o'u magu. Os merched fyddant, eu dull cyffredin yw eu rhoddi at eu caethion i'w lladd yn y modd y gwelant hwy yn dda. Rhoddwn Feibl iddynt i dynu i lawr y garnedd angladdol, a chipio y gweddwon o'r tân, a'u cyfeirio at Waredwr, a chipio y Bramin oddi tan olwynion *Juggernaut*, a'i ddwyn at allor y Duw byw, a chroes ein Harglwydd Iesu Grist. *Beibl!* Fe ddywed wrth y trueiniaid sydd ar lan y Ganges, mai trwy *channel* y gwaed y mae y ffordd i wynfyd, sef gwaed Crist. Fe'u cyfeiria at "Afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel y grisial, yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen." Fe wna ein Beibl rymusder cyn hir. Fe blana groes Crist yn Grand Mosk, yn Mecca. Fe dafl oleuni Cristionogaeth ar diriogaeth dywyll paganiaeth. Daw bywyd ac anllygredigaeth i oleuni drwy yr efengyl. Dwg filoedd sydd yn ceisio golchi eu pechodau yn nwfr y Ganges, i olchi eu gynau yn ngwaed yr Oen. Yn lle bonllefau a sŵn olwynion dychrynllyd *Juggernaut*, bydd peroriaeth o fawl i Dduw y nefoedd. Gwnaiff cyfraniadau Cymry Gallia a Jackson, chwanegu trigolion yn ngwlad gogoniant. O lyfr gwerthfawr!

"O roddion nef, y goreu yw
Y gair wnaeth Duw lefaru;
Ei werth, nid dyn, nac angel chwaith,
Sydd ganddo iaith i'w draethu."

Beth sydd wedi dwyn dros hanner miliwn o wasanaethwyr yr eilunod i wybodaeth o'r gwir Dduw, a thros gymaint a hyny o blant a dynion mewn oed i ysgolion? Yr efengyl. Safai tywysog o New Zealand unwaith mewn cynnulliad crefyddol o blant ynys New Zealand. "Goddefwch i mi siarad," meddai ef, "mae yn rhaid i mi siarad. O na chawswn wybod fod efengyl i ddyfod! O na wybuaswn fod y trugareddau yma yn *store* i mi! O na buasai fy mhlant bychain inau yma! Ond Och! myfi a'u lleddais hwy."

Yna y torodd allan yn llif o ddagrau, ac a felldithiodd y duwiau, a dywedai, "Parasoch i mi ladd pedwar ar bymtheg o'm plant. O na fuasai rhywun yn gafaelyd yn fy llaw, a dywedyd fod efengyl yn dyfod i dirio yn New Zealand.

---

## GWERSI Y TEULU.

### MYNYDD YR OLEWYDD.

RHAN II.

BU Iesu Grist yn myfyrio llawer wrth fyned ar hyd y ffordd hon tua Bethania yn herwydd plant marwolaeth, ac wrth ddyfod yn ol yn y boreu aeth llawer deigryn dros ei ruddiau sanctaidd wrth feddwl mor ddieffaith oedd ei genadwri ,ac mor galon galed oedd dynion, a hwythau ar geulan tragywyddoldeb. Gwelwn yma nad oedd cenadwri ein Harglwydd yn cael ei phriodol effaith ar feddyliau pechaduriaid, ac nid rhyfedd fod ei ganlynwyr yn ddieffaith yn aml.

Yr wyf bron a meddwl weithiau i fynydd yr Olewydd gael ei wneyd gan natur er mwyn i'n Harglwydd fyned i'w ben, a chael cyflawn olwg ar Jerusalem. Dyna y ddinas y bu Dafydd ynddi, efe adeiladodd y rhan acw o honi, ond rhai annhebyg iawn iddoef oedd ynddi pan fu ein Ceidwad yn y fan hon yn edrych gyda dagrau' trugaredd arni. Sancteiddrwydd a weddai ein meddiannu ninau tra yn aros yn y lle. Dyma'r fan y collodd yr Iesu ddagrau, dyma'r fan yr ocheneidiodd, dyma'r fan y dangosodd ei fod yn brophwyd, ïe dyma'r fan y safodd ddiweddaf cyn myned ar ei yrfa tua'r drydedd nef; dyma y fan oedd y disgyblion yn edrych arno pan yn myned, a dyma y fan lle yr ydym ninau yn sefyll yn yn awr. Gadewch i ni godi ein golygon tua'r nef mewn ochenaid gweddi. Arglwydd Iesu, cymer drugaredd arnom, a bydded i olew dy gariad dyneru ein calonau tra yn aros ar fynydd yr Olewydd.

Yr ydym yn cael i Solomon adeiladu teml i'r gau ddduw-

iau ar y mynydd hwn. Yr oedd ein Harglwydd Iesu yn meddwl am hyny, ac yn edrych yn mlaen at yr ofergoelion fyddai gan y Twrciaid yn y fan y safai. Golwg sobr oedd ar ei wedd sanctaidd wrth feddwl am yr holl bethau a gymerodd ac a gymerai le ar fynydd yr Olewydd. Yr oedd edrych ar ddinystr y deml yn mhen blynyddau wedi hyny yn tynu ei sylw difrifolaf. Oblegid cyflawnwyd y cwbl fel y dywedodd; canys noeth ac agored i'w olygon ydyw pob peth. Y mae un peth anhawdd ei wybod, neu beth bynag nid wyf fi yn ei ddeall, sef paham y dewisodd Iesu Grist fynydd yr Olewydd mwy na rhyw fan arall i fod yn lle ei esgyniad? Gall iddo ei ddewis, oblegid ei fod yn ngolwg hen breswylfod y Socinah, yn ngolwg y fan a ddewiswyd gan ei Dad i'w enw drigo ynddo, gan mai Jerusalem oedd unig fan yr addoliad Dwyfol. Yr oedd lle y benglog y tu arall i'r ddinas i'w weled o'r mynydd hwn, gan hyny aeth ein Harglwydd i ogoniant yn ngolwg y fan y rhoddwyd Iawn. Gall mai pethau fel yna a dynodd fynydd yr Olewydd i gymaint o sylw; ond O! y gwahaniaeth sydd ar Jerusalem yn awr wrth yr awr hono. Eithr hyn sydd dda, yr un yw Iesu i gyfranu yn awr a'r awr hono. Nesawn ato, oblegid ei fod yn foddlon derbyn pwy bynag a ddei, gan eu hadduruo â bendithion enaid.

TACITUS.

---

## RHAI O ACHOSION CYSGU MEWN ADDOLIAD.

1. DYFOD yno heb neges, heb geiso Duw, na maddeuant, nac iachawdwriaeth, ond am fod y wlad yn gyffredinol yn arfer gwrandaw, &c. Pwy a gysgai yn y farchnad pe b'ai yn deimladwy o'i angen gartref? pwy gysgai yn moddion gras pe b'ai yn ystyriol o angen ei enaid? mae y cysgadur yn gwaeddi yn wyneb y gynulleidfa a Duw hefyd, "Deuais inau i'r farchnad, *ond nid oes arnaf eisiau dim!* yr wyf yn ddigon segur i gysgu; mi a eisteddaf ac a gysgaf!

dod dy roddion i eraill, dod dy air, dy Grist, a'th Iachawdwriaeth i'r neb y mynot, mi gysgaf fi," &c.

2. Anystyriaeth o'r pethau dan sylw, sef pethau am fywyd, ïe, bywyd tragywyddol yr enaid. Y mae mater y carcharor euog yn cael ei drin, a ffordd cyfiawnhau yn cael ei chyhoeddi; pwy gysgai oni b'ai ei fod yn eithaf anystyriol? ïe, mater rhwng Creawdwr a chreadur, rhwng Duw a phechadur, rhwng Brenin a deiliad gwrthryfelgar, rhwng Barnwr a charcharor euog, ïe, rhwng Jehofah tragywyddol a dyn sydd i fyw byth; ac y mae achos sydd rhwng y pleidiau hyn â chanlyniad tragywyddol iddo! Pa garcharor heb ynfydu mewn anystyriaeth a gysgai pan yn sefyll ger bron y fainc.

3. Dibrisdod o bethau yr iachawdwriaeth. Mae y cysglyd mor effro a neb yn y ffair ar farchnad, a chyda'r pethau ag y mae efe yn eu cyfrif yn werthfawr; pwy sydd yn fwy effro ar y maes a chyda'r cynânaf, a chyda masnachau bydol, na'r rhai sydd yn cysgu yn moddion gras? Y maent yn gweled gwerth a thegwch pethau amser, ac y mae gwerth a thegwch pethau tragywyddol allan o'r golwg, gan hyny cysgant pan yn ymarfer â hwy.

4. Diffyg parch yn y meddwl i Dduw, ac adnabyddiaeth o wrthrych addoliad. Maent yn ceisio addoli Duw heb ei adnabod, gan hyny y maent yn syrthio i gysgu yn lle addoli! Y mae pawb sydd yn adnabod Duw yn ei addoli gyda gwylder a pharchedig ofn, oblegid y maent yn gwybod ei fod ef "yn dân ysol," &c. "Mae Duw yn ofnadwy yn nghynulleidfa y saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd!" A phwy ond un eithaf dibarch i Dduw, ac anwybodus am Dduw, yr hwn sy'n fawr ac ofnadwy, a anturiai gysgu yn ei gynteddau; y fan y mae Duw i'w ofni fwyaf? Yma y dylem ddyosg ein esgidiau, ac yma y dylid gwylio ar y troed, h. y., ar yr holl agwedd yn y modd manylaf. Pwy ond un eithaf dibarch i'r brenin a gysgai pan byddai cenadwri oddiwrtho yn cael ei thraddodi? O! gysgwyr mewn addoliad, yr ydych yn gwaeddi mewn effaith fel y canlyn, "Nid oes ofn Duw ger bron fy llygaid; ac nid oes parch yn fy enaid iddo! mi gysgaf yn lle ei addoli; mi a gauaf fy nghlustiau rhag gwrandaw ei air; y mae yn gas gan fy enaid am y Duw sydd yn llefaru."

*Cyfl. gan* T. J. J.

# Y GATH ANFFYDDLON.

## DAMMEG.

PENDERFYNODD boneddiges, gan fod lluaws o lygod yn ymweled â'i chwpbwrdd, ar geisio cath i'w gwylio a'u dal. Cafwyd un, ar ol hir chwilio, o rywogaeth dda, a dymunwyd ar i Pws gyflawni ei dyledswydd yn ofalus a dyfal. "O, gwnaf siwr," ebe hithau; "peidiwch ag ofni; yr wyf wedi dal aml lygoden; ac os gadewch y cwpbwrdd dan fy ngofal, mi addawaf y bydd yn eithaf diogel, yn nghyd â phob peth sydd o'i fewn." Edrychai Pws o gwmpas yn ddiwyd yn ystod y dydd; a chan fod llygaid ei meistres a'r morwynion arni, ymddygai yn dra gweddus, a daliodd lygoden yn eu gŵydd, drwy yr hyn orchest y derbyniodd gryn ganmoliaeth, ac yr ennillodd serch pawb; ac ar ol hyny, porthid hi â digonedd o lefrith, a phethau da eraill, fel nad oedd arni eisiau dim. Wedi i'r holl deulu fyned i'w gwelyau, aeth Pws i'r cwpbwrdd at ei gorchwyl, a symudai o gwmpas yn ddystaw a gochelgar, megys gwyliedydd da ar wyliadwriaeth. Gwrandawai ar bob swn a chrafiad, ac edrychai i bob cwr o'r cwpbwrdd. O'r diwedd, pa fodd bynag, daeth y syniad hwn i'w phen—"Wel, os oes yma rywbeth yn dda i lygod i'w fwyta, byddai yn eithaf peth i mi chwilio am dano, a chymeryd tamaid bychan i mi fy hun." Gan hyny, aeth at yr ymborth, a dechreuodd ar y pysgod, y cig, y llaeth, yr hufen, a phob peth bwytadwy oedd yn y lle, gan ysglyfaethu mwy ddeng waith na'r llygod. O'r diwedd daeth at ddysgl ag oedd yn cynnwys rhywbeth chwerw, yn gymysgedig âg ymborth blasus. Bwyttaodd hwnw hefyd. Ar hyny aeth yn sâl, canys yr oedd y ddysglaid ddiweddaf wedi ei gwenwyno, er mwyn lladd y llygod. Pa fodd bynag, gan nad oedd y gwenwyn yn ddigon cryf i ladd cath, er ei fod yn ddigon effeithiol i ladd llygod, ni bu farw Pws; ond yr oedd yn bur sâl yn y boreu. a chafwyd allan ei throsedd drwy hyny. Aeth y gogyddes i chwilio y cwpbwrdd, a chanfyddodd fod y gath wedi bwyta ac yfed pob peth y gallai eu cyrhaedd. Pan y clywodd y meistr am ei hanffyddlondeb, gorchymynodd rwymo llinyn am ei gwddf, gyda chareg fawr wrth y pen arall iddo, a'i thaflu i'r llyn agosaf; ac felly, fe foddwyd Pws.

*Addysg.*—Dylem bob amser fod yn ffyddlawn i'n hymddiried; ac os gosodir ni i gymeryd gofal am unrhyw beth, fe ddylem yn hytrach oddef i'r hyn a berthyn i ni ein hunain gael ei niweidio neu ei ladrata, na chyffwrdd â'r hyn fydd wedi cael ei osod dan ein hymddiriedaeth gan eraill. Nid ydyw ymddygiad gwrthwyneb i hyn yn ddim amgen na lladrad, a bydd yn sicr o arwain i warth yn y diwedd, ac yn fynych i ddinystr.—*Udgorn y Bobl.*

## MARWOLAETH PLANT.

NES i ni weled ein plant yn dyoddef, ni ddeuwn byth i ddeall yn iawn y gydmariaeth dyner am diriondeb Duw: "Fel y tosturia tad wrth ei blant, felly y tosturia yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef." Y pryd hyny bydd ein teimladau yn rhoddi esboniad i ni, megys wedi ei ysgrifenu ar ein calonau gan fys Duw, ar y fath dystiolaeth rasusol. A phan y bydd ein plant bychain yn cael eu cymeryd oddiwrthym trwy angeu, mor werthfawr yna yw geiriau ein Iachawdwr: "Eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd." Ar gyfryw achlysuron mae efe megys yn dywedyd gyda gwên cariad tosturiol, "Gadewh i'ch plant bychain ddyfod ataf fi."—*Dr. Wardlaw.*

Bu genyf chwech o blant; ac yr wyf yn bendithio Duw am eu bod oll naill ai gyda Christ, neu yn Nghrist; ac y mae fy meddwl yn dawel yn mherthynas iddynt. Fy nymuniad i oedd iddynt wasanaethu Duw ar y ddaear; ond os ydyw Duw yn dewis eu cael i'w wasanaethu ef yn y nefoedd, *nid oes genyf fi ddim i'w ddywedyd yn erbyn.*—*John Elliot.*

## CYNGHORION YR ESGOB MIDDLETON.

1. EWCH yn mlaen yn ngwyneb anhawsderau.
2. Cedwch eich tymher.
3. Defnyddiwch eich oriau hamddenol mewn astudiaeth, a bydded genych yn wastad ryw waith mewn llaw.
4. Arferwch brydlondeb a threfn gyda eich galwedigaeth, ac nac oedwch hyd amser dyfodol.

5. Ymgedwch mewn hunan-feddiant, ac na'ch siarader chwi allan o unrhyw argyhoeddiad.

6. Codwch yn foren, a byddwch ofalus i iawn ddefnyddio amser.

7. Na fyddwch ar un adeg mewn ffwdan.

8. Ymddygwch yn urddasol, ond heb ymddangos yn falch. Mae moesgarwch yn rhywbeth gyda phawb, ac yn bobpeth gyda rhai.

9. Byddwch wyliadwrus mewn ymddyddan, gan fod yn ddyfal i wrandaw ac arafaidd i lefaru.

10. Na roddwch byth eich cydsyniad i syniadau anfoesol neu niweidiol.

11. Na fyddwch ry barod i adrodd eich rhesymau wrth y rhai nad oes ganddynt un hawl i ofyn.

12. Na feddyliwch fod dim mewn ymddygiad yn ddibwys.

13. Bydded i chwi roddi yn hytrach na dilyn esiampl.

14. Arferwch gymedroldeb manwl. Ac yn

15. Yr hyn oll a wneloch, cofiwch *ddydd y cyfrif.*

---

## GWNEUTHUR DAIONI.

Y WERS gyntaf a ddylai plentyn ei ddysgu oddiwrth ei ei rieni yw, pa fodd i fod yn fendigedig; a'r ail, pa fodd i fod yn fendith. Yr ydych wedi dysgu hyn, fy mhlant o'ch babanod; yn awr ymarferwch hyn. Byddwch fyw i ryw bwrpas yn y byd. Cyflawnwch eich rhan yn dda. Ymddygwch yn y fath fodd fel y bydd colled ar eich ol, wedi myned ymaith. Y mae llawer wedi bod yn y byd, am ba rai y gellir gofyn, Pwy a fu yn well er eu bywyd? Pwy sydd yn waeth er eu marwolaeth? Dagrau pwy a sychasant? Angenion pwy a ddiwallasant? A thrueni pwy a iachasant? Mae hunanoldeb yn felldith iddo ei hun. Y dyn nad yw yn gwneuthur daioni, nid yw yn cael daioni. Anfonwyd ni i'r byd i wneuthur daioni; a bod yn amddifaid o ysbryd i wneuthur daioni yw anghofio y naill hanner o'n neges ar y ddaear. A gawn ni fyw yn nghanol y fath anwybodaeth, pechod, a gresynau sydd o'n deutu, ac heb deimlo mai ein dyledswydd yw gwneuthur da i bawb? Y mae yma rywbeth i bob un ei wneyd, a dylai pawb wneyd a allo.—*J. A. James.*

## DETHOLION.

GALL dyn golli mwy o'i gymeriad mewn mynyd nag a all efe ei ennill mewn blynyddoedd.

"PA'M na roddwch chwi goler lân am eich gwddf, Davies? Yr wyf fi yn rhoi tair bob dydd." "Wel," ebe Davies, wrth yr ysgogyn Jones, "Y mae yn haws i chwi wneyd hyny na llawer un; canys y mae eich mam chwi yn olchwraig!"

DEWISIAD GWRAIG.—Dewiswch y person o flaen arian, rhinwedd o flaen prydferthwch, y meddwl o flaen y corff.

PAN gaffot gydnabyddiaeth newydd, bydd ofalus rhag anghofio hen gyfaill.

CYFADDEFIAD.—Cydnabod bai yw y cam cyntaf tuag at adferiad, a dyna hefyd ydyw y cam cyntaf tuag at gyrhaedd meddwl iachus, os na bydd i ni dagu y llais a arweiniodd i'r cyfaddefiad.

---

### IAWN GADWRAETH Y SABBOTH.

SABBOTH drefnwyd gan Dduw'r nefoedd,
I'w dreulio'n weddaidd er ei glod,
Trwy gyflwyno aberth peraidd—
Gwir addoliad ddylai fod.

Oddiwrth y byd a'i bethau
Ymneillduwn ar ei ddydd,
Fel y profom uwch ei ddoniau
A'n heneidiau yn cael budd.

Adrodd rhyw hen ofer chwedlau,
Nid yw'n weddus iawn i ni;
Wrth ein myned i'w gynteddau,
Dylem feddwl am ei fri.

Dyma ddydd o ymorphwysiad,
Oddiwrth bob llafur blin;
Dydd i gasglu trysor enaid,
Golud o'i anfeidrol rin.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

## PREGETH I BLANT.

DIAR. iv. 3. "Yn dyner ac yn anwyl yn ngolwg fy mam."

UN o'r pethau goreu a allwn gael clywed am dano, ydyw, dedwyddwch rhwng rhieni a phlant, yn enwedig rhwng pob plentyn a'i fam. Yr oedd Solomon yn hoff iawn o'i fam; ac yr oedd hithau yn hoff o'i mab. Bu llawer heblaw y gŵr doeth, fel hyn, a gobeithio y gwelir lluoedd o rieni yn anwyl gan eu plant, yn nghyda'r plant yn meddu anwyldeb eu rhieni. Y boreu y daw hyn oddiamgylch, bydd agoriad drws am gyfnod llewyrchus gyda chrefydd; ac efallai yn wawr i'r milflwyddiant. Y mae ein testyn, er yn mhell yn ol yn y Beibl yn meddu ar ymadroddion hynod dlws, yn rhai gwerth eu cofio a'u defnyddio. Mam a phlentyn yw gwrthddrychau y testyn. Ychydig yn ymyl hyny fydd y sylwadau.

I. YMDDYGIAD MAM AT EI PHLENTYN. "Yn dyner." Y mae hyn yn ddull naturiol mam, oblegid agosrwydd y berthynas sydd rhyngddi â gwrthddrych ei thynerwch. Yr ydym ni yn meddwl fod rhywbeth yn dyner yn yr enw mam. Rhaid iddi hi fyned o'i dull naturiol cyn bod yn sarug; ond y mae yn hawdd ganddi arfer tynerwch. Y mae pob baban yn sefyll yn ddrud i'w fam. Bu yn ei wylio ganwaith yn y nos pan oedd pawb o'r teulu yn huno yn dawel. Bu arni ofid trwm droion rhag ofn nad oedd synwyrau y gŵr bach mor gryf a phlentyn arall; ond pan dyfodd yn llanc, nid oedd modd ei pherswadio i guddio tynerwch at blentyn ei mynwes. Yr oedd pob synwyr yn ei feddiant, a phob aelod yn ei le. Duw yn unig oedd yn gallu gofalu am y rhai hyny; ond yr oedd y fam yn gallu bod yn dyner.

II. SERCHAWGRWYDD Y PLENTYN YN NGOLWG EI FAM. "Yn anwyl." Gair hynod garuaidd, a hollol efengylaidd

yw anwyl. Y mae pob mam yn cyfrif ei holl blant yn anwyl; ond y mae ufudd-dod plentyn i'w fam yn ei wneyd yn fwy anwyl. Gall mai oblegid y rhinwedd hwn yn ei phlentyn yr oedd mam Solomon yn siarad am ei serchawgrwydd ynddo. Gobeithio y bydd i'r holl blant sydd yn darllen yr "ARWEINYDD" efelychu mab Dafydd yn hyn, fel y byddont "yn anwyl" gan eu rhieni. Gwell i'r mab na holl bethau y byd braidd yw bod yn anwyl yn ngolwg ei fam; a gwell i'r ferch na holl drysorau daear, ydyw serchawgrwydd calon ei mam tuag ati. Blant bychain cofiwch am hyn.

III. BARN Y PLENTYN AM ANWYLDEB EI FAM TUAG ATO. "Yn dyner ac yn anwyl yn ngolwg fy mam." Y mae llawer plentyn yn llefaru yn isel am ei fam. Gobeithio na fu yr un fam yn foddion i gynyrchu yr egwyddor ddrwg hono yn ei phlentyn; eithr os gwnaeth y fam ei dyledswydd, bydd barn ei phlentyn am dani wrth fodd ei henaid, a bydd fel ad-daliad am y gofid a'r drafferth a gymerodd wrth ei fagu. Peth sydd yn seinio yn hyfryd iawn ydyw clywed mab neu ferch yn dyweyd eu bod yn gymeradwy gan eu mam, a hono yn cael ei chyfrif gan bawb yn fam dduwiol.

CASGLIADAU.

1. *Fod plant da yn ennill mwy o serch eu mam.* Y plentyn ufudd a gostyngedig, yw yr un a ganmolir, hwnw hefyd a ddaw i anrhydedd. Bu Samuel yn fachgen da ac ufudd i'w fam, cofiodd Duw am dano oblegid hyny. Yr oedd Jacob yn fachgen ei fam, a bu hyny yn help iddo gael y fendith. Y mae Duw yn sylwi ar y plant sydd yn parchu eu rhieni, a bydd yn sicr o'u cofio, a'u derchafu mewn amser cymeradwy. Yr wyf am weled holl blant y Cymry yn y wlad hon yn cofio eu rhieni.

2. *Fod mam dda yn anwyl yn ngolwg ei phlant.* Y mae yn ddyledswydd ar famau i fod yn rhai da, er mwyn arwain eu plant ar lwybrau rhinwedd a duwioldeb, a bod yn gydgyf-

ranogion a'u plant yn yr etifeddiaeth sydd tu draw i angeu. O! rieni, myfyriwch lawer am y ffordd oreu i addysgu eich plant, canys bydd eich cyfrif yn fawr. Blant ieuanc, cofiwch ufuddhau i'ch rhieni, a dyweyd yn dda am danynt. Y mae Duw yn dysgwyl i chwi wneyd hyn, a Iesu Grist yn dymuno hyn ar eich dwylaw, a'r Ysbryd Glân yn barod i roddi Amen, fel i'ch nerthu i gyflawni eich dyledswydd.

TACITUS.

---

## "Y MAE EFE OLL YN HAWDDGAR."

Y MAE hawddgarwch a phrydferthwch Crist i'w ganfod yn y gwir Gristion. Mae yn gorseddu yn ei galon, nes y mae ei brydferthwch a'i dlysni yn ymddangos yn llewyrchus yn ei weithredoedd, a'i brydferthwch sydd yn foddion i ddenu serch a bryd y Cristion i fyfyrio arno, ac yn barod i ofyn, "Pwy sydd yn debyg i fy Anwylyd?" A phwy sydd yn edrych mor hardd? Darlunia ef hefyd "Megys pren afalau yn mysg prenau y coed," a dyna lle mae y Cristion yn hoffi cartrefu bob amser, ydyw dan ei gysgod ef, i chwilio rhwng ei ddail am y ffrwythau hardd a gogoneddus, ac yn cael gwledd felys i'w enaid. Mae ei harddwch a'i brydferthwch i'w ganfod yn ei ymarweddiad, ac yn dysgleirio yn mhurdeb ei egwyddorion, nes y mae ei oleuni llewyrchus yn tywynu ar y byd drygionus. Y mae ei hawddgarwch ef i'w weled yn amlwg yn moesoldeb y byd. Mae ei addurn moesol i'w ganfod yn mhob man lle byddo ei faner wedi cael ei chodi. Crist sydd yn addurn bywyd y Cristion, mae megys seren yn ymddysgleirio yn y ffurfafen, ac yn dyfod i daflu goleuni mwy tanbeidiol nes byddo annuwioldeb yn diflanu fel cwmwl boreuol. Yr ydym o achos ein llygredd a'n anmherffeithrwydd yn methu canfod ei hawddgarwch lawer pryd; ond yr ydym yn byw mewn gobaith am yr amser pryd y cawn ei weled ef fel y mae, a bod yn dragywyddol

debyg iddo. Pa dafod all draethu mor hardd a gogoneddus y bydd ef i'w weled oddiar fryniau anfarwoldeb. Bydded i'w hawddgarwch enyn ein serch a'n cariad tuag ato. Bydded i'w ardderchawgrwydd ef fod yn foddion i'n dwyn i'w fawrygu fel un sydd yn uwch na'r nefoedd, ac hefyd yn weddus i ni.

*Crab Creek, O.* THOMAS HOWELL.

---

## EIRA.

NID yw y gwrthddrych a fyddo yn ymddangos mor fynych ger ein bron yn ennill nemawr o sylw ac ystyriaeth. Felly yr *od* neu yr *eira*. Yr ydym yn myned heibio iddo yn hollol ddisylw oblegid ein bod wedi cynefino ag ef; er hyn oll y mae yn llawn o ryfeddodau yn ei ansawdd a'i ffurfiad, fel pob gwrthddrych arall yn ngweithredoedd y Creawdwr mawr sydd yn ein cylchynu ar bob llaw. Y mae treiliad manwl ar yr eira drwy chwydd-wydr yn dangos fod cywreindeb, manylrwydd a doethineb, i'w canfod wedi ymuno yn ei luniad; gan hyny, gwnawn rai nodiadau ar ei ffurfiad, ei agweddiad, a'i ddyben yn y greadigaeth fawr.

I. EI FFURFIAD. Pa le bynag y byddo dwfr wedi rhewi y mae yn dyfod yn iâ: yn sylwedd trwchus, pwysig, tryloew, a llyfn. Y mae cydmaru *tamaid* o iâ, neu rew (oblegid dywedir ei fod yn bwrw ei ia fel tameidiau) â phluen eira yn fantais i ni olrain y gwahaniaeth sydd yn ei ffurfiad. Yr un dylanwad, dan wahanol amgylchiadau, sydd yn eu ffurfio y naill a'r llall: a'r dylanwad hwnw ydyw *oerni*. Ond y mae y dylanwad yn effeithio arnynt mewn cyflwr gwahanol o ran eu cysylltiad yn nghyd. Pan y byddo nifer o ronynau dyfrllyd wedi ymuno yn nghyd yn nghyflwr dyferyn, y mae oerni yn ei droi yn gorff caled, sef rhew; ond pan y byddo y gronynau dyfrllyd hyny yn nghyflwr tarth, yn wasgaredig oddiwrth eu gilydd, y mae oerni yn eu rhewi mewn cysylltiad a'u gilydd; a dyma yw yr eira, yr hwn sydd bedair ar hugain o weithiau yn ysgafnach na rhew wrth swm gogyfaint. Y mae pob gronyn ar wahan mor fychan ag yw y mân-lwch a ganfyddir mewn ystafell trwy dywyniad haul ar gysylltiadau y canadlen.

Yma gellir gofyn, Pa fodd gan hyny y mae sylweddau

mor fychain, clemiau mor fawr o eira, a'r plu a ddisgynant ar brydiau ar y ddaear? Y mae y gweithrediadau sydd yn dwyn hyn o amgylch yn dra chywrain, gan hyny ymdrechwn fanylu er eu hegluro. Wrth dremio i'r awyr canfyddir y tawch sydd yn ronynau o fychander anychymygadwy yn filiynau o nifer. Drwy ddylanwad oerni, y mae pob un yn dyfod yn sylwedd caled, rhyfeddol o fychan. Fel y maent yn disgyn i wared yn yr amawyr yn at-dyn eu gilydd, ac y maent oll yn meddianu ar eu ffurfiad priodol a gwahaniaethol wedi dyfod megys i gymdeithas â'u gilydd, ac mewn gwynder dysglaer: dyma y modd y mae yr eira yn cael ei ffurfio yn y nen, cyn disgyn yn fantell glaerwen i orchuddio holl wyneb y ddaear.

II. Ei Agweddiad. Y mae cryn wahaniaeth rhwng yr eira a'r cenllysg o ran ei agweddiad a'i ddyben. Y mae Dr. Grew wedi rhoddi darluniad manwl o agweddau amrywiaethol yr eira. Dengys yn eglur ei fod yn rhew mor wirioneddа'r gorchudd fydd ar wyneb y dwfr y gauaf, ond ei fod o ronynau mân ar wahan oddiwrth eu gilydd. Y mae, o leiaf ddeuddeg o fathau o hono o ran agweddau. Y mae rhai yn dri-ongl, megys pe byddid wedi rhwymo tri darn o bren yn nghyd: y mae ereill megys pe byddid wedi rhwymo chwech yn nghyd, yn eu canol: eraill, o chwe' darn, a mân groesau rhyngddynt; ereill yn un darn chwe'-onglog; ereill yn saith o ddarnau chwe'-onglog wedi ymuno; ereill fel seren a chwe' pig fer, a chwe' pig hir iddi: ereill felly wedi eu dyblu: ac eraill groes-ymgroes, ond pob un ar drefniant perffaith rheolaidd, gan eu bod yn cael eu ffurfio drwy weithrediad fferyllaidd, ac yn cadw eu honglau yn hollol gywir. Dichon mai yr achos o'r amrywiaeth sydd yn eu hagweddau ydyw yr amrywiaeth dylanwad sydd gan awyr o wahanol dymheroedd. Wrth ddisgyn, y mae yr eira yn cyfarfod ag awyr oerach neu leithach na'u gilydd, mewn gwahanol uchder; ac y mae pob un yn effeithio mewn rhyw fodd ar y gronynau unedig; ond y mae y cyfan wrth ryw ffurfiad perffaith gelfyddgar, fel nad oes dim yn yr un o honynt yn ymddangos fel ôl damwain, ond yn hytrach fel gwaith manwl, cywrain, a gorphenol y celfyddydwr. Y mae ei wynedd i'w briodoli i fychander y gronynau asiedig; ymddangosai rhew yr un modd wedi ei falurio yn ddigon mân. Nid oes dim yn y greadigaeth ag sydd yn dangos mwy o brydferthwch yn ei ffurfiad a'i agweddiad na'r eira.

III. Ei Ddyben. Nid ydyw deall ffurfiad ac agweddiad yr eira o gymaint pwys i ni ag ydyw deall y dyben o hono yn y Greadigaeth. Nid ydyw y cenllysg mor werthfawr a'r eira. "A welaist ti drysorau y cenllysg, y rhai a gedwais i hyd ddydd ymladd a rhyfel?" Ni chadwyd yr eira at ymladd na rhyfel, ond at wrteithio neu orchuddio y tir. Nid yw y gorchudd eira a guddia wyneb y ddaear yn y gauaf yn ei hoeri, ond yn hytrach yn ei chynnesu; ac felly y mae yn attal i'r awelon ei hoeri, fel na nycher yr egin. Y mae dadl yn mysg naturiaethwyr mewn perthynas i duedd wrteithiol yr eira. Haera rhai ei fod yn cynnwys *nitrous salts*, a'i fod oblegid hyny yn ffrwythloni y tir. Pa fodd bynag, gellid penderfynu ei fod yn cynnwys ynddo ei hun yr un elfenau rhinweddol a'r gwlaw cyffredin, heblaw ei fod yn ateb y dybenion pwysig o ddiogelu y llysiau rhag effeithiau niweidiol min yr awel, Y mae gwres y pridd yn gyffredin yn 48 gradd Fahrenheit. Ni all egin rewi mewn pridd o'r tymheredd hwn: o ganlyniad, gwelir yn amlwg un o'i ddybenion neillduol yn y greadigaeth. Y mae rhai llysiau yn goddef mwy o oerni na'u gilydd, heb golli ei hydyfiant: y mae gormod o oerni yn hollol nychu rhai. Pan y delo gwyneb y ddaear mor oer, ac na byddo dim angen am wlaw, ond y byddo yn hytrach yn niweid, y mae rhagluniaeth ddoeth wedi darparu y gorchudd hwn er amddiffyn yr hydyfiant, ac attal niweid llifeiriant.

A oes modd bod dim eglurach oddiwrth y sylwadau uchod, na bod dyben gan y Creawdwr doeth yn holl drefn ordeiniadau y nefoedd, yn mhob peth? Onid yw hyn yn eglur ddangos ei haelfrydedd a'i ddaioni, a'i ofal am ei greaduriaid? Y mae cysylltiad agos rhwng y gawod eira oer yn y gauaf a'r cynhauaf toreithiog fydd yn gorchuddio wyneb y ddaear yn niwedd yr haf. Os ydyw natur yn dechreu parotoi a cynhauaf mor foreu a gwyliau Nadolig, onid ydyw yn hyn galw ar yr amaethwr a'r garddwr i ystyried beth sydd ganddynt hwythau i'w gyflawni mewn ffordd o gyd-weithio, er cyrhaedd ffrwyth eu llafur, a mwynhau bendithion y nef? Y mae rhag-ystyriaeth fel hyn yn sicr o ddwyn gwersi buddiol i'r meddwl, ac o godi dyn at ei waith. Mewn cydweithrediad â rhagluniaeth y mae y llafurwr yn ennill ei fara— "Llaw y diwyd a gyfoethoga." Nid oes neb yn cam ddeall yr egwyddor mewn rhagluniaeth, a phaham y mae neb heb

weled yr un rheolaeth yn nhrefn gras? "Canys fel y disgyn y gwlaw a'r eira o'r nefoedd, ac ni ddychwel yno, eithr dyfrha y ddaear, ac a wna iddi darddu a thyfu, fel y rhoddo hâd i'r hauwr, a bara i'r bwytawr: felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau: ni ddychwel ataf yn wâg; eithr efe a wna yr hyn a fynwyf, ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i blegid."—*Arweinydd.*

---

## MARWOLAETH ANNYSGWYLIADWY.

MR. D—, masnachwr yn Lloegr, ydoedd dan yr angenrheidrwydd drwy ei alwedigaeth, i fyned i Lundain unwaith, ac un o'i wasanaethwyr gyd ag ef; wedi iddynt fod gyd a'u gwaith yn yr hwyr nos Sadwrn, dywedodd Mr. D., "Ni allwn grynhoi ein cyfrifon heno, cawn orphen y fory." Buont gyda hyny yn eithaf prysur dranoeth, hyd dri ar gloch brydnawn; yna galwasant am giniaw; a phan ddygwyd ef i mewn, Mr. D. a ddywedodd, "Buom wrthi hi yn galed y boreu, yn awr *bwytawn ac yfwn, canys y fory marw yr ydym;* ond nid am fy mod i yn meddwl marw rai blynyddoedd ychwaneg." Wedi ciniawa, gorchymynwyd dwyn y cerbyd at y drws—cyrhaeddodd adref erbyn nos Lun. Boreu dranoeth, daeth gŵr boneddig i'w ystafell ar amser boreu-fwyd, pryd y gofynodd i Mr. D., "A glywsoch chwi am farwolaeth hwn a hwn?" (*sef y gwr oedd gydag ef*). "Na ddo," meddai yntau; "a fu efe farw? Y mae hi yn wahanol iawn gyda mi: yr ydwyf yn tybied fy hun yn rhy brysur i farw." Wedi hyny aeth i'r gegin, a thra yr ydoedd yn cylymu carrai ei esgid, goresgynwyd yntau gan angeu!

---

## SIARAD.

OS meddyli ddwywaith cyn siarad unwaith, ti a siaradi ddwywaith gwell o'r herwydd. Gwell peidio siarad dim, na bod heb siarad i'r pwrpas. A thuag at siarad yn berthynol, ystyria beth sydd yn gymhwys i'w ddywedyd, a phryd y mae yn gymhwys dywedyd hyny. Yn mhob dadleuaeth, bydded gwirionedd yn nôd i ti, ac nid buddugoliaeth; ymdrecha i ennill dy wrthwynebwr yn hytrach nag i'w ddynoethi.—*William Penn.*

## Y MODD I WNEYD DAIONI.

PRIODOL y dywed Dr. Johnson—"Yr hwn a erys i ddysgwyl gwneuthur llawer iawn o ddaioni ar unwaith, a fydd byth heb wneyd dim." Cyfansoddir bywyd o bethau bychain. Unwaith mewn oes y ceir cyfle i wneuthur gweithred fawr. Y mae gwir fawredd yn gynnwysedig mewn bod yn fawr mewn pethau bychain. Pa fodd yr adeiladir ffyrdd haiarn? Trwy y naill rawiad o bridd ar ol y llall; un rawiad ar unwaith. Fel hyn y mae dyferynau yn gwneyd y môr. Felly dylem fod yn foddlon i wneyd ychydig o ddaioni ar unwwaith, a pheidio byth ag "aros i ddysgwyl gwneyd llawer iawn ar unwaith." Os mynwn wneyd llawer o ddaioni yn y byd, rhaid i ni fod yn foddion i wneuthur daioni mewn pethau bychain, gweithredoedd bychain y naill ar ol y llall: llefaru gair yma, rhoddi traethodyn acw, a rhoi esiampl dda o hyd; rhaid i ni wneyd y daioni cyntaf a allwn, yna y nesaf, a'r nesaf, ac felly parhau yn gwneuthur daioni. Dyma'r modd i gyflawni unrhyw beth. Fel hyn yn unig y gwnawn yr holl ddaioni yn ein gallu.—*O'r Leisure Hour.*

---

## DYLANWAD CHWAER.

"BUM yn feddw unwaith," dywedai gŵr ieuanc wrthym y dydd o'r blaen—"ac nis anghofiaf yr amgylchiad byth. Pan yn nghyfeillach amryw o gymdeithion llawen, cymhellwyd fi i yfed yn lled helaeth, ac erbyn i mi gyrhaedd adref, prin y gwyddwn pa le yr oeddwn, na phabeth oeddwn yn wneyd. Rhoddwyd fi yn fy ngwely, ond nis gwn pa hyd y gorweddais yno; ond pan ddeffroais, yr oedd fy chwaer yn eistedd wrth ochr fy ngwely yn gwnio. Y foment y syrthiodd ei llygaid ar fy ngwyneb, torodd allan yn llif o ddagrau, ac wylodd fel pe buasai ar dori ei chalon. Wedi fy nghorlenwi â chywilydd am fy ymddygiad, addunedais yr amser hwnw nad yfwn ddim rhagor; ac yr wyf wedi cadw yr adduned am rai blynyddoedd, ac yr wyf yn meddwl ei gadw o hyn allan hefyd."

